# Y TRAETHODYDD

AM Y FLWYDDYN 1899.

**LLYFR LIV.**

TREFFYNNON: P. M. EVANS & SON.

MDCCCXCIX.

## CYNWYSIAD.


IONAWR.

| | Tu dal. |
|---|---|
| Y Prifathraw T. C. Edwards. Gan T. F. Roberts, M.A. | 1 |
| Y Prifathraw Caird. Gan Henry Jones, M.A., Ll.D. | 5 |
| Esgob Llanelwy ar y Cyffrawd Eglwysig. Gan Evan Jones | 20 |
| Ein Colegau ac Amaethyddiaeth. Gan John Owen, M.A. | 28 |
| Thomas Gee. Gan Evan Jones | 36 |
| Cusan yr Haul. Gan Moelwyn | 43 |
| Brad yr Offeiriaid. Gan R. H. Morgan, M.A. | 44 |
| Y Sacramentau. I. Gan Eleazar Roberts | 62 |
| Nodiadau Llenyddol | 78 |

MAWRTH

| | |
|---|---|
| Y Wefus Bur. Gan John T. Job | 81 |
| Llyfr Hymnau Newydd y Methodistiaid. Gan J. Puleston Jones, M.A. | 85 |
| Hanes y Groes yn y Byd Cenhedlig. Gan William Glynne, B.A. | 97 |
| Gohebiaeth y Parchedig Thomas Charles, B.A., o'r Bala | 106 |
| Y Sacramentau. II. Gan Eleazar Roberts | 112 |
| Bywyd Dr. Dale. Gan Griffith Ellis, M.A. | 129 |
| Lenore. Gan Ex Tenebris | 147 |
| Cenadwri Ymherawdwr Rwsia. Gan Evan Jones | 150 |
| Nodiadau Llenyddol | 156 |

MAI.

| | |
|---|---|
| Y Bardd Cwsc. Gan Daniel Rowlands, M.A. | 161 |
| Y Diwedd. Gan John T. Job | 178 |
| Cân y Caniadau. Gan H. Barrow Williams | 179 |
| Llyfrgelloedd Rhydd Caerdydd. Gan J. H. Davies, M.A. | 184 |
| Gohebiaeth y Parchedig Thomas Charles, B.A., o'r Bala | 192 |
| Athroniaeth Crefydd. Gan D. D. Jones | 200 |
| Addysg y Weinidogaeth. Gan W. Lewis Jones, M.A. | 211 |
| Deddf Priodasau, 1898. Gan John Williams, B.A. | 216 |
| John Ruskin a'i Athrylith. Gan J. T. Prichard | 225 |
| Cwyn Coll am Ap Ffarmwr. Gan Elphin | 236 |
| Nodiadau Llenyddol | 239 |

### GORFFENNAF.

| | Tu dal. |
|---|---|
| Pregethu. Gan M. O. Morris .. .. .. .. .. .. .. | 241 |
| Llyfr Hymnau Newydd y Methodistiaid. Gan Dyfed .. .. .. | 257 |
| Y Bardd a'i Delyn. Gan Glan Alaw .. .. .. .. .. .. | 268 |
| Gyrfa Athrofaol y diweddar Mr. Thomas E. Ellis. Gan T. F. Roberts, M.A. | 269 |
| Llyfr Poblogaidd. Gan J. Owen, M.A... .. .. .. .. .. | 276 |
| Richard Humphreys Morgan, M.A. Gan John Owen .. .. .. | 284 |
| Amseriad Epistol Iago.—Harnack. Gan W. Glynne, B.A .. .. .. | 298 |
| Fe ddaeth Gwanwyn eto. Gan J. Myfenydd Morgan .. .. .. | 309 |
| Gohebiaeth y Parchedig Thomas Charles, B.A., o'r Bala .. .. .. | 310 |
| Nodiadau Llenyddol .. .. .. .. .. .. .. .. | 316 |

### MEDI.

| | |
|---|---|
| Dr. Fritz Hommel a'r Uwch-Feirniaid. Gan R. Parry, M.A. .. .. | 321 |
| Beirniadaeth Esteddfodol a Barddoniaeth. Gan D. Adams, B.A... .. | 333 |
| Gohebiaeth y Parchedig Thomas Charles, B.A., o'r Bala .. .. .. | 340 |
| Henry Drummond. Gan W. Thomas .. .. .. .. .. .. | 444 |
| Rhai Pynciau Beiblaidd. Gan W. Ryle Davies .. .. .. .. | 455 |
| Telynegion Serch. Gan H. Isgaer Lewis .. .. .. .. .. | 461 |
| Athrawiaeth yr Ymwaghad yng Ngoleuni ei Hanes. Gan D. Roberts .. | 466 |
| Y Tadau Apostolig. Gan Hugh Williams, M.A. .. .. .. .. | 472 |
| Beth yw y Gwir am Nerth Cristionogaeth yn y Canrifoedd Cyntaf. Gan W. Williams .. .. .. .. .. .. .. .. .. | 478 |
| Darlith Ingersol ar Anfarwoldeb yr Enaid. Gan J. Puleston Jones, M.A. | 489 |
| Nodiadau Llenyddol .. .. .. .. .. .. .. .. | 495 |

### TACHWEDD.

| | |
|---|---|
| Gohebiaeth y Parchedig Thomas Charles, B.A., o'r Bala .. .. .. | 501 |
| Catholigrwydd. Gan Evan Jones .. .. .. .. .. .. .. | 507 |
| Pleserau Darllen. Gan James Evans .. .. .. .. .. .. | 521 |
| Llyfr Hymnau Newydd y Methodistiaid. Gan J. Puleston Jones, M.A. .. | 527 |
| Ysgolion Canolraddol Cymru yn eu perthynas â Phlant Galluog. Gan E. Anwyl, M.A. .. .. .. .. .. .. .. .. .. | 538 |
| Llyfr Rowntree a Sherwall. Gan Daniel Rowlands, M.A. .. .. .. | 544 |
| Y Transvaal. Gan R. Gwyneddon Davies .. .. .. .. .. | 562 |
| Y Tadau Apostolig. Gan J. Edwin Davies, B.A., a Hugh Williams, M.A. | 572 |

# Y TRAETHODYDD.

## Y PRIFATHRAW THOMAS CHARLES EDWARDS.

DIGWYDDIAD dyddorol a nodedig ynglŷn âg addysg yng Nghymru oedd gwaith y Brifysgol yn rhoddi y gradd anrhydeddus o Ddoethawr mewn Diwinyddiaeth i'r Prifathraw Edwards ar gyfrif ei wasanaeth i addysg fel llywydd cyntaf yr Athrofa hynaf yn y Brifysgol, a'i ragoriaeth fel esboniwr y Testament Newydd.

Er bod y niwl sydd am yspaid yn amgylchu bwriadau a gweithredoedd, pob arweinydd neilltuol wedi cilio oddiwrth Dr. Edwards, ac yntau yn trigo yn awyrgylch glir parch ac ymddiried ei genhedlaeth, eto nid gwaith hawdd fyddai disgrifio dirgelwch ei ddylanwad na mesur maint ei wasanaeth. Ni fynnai yr ysgrifennydd presennol i neb dybio ei fod yn honni gwneuthur mwy nag adrodd yn frysiog rai o elfennau ei ddylanwad ar ieuenctyd Cymru, er mwyn eu dwyn ar gof y darllennydd ynglŷn a'r deyrnged o barch sydd wedi ei thalu iddo gan ei genedl ar y tir uchaf ac eangaf a mwyaf parhaol.

Yn nechreu y cyfnod y bum i yn efrydydd yn Aberystwyth (o Hydref, 1874, hyd Ebrill, 1879,) rhoddai y Prifathraw addysg mewn mwy nag un o'r pynciau a efrydid yn yr Athrofa. Darlithiai ar un adeg ar yr iaith Saesoneg; yr oedd ganddo ddosbarth darllen Milton, a dosbarth yn yr hwn y defnyddiai lawlyfr o waith Edwin Abbott, yn yr hwn y telid sylw arbenig i gyfansoddiad ac arddull; rhoddai i'r dosbarth ddyfyniadau o un o draethodau John Foster, gan ofyn iddynt awgrymu gwelliannau yn eu harddull, ac yna roddi iddynt welliannau Foster ei hun mewn argraffiad diweddarach o'r un traethawd. Efe oedd yr athraw nid yn unig yn yr iaith Roeg ond hefyd mewn Athroniaeth, ac er mor anaddfed oeddwn i drin pethau o'r fath teimlwn ddyddordeb mewn gwrando arno yn olrhain hanes athroniaeth Groeg o'r cychwyn hyd Aristotl, neu yn esbonio athroniaeth ddiweddar. Yr oedd yn hapus neillduol pan ofynnai rhywun gwestiwn deallus, ac yr oedd difrifwch a phenderfyniad nodweddiadol yn gwisgo ei wynebpryd pan ddechreuai roi ei ateb ei hun. O'r cychwyn yr oedd ei fryd ar esboniadaeth y Testament Newydd, ac mewn dosbarth bychan a gyfarfu yn ddifwlch drwy y blynyddoedd rhoddai ar wedd darlithiau manwl ffrwyth ei feddwl ar yr Epistol Cyntaf at y Corinthiaid; cafodd y myfyrwyr y fraint o weled yr esboniadaeth yn tyfu yn ei ddwylaw. Yn y dosbarthiadau hyn ond odid y derbyniodd yr efrydwyr yr argraff ddyfnaf o ffrwythlondeb a nerth ei feddwl, ei allu i fanylu ar y testyn, ac ar yr un pryd i ddatguddio ei gysylltiadau eang a chyffredinol.

Ni fwriedid y dosbarthiadau neillduol hyn fel paratoad ar gyfer arholiadau ; yr oedd cryn lawer o waith yr athrofa y pryd hynny yn myned ymlaen wrth ei bwys heb fod yn ddarostyngedig i unrhyw gynllun athrofaol, ac os oedd hynny yn anfantais ar un golwg, yr oedd yn ennill mawr mewn ystyr arall. Oherwydd diffyg addysg rag-arweiniol, a'r ddisgyblaeth fanwl mewn gramadeg a ddylai flaenori efrydiaeth athrofaol, nid oedd myfyrwyr Aberystwyth yn y dyddiau hynny yn ysgolheigion gwych yn ystyr gyfyngedig y gair ; ond os oeddynt yn gymharol ddiffygiol mewn ysgolheigiaeth fanwl, yr oedd addysg ac awyrgylch yr Athrofa yn meithrin meddylgarwch ac awydd am ddiwylliant er ei fwyn ei hun, ac yr oedd tueddfryd meddwl y Prifathraw, ei edmygedd o ysbryd a meddwl athronydd fel Plato, ei ymdrechion i roi y llyfrau goreu a mwyaf yn y llyfrgell, y nôd uchel oedd ganddo mewn golwg er cymaint prinder yr adnoddau,—oll yn elfennau o bwys yn y gwaith o osod sylfeini efrydiaeth genedlaethol Cymru.

Gwel y neb a ddarlleno rai o'i Adroddiadau cyntaf i Bwyllgor yr Athrofa y modd yr oedd ei feddwl yn gweithredu ar rai o'r prif bynciau a ymgynygient i sylw. Er engraifft, yn adroddiad 1874, manteision cymharol y cynllun o lettŷa yr efrydwyr yn yr Athrofa ragor mewn tai yn y dref ; yr angenrheidrwydd am gychwyn canghenau newyddion o efrydiaeth ; anghenion gwahanol ganghenau gwyddoniaeth ; trefniant cwrs o efrydiaeth yn unol a theithi meddwl y Cymry. Ar y pen olaf dywedai fel hyn :—

"Another obvious disadvantage under which we labour is the youthfulness of the College. We are ourselves comparatively young and unexperienced, and the College is a thing of yesterday. We have to form ourselves and the College. We cannot fall back upon the experience of predecessors and the rich traditions of the past. Wales must not be too much shocked if we make some mistakes. But our aim will be to form such a College as the educational wants of Wales from time to time may demand. And if it comes out of the crucible somewhat different from what many expected, we ask only to be judged by this simple test—Is this the sort of thing Wales at present wants? We heartily desire, above all things, to be in entire sympathy with the great mass of our countrymen. I believe I shall be giving utterance to the feeling of all connected with the College, if I say that the height of our ambition is to make it the representative of the highest type of intellect and culture among the Cymry.

To show clearly what I mean by a disadvantage arising from our inexperience, I have no objection to state frankly what I consider to be at present our greatest defect. It is the want of system. The education depends too entirely on the individual character and ability of the teacher. Hence there may be waste of power here or deficiency of power there. Our aim is not yet sufficiently clear and distinct. The country does not know perfectly what to expect from us, because we do not quite clearly know what we profess to give. Not that I should for a moment wish to see our College turned into a skilful piece of machinery which will go if a mere child turns the wheel. I am quite convinced that no mechanical education is worth much. All true discipline of mind is produced by contact with a stronger mind. Character is formed by character. But that does not obviate the necessity of a thorough organisation. We should economize power, and apply it in the ways best adapted to secure the most real and abiding results. I can, however, truly say that the question of organisation in the actual work of the College engages our thoughts ; and I am confident of success in the matter. But you must give us time."

Drachefn, yn Adroddiad 1876, ar y cysylltiad rhwng y Brifathrofa a'r Athrofeydd Diwinyddol Cymreig :—

"Wales has produced men of great intellectual power, but she does not know how to use them. To spare her money she wastes her men of genius. It is to me one of the saddest sights to look at men who might have advanced their country to the front in literature or speculation, compelled to move in an everlasting round of school drudgery; we cannot afford to waste genius—Nature's most precious gift to mortals, and a gift that at last ceases when it is not appreciated. I ask again, why this waste? Why not teach Theology at the Theological Colleges? Why not delegate the preparatory work of teaching Classics, Mathematics, and Natural Science to a central institution, such as this College aspires to be, which will form the link between the education of the boy at the Grammar School and the special training of the man and the preacher at the Divinity Hall? I trust I shall be pardoned if my words may seem too blunt and trenchant. But the matter is urgent, and I am anxious it should not pass unheeded. If the Denominational Colleges of Wales will compete with an Undenominational College in teaching general subjects, . . . . . . the consequence will certainly be either that the general education of our future ministers of religion will become far inferior to that of the educated laity, or else candidates for the ministry will come to this and similar colleges for a higher training in classical and scientific instruction; and the Theological Colleges, most unfortunately, in my opinion, for the interests of the country, will gradually sink into mere Preparatory Schools. But we are far from wishing to pit ourselves against them. Our ambition is to prepare young men to enter their lecture-rooms and be competent from the first to take an intelligent interest in the original study of the Bible and of the great divines of the Church from the earliest times down to our day."

Y mae yr egwyddorion hyn erbyn heddyw wedi dyfod yn rhan o argyhoeddiad y wlad, a hynny i raddau pell fel ffrwyth y sefydlogrwydd a'r uniondeb barn, yr eglurder meddwl, a'r grym ymadrodd a arddangoswyd yn y datganiad cyntaf hwn o honynt ar esgynlawr addysg genedlaethol Cymru. Cofier fod y siaradwr yn llywyddu ar Athrofa nad oedd ganddi na gwaddol na rhodd oddiwrth Lywodraeth y wlad, oedd yn ymddibynu am ei chynhaliaeth o'r naill fis i'r llall ar roddion gwirfoddol y bobl, yng nghanol ofnau a diffyg ffydd dosbarth cryf a dylanwadol. Mor werthfawr i'r genedl oedd sefydliad yn cynnrychioli ei huchelgais ddyfnaf, ac oddifewn i'r sefydliad hwnnw argyhoeddiad cadarn a brwdfrydedd llosgedig tros ddrychfeddwl oedd i gyfnewid gwyneb Cymru mewn llai na chwarter canrif! Trwy ymdrech ac aberth Syr Hugh Owen a'i gydlafurwyr cafwyd y sefydliad, a thrwy eu llafur hwy, a nerth meddwl a dyfnder teimlad y Prifathraw, y cadwyd yn fyw ym meddwl y wlad trwy bob ystorom yr egwyddorion a gynrychiolid gan yr Athrofa.

Nid gormod fyddai dywedyd fod tynged achos addysg yng Nghymru am rai blynyddoedd yn gylymedig wrth barhâd neu dranc Athrofa Aberystwyth, a hynny yn y blynyddoedd tywyllaf ar un golwg yn ei hanes, pan oedd nifer y myfyrwyr leiaf a'r moddion cynhaliaeth brinaf. Ac nid hynny yn unig. Hyd yn oed wedi sefydlu Prifathrofeydd Caerdydd a Bangor, yr oedd y gobaith am Brifysgol Gymreig, hynny ydyw am unoliaeth addysg Cymru, a'r gyfundrefn gyflawn sydd erbyn hyn wedi ei sefydlu ar sail yr egwyddor honno, yn ymddibynnu ar lwyddiant yr ymdrech caled a wnaethpwyd i sicrhau parhâd yr Athrofa hynaf, yr hon trwy ei hanes a'i safle oedd yn gwrthdystio yn erbyn i Gymru ymwahanu tua'r De a thua'r Gogledd, ac i'r ddwy dalaeth weithio allan gynlluniau addysg o'r eiddynt eu hunain, gan aberthu undeb cenedlaethol i'r anhawsderau ymarferol a lleol sydd wedi bod bob amser yn haws plygu iddynt na'u gorchfygu.

*

Ond nid o fewn cylch uniongyrchol addysg yn unig y mae Cymru wedi cael achos i deimlo gwerth ëangder golygiadau Dr. Edwards, ei berffaith ryddid oddiwrth ragfarn enwadol, a'i gydymdeimlad â thueddfryd a theithi dyfnaf a rhagoraf ei genedl. Y mae ei enw yn gyfystyr â'r pethau sydd yn uno y Cymry goreu yn eu man goreu. Ar y naill law, y mae wedi sefyll i fyny dros y syniad y dylai bywyd Cymru fod yn beth llydan, amlochrog, a rhadlawn. Ni ddylid cyfyngu arni; ni ddylai ofni croesawu estroniaid i dderbyn oddiwrthi eu dylanwadau dyrchafol. Ni ddylai farnu yn annheilwng nac yn anghyson â'i chrefydd yr ymarfer corfforol sydd ynddo ei hun yn nerth ac urddas i ddynoliaeth. Dylai roddi i'w phobl ddiwylliant wedi ei wreiddio yn hanes a llenyddiaeth ein hiaith a'n gwlad:—"The people must be taught not only to read the Welsh of Bishop Morgan, but also the Welsh of Goronwy Owain, and to feel in the very depth of their being the creative influence of the past that should always be present, and of the dead that never die." Ar y llaw arall, yn ei bywyd crefyddol, dylai ei hefrydwyr a'i dysgawdwyr ymhyfrydu mewn gwybod a deall y gwirionedd er ei fwyn ei hun, heb adael i'w petrusder yng nghylch ei effaith ar athrawiaeth neu gyfundrefn bylu eu golygon. Ac os ydyw y cyngor hwn yn fuddiol ac iachusol i amddiffynwyr crefydd a datguddiad, y mae gwybod fod arweinwyr meddwl y wlad yn filwyr pybyr o blaid ëangder ac ymchwiliad yn fwy gwerthfawr fyth i'r genhedlaeth ieuanc sydd yn llenwi ein Hathrofeydd yn y dyddiau hyn.

Trwy ei ymroddiad personol fel efrydydd a'i bregethu treiddgar ac angherddol, cynorthwyodd wŷr ieuainc Cymru i ymgyrraedd at syniad am wirioneddau ysbrydol ar y naill law fel elfennau sylfaenol mewn cymeriad, ac ar y llaw arall fel egwyddorion sydd nid yn unig yn dal eu tir yn wyneb rheswm, ond sydd yn anghenion rheswm ei hunan. Nid efe oedd yr unig lais a gyhoeddai y genadwri; ond nis gwnaeth neb fwy, ac, mewn rhai ystyron, nis gwnaeth neb gymaint ag ef, oherwydd ei fod yn dyfod mor agos at efrydwyr o bob dosbarth. Mewn rhai gwledydd y mae blagur gallu a diwylliant y prifysgolion wedi ymddieithrio i raddau helaeth oddiwrth wasanaeth ac addoliad crefyddol; yng Nghymru y mae gallu ac efrydiaeth ac argyhoeddiad, neu o'r hyn lleiaf wyleidd-dra a pharch yn mhresennoldeb gwirionedd ysbrydol, hyd yma ac ar y cyfan wedi myned law yn llaw. Trwy ei ddylanwad personol ar y myfyrwyr yn Aberystwyth, o'r hyn y ceir un engraifft nodedig yn hanes bywyd y diweddar Ddr. Fred Roberts, o Tienstin, a thrwy ei ddylanwad cyhoeddus ar y wlad yn gyffredinol, ac yn neilltuol ar y dosbarth mwyaf galluog o'r ieuenctyd sydd bellach yn cyflawni gwaith bywyd fel gwŷr llen a gwŷr lleyg yng Nghymru a thu allan i'w therfynau, gwnaeth Dr. Edwards wasanaeth arosol mewn cyflwyno crefydd y tadau i'r plant, a'i deongli iddynt o'r newydd yn ei dyfnder a'i heangder. Ni theimlai hyd yn oed y rhai nas gallent dderbyn ei genadwri y gallent ymysgwyd oddiwrthi mewn difaterwch; yn hytrach troent ymaith yn athrist megys oddiwrth lais yn eu gwahodd i fyd uwch ac eangach oedd yn bod y tu draw i'w cyrraedd.

Er pan ymadawodd ag Aberystwyth yn 1891, y mae Dr. Edwards wedi ymroi yn gyfan-gwbl i'r gwaith o addysgu athrawon ysbrydol y dyfodol, ac yn y gwaith newydd hwn y mae wedi amlygu, unwaith

drachefn, sefydlogrwydd ei amcan ac eangder ei olwg a'i allu i lwyr anghofio pob amcan personol mewn symudiad sydd eisoes wedi profi ei werth, ac sydd yn debyg o fod o fendith amhrisiadwy i Gymru yn y dyfodol.

T. F. ROBERTS.

*Aberystwyth.*

---

## Y PRIFATHRAW CAIRD.*

MAE'r ymdeimlad o'r golled sydd wedi disgyn ar y wlad hon, ac, mewn modd mwy arbennig ac agos, ar y ddinas hon a'r Brifathrofa hon, ym marwolaeth y Prifathraw Caird, wedi ei fynegu eisoes gan rai o'm cyd-athrawon fu mewn cysylltiad maith âg ef yn ei waith, ac sydd hefyd yn gallu gosod allan yn llawer llawnach na myfi y pethau sydd yn anwyl gan garedigion dysg yn y lle hwn. Eto, ymddengys i mi wrth gyfarfod fy efrydwyr am y tro cyntaf y tymhor hwn, mai o'r braidd yr oedd gennyf hawl i ymlochesu mewn distawrwydd, er y buasai y cwrs hwnnw yn llawer haws ym mhresennoldeb y trallod sydd yn gyffredin i ni oll.

Oblegyd ein dyledswydd a'n rhagorfraint ni yn y dosbarth hwn ydyw ffurfio rhyw syniad am y drefn foesol sydd yn cynnal y byd y mae dyn yn byw ynddo ac yn cael ei fynegiad croewaf mewn dynion mawr a da. Ymddengys i mi y buasid yn colli ystyr fwyaf mewnol ein hymgais yma pe—tra yn awr gyda'r gwahanol ddamcaniaethau moesol croes i'w gilydd neu yn dadelfennu yr amodau rydd i foesoldeb ei sylfaeni—yr elem heibio heb sylwi arnynt, y bywydau godidog hynny, yn y rhai o bryd i bryd y mae pwerau anfarwol y byd moesol yn ymgnawdoli. Wedi'r cyfan, yr hyn y dymunem ei amgyffred yma ydyw cymeriad da,—y mwyaf gwych, y mwyaf prin, a'r mwyaf gwerthfawr o holl bethau dyn. Mae gennych hawl ddiamheuol, yn arbennig, i gael gwybod beth ellir ei ddweyd am un, yr hwn a safodd yn union yn ein canol ni fel esiampl glir a difrycheulyd o ymdrech moesol uchel, wedi ei barhau am oes faith, ac yn dibennu mewn dynoliaeth gref, bur, wylaidd, brydferth odiaeth.

Ni bydd i mi aros ond ychydig iawn gydag amgylchiadau allanol gyrfa y Prifathraw Caird. Yn wir, ychydig o ddim a phwys allanol iddo a adewir i'w draethu gan fywyd dyn wedi ymgysegru o'i ddyddiau boreuaf i fyfyrdod ar foesoldeb a chrefydd ac athroniaeth. Mewn ambell achos ni ddwg safle weinyddol uchel-bwysig nemor gyda

*Anerchiad a draddodwyd i Efrydwyr Dosbarth *Moral Philosophy* ar agoriad y tymhor 1898—99. Gan Henry Jones, M.A., Ll.D., Proffeswr mewn Athroniaeth Foesol ym Mhrifysgol Glasgow. Cyhoeddir trwy ganiatâd.

hi yn y ffordd o bwysfawredd allanol. Ac y mae hyn yn wybyddus yn wir am ein diweddar brifathraw; oblegyd fe gymerai ei waith swyddogol ef arwedd ei gymeriad ef ei hun, ac mewn canlyniad nid oedd ynddo ddim coegwych na dim allasai dynnu sylw yr anystyriol. Addfedai ei syniadau ymarferol am ddiwygiad athrofäol fel ei fyfyrfod ar faterion moesol a chrefyddol yn y ffordd raddol a thawel yr â y blodeuyn yn ffrwyth, ac y melysa'r ffrwyth dan heulwen hâf.

Ganwyd John Caird yn Greenock, yn y flwyddyn 1820, yr hynaf o chwech o feibion, gyrfa y rhai sydd yn egluro unwaith eto ddylanwad pell-dreiddiol aelwyd, lle mae hyfforddiant y plant mewn pob peth sydd dda yr ystyriaeth fwyaf pwysig. O ysgolion ei dref enedigol fe ddaeth i'r brifathrofa hon, ac yma y bu yn dilyn y dosbarthiadau mewn Mesuroniaeth ac Anianeg, mewn paratoad ar gyfer y bywyd ymarferol a fwriedid iddo gan ei dad. Yr oedd yn efrydydd medrus a hyglod yn y ddwy gangen hyn, a chan ddwyn gydag ef i'w ddyledswyddau ymarferol gydwybodrwydd llym a dealltwriaeth uchel, yr oedd yn naturiol yn weithiwr da—"gwerth unrhyw ddau ddyn yn y lle," fel y dywedwyd gan un a'i beirniadai ef nac yn rhy frysiog nac yn rhy dyner. Nid er mwyn dianc rhag anghymhwysder, na chwaith er mwyn cael noddfa rhag methiant, y bu iddo, ar farwolaeth ei dad, benderfynu newid cwrs ei fywyd; ond difrifoldeb dwfn ei natur, a thueddfryd at fyfyrdod ar ganlyniadau tragwyddol bywyd dyn, a weithiai ynddo fel ei desni. Gorbwysid gwerth y llwyddiant ymarferol a ragddywedid fyddai iddo, ac yn wir oedd yn awr yn ei afael, gan ystyriaethau o natur wahanol; daeth yn ol i'r athrofa i ymbarotoi ar gyfer gweinidogaeth efengyl Crist mewn cysylltiad âg Eglwys yr Alban. Wedi ei ddonio fel yr oedd, yn foesol ac yn ddeallol, yr oedd braidd yn amhosibl iddo fod yn efrydydd anhynod mewn unrhyw ddosbarth; ond y pwnc a dynnai allan ei ymadferthoedd goreu, ac yn hwn yr oedd ei ragoroldeb yn fwyaf amlwg, ydoedd athroniaeth. Yn ebrwydd ar ol iddo orffen ei gwrs athrofäol galwyd ef i gyflawn waith y weinidogaeth, a phenodwyd ef yn weinidog ar Eglwys Newton-on-Ayr. Ond ar ol dwy flynedd o lafur yn y plwyf hwn—hynod fel planhigfa gweinidogion enwog—symudwyd ef i ofalaeth bwysig Eglwys Lady Yester yng Nghaer Edwyn.

Mae llawer eto'n fyw allant adgofio dyddiau ei weinidogaeth foreu; yn wir, nis gall dim ddileu y cof am dani o'u meddyliau. Dywedant am hyawdledd nerthol y diwinydd ieuanc yr oedd ei enaid yn un oddaeth gan ei genadwri, gallu desgrifiadol yr hwn—yr adeg honno yn ddilyffethair ac yn gyfryw na cheid yn brin ei hafal hyd yn oed ganddo ef ei hun yn ei ddyddiau diweddaraf—a ysgydwai y cynulleidfaoedd mawrion, Saboth ar ol Saboth, fel y siglir y moroedd gan y gwynt. Yr oedd wedi ei eni yn areithydd, ac wedi ei eni yn athraw ar ddynion.

Ond caed ynddo ef ysbryd y meddyliwr yn gystal a greddfau y siaradwr cyhoeddus; a chan ymdeimlo ei fod yn llosgi ei nerth allan yn rhy fuan, mewn hiraeth yng nghanol y berw am dawelwch myfyrus, penderfynodd, gyda hunanymataliad a hunanlywodraeth doeth, dderbyn yr ofalaeth wledig gyntaf a ddelai yn wag. Cynygiodd am blwyf Errol, a phenodwyd ef yn ddiymdroi.

Parod fuaswn i ganfod fod Mr. Caird yn ddyledus yn ei fywyd dilynol am lawer o nodweddion mwyaf gwerthfawr ei feddwl a'i gymeriad i wyth mlynedd ei ymdaith heddychlawn yn y plwyf hwn. Ceir tystiolaeth eglur o gymundeb ystyriol â natur, ac o gydymdeimlad dwys â'i moddau mwyaf llydan, mewn llawer darn o wir brydferthwch yn ei bregethau ; ac, am ben y cyfan, rhyw gysegredigrwydd a thawelwch meddwl—rhyw ymbellhâd yn codi o ddyrchafiad ei enaid uwchlaw cylch dibwys ofalon dyn, a ddengys fod ei ysbryd wedi teimlo y nerthoedd tragwyddol oeddent oll o'i ddeutu, ac wedi rhodio yn agos iawn gyda Duw ; fel pe byddai, ar ryw dro yn ei yrfa, wedi canfod, yng nghanol anialwch helyntion byd, ryw lanerch felus-ffrwythlawn lle ffrydiai dwfr ac y tyfai glaswellt.

Eto, ni chaniatawyd iddo yma, chwaith, fwynhau y dinodedd gwylaidd hwnnw am yr hwn ni phallai ei ysbryd a hiraethu. Ceir llythyr o eiddo Mr. Caird yng "Nghofiant Esgob Wordsworth" sydd yn taflu goleuni ar ei gymeriad ef ei hun, ac ar y bri â pha un yr edrychid arno.

"Rhoddasai cyfaill," medd Esgob Wordsworth, "yn fy nwylaw bregeth o eiddo Mr. Caird, yr hon a draddodasid ganddo ar y Groglith, mewn Eglwys Albanaidd yn Llundain, a'r hon a ymddangosasai yn y *Penny Pulpit.* Cefais fy nharaw gymaint wrth ei darllen fel yr anturiais ysgrifennu at yr awdwr i ofyn iddo a ydoedd wedi cyhoeddi rhywbeth yn ychwanegol, ac, os felly, y dymunwn gael ei ddarllen." Yn ei atebiad a ysgrifennwyd ganddo o bersondŷ Errol ar y 15fed o Fawrth, 1855, dywed Mr. Caird :—

"Nid ydwyf wedi cyhoeddi dim heblaw y bregeth y cyfeiriwch ati. Yn wir, ni ddylaswn ddweyd 'heblaw,' gan mai gohebwyr Llundain a fynnasant fyned a'r bregeth hon oddiarnaf, ac ni fuaswn byth yn meddwl am ei chyhoeddi o honof fy hun. Nid rhyw ffug-ledneisrwydd, mi obeithiaf, a bâr i mi ddweyd fy mod yn ymgadw oddiwrth bob ymgais —heb lawer mwy o ddarllen a meddwl nag ydwyf hyd yma wedi cael hamdden i'w mwynhau—i chwilio am gylch eangach i fy meddyliau nag a fforddir i mi gan fy mhulpud a'm plwyf fy hun." "Da," ychwanegai'r Esgob rhagorol, "pe cymerai ein dynion ieuainc oddiwrth y llythyr yna esiampl o wyleidd-dra a gostyngeiddrwydd ar ran un y teilyngai ei werth anghyffredin syniad gwahanol am ei hawl i sylw y cyhoedd, fel y profwyd yn fuan ar ol hyn, trwy i'r Frenhines orchymyn i'r ysgrifennydd gyhoeddi y bregeth a draddodwyd ganddo ger ei bron." Bu i'r bregeth dan sylw a bregethwyd o flaen y Teulu Brenhinol, ar "Grefydd mewn Bywyd Cyffredin," gario ei enw ar hyd ac ar led yr holl wlad, ac fe'i darllenir hi yn gyffredinol hyd y dydd hwn.

Heb fod yn hir ar ol hyn caed ganddo i dderbyn gofal Eglwys y Parc yn Glasgow. Ni chaf aros ar ddull ei ddysgeidiaeth a'i weinidogaeth yn y ddinas fawr hon, na chwaith ar y modd y gwnai urddas a graslonrwydd ei bersonoliaeth, ynghyda grym ei athrawiaeth, ddylanwadu ar ei fywyd ymarferol. Caf ddweyd yn unig mai yr adeg honno y dysgodd dineswyr Glasgow gyntaf roddi pris ar ei ddealltwriaeth, a dangos parch, wedi ei gyd-dymheru â chariad, tuag at ei gymeriad oedd yn ei ddilyn ar hyd ei ddyddiau hyd yn oed i'r diwedd.

Pan ddaeth y Gadair mewn Diwinyddiaeth yn wag yn y Brifathrofa hon trwy farwolaeth Dr. Hill, amheuid a geid petrusder yn

meddwl neb, oddigerth ym meddwl Mr. Caird ei hun, i bwy yr ymddiriedid am ei chyfrifoldeb a'i dyledswyddau. Gydag anhawsder mawr, yr wyf yn gwybod, y caed ganddo i ganiatau i'w enw gael ei anfon i mewn fel ymgeisydd; gwelai gynifer o rai ereill gymaint yn fwy cymwys nag ef i lanw'r swydd. Ar ei benodiad gosododd ei hunan i barotöi ar gyfer y gwaith gyda dyfalwch na welir yn aml ei debyg. Nid yn fynych y gellid arwain ein Prifathraw i son am dano ei hun, ond ar un achlysur dywedodd wrthyf y byddai yn ystod y tymhorau cyntaf wrth ei ddarllenfa, yn paratoi ei feddyliau i'r efrydwyr, bedwar o'r gloch bob boreu. Gyda golwg ar y modd y cyflawnai efe ddyledswyddau ei Gadair, gadawaf i un o'i efrydwyr ef ei hun ddweyd. Dr. Thomas Fraser, o Newport, mewn llythyr gwerthfawr iawn a ddywed: "Am yr hyn oedd Dr. Caird yn bersonol yn ei ddosbarth, ac am ei gysylltiadau â'i efrydwyr, amhosibl ydyw siarad mewn geiriau yn gosod allan edmygedd digon uchel. Tra y symbylai ei ddarlithoedd ein brwdfrydedd a'n hedmygedd, llanwent ni hefyd o'r bron âg anobaith. Yr oeddynt mor bell tu draw ac uwchlaw i'r hyn y buasai yn bosibl hyd yn oed i'r goreu o honom ei efelychu. Fel athraw cadwai ei urddas i fyny, ond eto yr oeddym oll yn glynu yn hoffus iawn wrtho. Yn wir edrychai ar yr efrydydd distadlaf gyda'r fath hynawsedd a pharchedigaeth nas gallasai arfer eu hamgenach tuag at ben coronog. Anfynych iawn, os byth, y cyfiawnhawyd penodiad i gadair bwysig mewn dull mor ddigamsyniol, a theimlid fod y Wyddor Ddiwinyddol wedi cael colled amlwg pan alwyd arno i ymgymeryd â dyledswyddau swydd uwch."

Ond y fath ydoedd y parch i'w ddysg, ei farn, ei ddoethineb a phwys ei gymeriad, fel, ar ddymuniad unfrydol y beirniaid mwyaf manwl, sef ei gydathrawon ef ei hun, fe drosglwyddwyd i'w ddwylaw yr ymddiriedaeth uchaf y gallasai y Brifathrofa roddi i unrhyw ddyn; ac fe'i gwnaed ef yn Brifathraw. Pa fodd y cyflawnodd efe ei waith—y sicrwydd hollol a gaed yn ei gymeriad mai pwyll, addfwynder ac unplygrwydd amcan gawsai reoli cyhyd ag y llywyddai efe ar lysoedd ac y llywodraethai efe ddadleuon y Brifysgol; hawddgarwch ei natur, digrifwch yn cydchwareu ynddi â dwysder teimlad, a addurnai y boneddwr perffaith hwn yn ei gyfathrach â'i gyfeillion; gyda pha ryw feistrolaeth ddifêth, a medr a challineb y cynnrychiolai efe y Brifathrofa ar bob achlysur cyhoeddus; ei hyawdledd digyffelyb, gorlwythog o feddyliau dyrchafedig, ysgydwai y cynulleidfaoedd yn Neuadd Bute pan y traddodai efe ei "Anerchiadau blynyddol i'r Efrydwyr," neu ei bregethau; pa fodd, mewn un gair yr elai i mewn ac allan yn ein mysg fel corfforiad o'r urddas, a'r symlrwydd, a'r prydferthwch, a'r ëangder a'r nerth sydd yn cyfansodddi nôd, (a gyrhaeddir ond anfynych), ein holl ymgais yn y Brifathrofa fawr hon—am hyn oll nis gallaf, ac nid oes angen i mi, ddywedyd wrthych, er na bu i chwi ei adnabod ef ond yn unig yn ystod y tymhor pan y pallai ei nerth. Ni ddywedaf ond mai gyda thristwch rhy ddwfn i'w fynegu mewn geiriau y canfyddai y rhai a'i hadwaenasant ef fod ei fwriad yn ymffurfio i drosglwyddo'r awenau i ddwylaw ieuengach. Rhoddodd ei swydd i fyny ym Mehefin y flwyddyn hon; ond y diwrnod cyn i'r ym-

ddiswyddiad ddod i weithrediad, ymddyrchafodd o gylch llafur ei gariad i'r orffwysfa dragwyddol.

Pan edrychom yn ol ar holl gwrs ei fywyd, gan wylio ei yrfa esgynawl fel efrydydd, fel gweinidog yr efengyl, fel athraw ac fel Prifathraw yn y Brifathrofa hon, fe ganfyddwn yn rhedeg trwy yr oll—fel gwythïen aur—bersonoliaeth wylaidd a llednais, heb honni yr un hawl, yn encilio rhag, yn hytrach na cheisio cael ei weled, yn ymgymeryd â safleoedd o anrhydedd uwch a chyfrifoldeb mwy yn unig o dan ddirgymhelliad pobl ereill a synient yn llawer gwell am ei gymhwysderau nag a wnai efe ei hun. Ni chaed yma yr un ymdrech cyffrous, yr un rhuthr am gampau, yr un rhaib am wobrau bywyd, yr un disgwyliad am danynt, na llawer o ofal drostynt; ond rhyw ddifrawder a dideimladrwydd arddunol gyda golwg ar bobpeth a berthynai iddo ef ei hun, ac eto cariad tuag at ei gyd-ddyn a thuag at bob achos mawr a'i gwnai yn ufudd i'r alwad hyd yn oed pan fyddai ei galon yn orlawn o'r ymdeimlad o'i annheilyngdod. Bu fyw fel un, yr hwn, yn ei ddyddiau boreuol, a ymgododd i uchder act fawr yr Hunanymwadiad, a byth ni thynnasai yn ol. O leiaf welais i mohono erioed yn ymladd am ei ran ei hun, nac yn ceisio ei amcanion ei hun, am eu bod ei eiddo ef; ond mynych y teimlais yr anadlai ynddo ef Ysbryd yr Hwn a ddaeth, nid i'w wasanaethu, ond i wasanaethu. Ac os oedd ei fywyd yn llwyddiannus ac yn ddedwydd tu hwnt i ran gyffredin dynion da, os y deuai y gofalon a roddwyd arno yn drymach ac yn fwy llwythog o anrhydedd, a'r parch a'i dilynai fyth yn fwy dwfn ac yn fwy cu, yn hyn oll gwelaf dystiolaeth newydd i'r daioni sydd yn gorwedd ynghudd mewn dynion cyffredin, ac hyd yn oed mewn dynion bydol, yr hyn a'u dug hwynt i roddi bri ar fawredd cymeriad pan yr ymddengys yn eu mysg serch iddo fod wedi ymdrwsio â gostyngeiddrwydd fel mewn dilledyn.

O'r braidd y mae yn bosibl i ni yn awr ffurfio syniad clir am ystyr ei lafur yn ein plith, na chwaith i ddangos allan gyda manylder ymha wedd nac i ba raddau y cynnyddodd ein hetifeddiaeth ddeallol ac ysbrydol yn ei ddwylaw. Ymdrechaf yn hytrach nodi mewn amlinelliad byr ac amherffaith y meddylddrychau a wasanaethent fel cynseiliau gweithiol ei feddyliau,—y syniadau am wirionedd a daioni y treuliodd ei fywyd er eu mwyn.

Nid oes amheuaeth yn fy meddwl gyda golwg arno ef, yr un modd a chydag ereill adawsant y byd ar ddiwedd eu gyrfa i ryw fesur yn ddoethach ac yn well, y bydd i wahanol agweddau ei gymeriad roddi argraff wahanol ar feddyliau gwahanol ddynion. Ceir yr allwedd i egwyddorion dyfnaf meddyliau ereill, i raddau pell gan bob person, naill ai trwy debygrwydd neu trwy gyferbyniad, yn ei eiddo ei hun. I mi,—gan roddi o'r naill du am y foment ei nodweddion mwyaf union gyrchol-bersonol—yr elfen fwyaf nodweddiadol ym meddwl y Prifathraw Caird, yr hon a sefydlai ei agwedd ac a'i cynysgaeddai megys â safle benodol ym maes y frwydr, ydoedd ei ymdeimlad o ardderchogrwydd y drefn naturiol ac ysbrydol yn yr hon y gosodir dyn, ac o ogoniant anghydmarol dawn gynhenid dyn fel ysbryd, yr hyn sydd beth lawer mwy amheuthyn. Gwyddai, yn wir ychydig ddynion wyddai yn well, fel y rhwystrid ac y llychwinid y gogoniant hwn o eiddo'n natur ni, yn y goreu o ddynion, tra, yn y gwaelaf, fe'i gŵyr-

droir ac fe'i darostyngir i wasanaeth yr amcanion iselaf. Canys nid gorafiaethydd esmwyth mo hono, ac nid yn ysgafn y pwysai anwybodaeth a drygioni, dioddefaint corff, trueni meddwl, a gofid ysbryd y ddynoliaeth, ar ei enaid. Wedi ei ddonio â'r dawn prudd o deimladrwydd byw, yr hyn a'i gwnai yn asgwrn o asgwrn, yn gnawd o gnawd dynion wnelant ac a dderbyniant gam, nid mewn dull bloesg dienaid y llefarai am eu amherffeithderau a'u trallodion. I'r gwrthwyneb, y sain a erys hwyaf ym meddyliau ac a chwilia yn ddyfnaf i galonnau y rhai a wrandawsant ar ei lais, sydd fel cri ddolefus un a edrychasai ar ffyrdd dyn, ac a'i cawsai ef yn grwydryn gresynus pell o'i gartref. Ar rai achlysuron anghyffredin iawn cymerai ei ymdeimlad llym o'r gofidiau y mae dyn wedi etifeddu y ffurf o ddigllonedd dwfn, ac hyd yn oed llidus. Nid anghofiaf byth y modd—yn ystod ei anhwylder diweddar—a'r olaf fel y profodd—y bu i gyfeiriad damweiniol at wrthodiad cyngor y ddinas i agor Palas y Pen Dwyreiniol i weithwyr ar y Saboth, alw y gwaed yn ol i'w wyneb gwelw, a'r tân i'w lygad, tra y gofynnai mewn llais mor bêr ag erioed ond yn crynu gan deimlad, "Oni allent hwy gynnyg iddynt yr ymguddfa hon am ychydig amser rhag truenusrwydd eu haelwydydd culion, gorlawnion, trystfawr—ac, yn rhy fynych, di-dân? O, ragfarn a dallbleidiaeth dynion!" Hwn yw yr unig achlysur, gallaf ddweyd, ar ba un y gwelais yr agwedd hon i'w dymher; ond y gallasai, ac y gwnelai, ar adegau, nid yn unig dynnu'r cledd, ond hefyd daflu ymaith oddiwrtho y wain, a tharaw â'i holl enaid yn erbyn y gau a thros y gwir, sydd wybyddus i'r rhai a lafurient ochr yn ochr âg ef, neu i'r rhai a'i hadwaenent ef yn gyntaf ac yn benaf fel un tyner, amyneddgar, cymodol, hir-ddioddefus, hyd at fai, o'r bron. Cynhyrfai camwri y diamddiffyn a'r digynorthwy ef i waelodion ei enaid; ac os gallasai rhywbeth syflyd ei ffydd yn Nuw, neu ymddangos iddo yn anghysondeb anioddefol yn llywodraeth Duw, dyna fuasai, y meddwl am boen a dioddefaint y rhai diniwed, yn arbennig plant bychain ac anifeiliaid mudion. Nid oherwydd unrhyw ddideimladrwydd at echryswaith bywyd yn yr adran anifeilaidd o honno, ac nid oherwydd unrhyw ddiofalwch yng nghylch yr ystaen a ychwanegwyd gan ddyn at ei ddolur, y daliai efe ei ffydd yn nhynged y ddynoliaeth. Nid oedd ganddo chwaith yr un ddamcaniaeth ddeallol gyfleus, athronyddol na diwinyddol, wedi ei morthwylio yn arfogaeth o amgylch ei galon or-dyner, i bylu mîn neu i droi heibio ergydion a saethau ffawd resynus dyn ar y ddaear; ni farweiddiwyd ei natur foesol gan yr un gysbair, ac ni chymylwyd iddo ef arwyddocad anfeidrol y dewisiad rhwng da a drwg; nid trwy gast yr un swyngyfaredd y bu iddo erioed geisio egluro ymaith euogrwydd anfarwol drwgweithredu, na chymmodi yr ymrafael diderfyn rhwng pechadurusrwydd a sancteiddrwydd. Credai yn Nuw, ac oherwydd hynny nid anobeithiai am ddyn. Ym mhresenoldeb casgliad oesoedd o dristwch y ddynoliaeth, canfyddai yn "ffurf a gwneuthuriad" dyn, ryw gyfathrach anniffoddadwy â'r dwyfol, ac oherwydd hynny rhyw wrthwynebrwydd cynhenid, a rhyw wrthsafiad di-ildio, yn erbyn anwybodaeth a drygioni, yr hyn a'i rhwystrai yn dragwydd rhag cael gorffwysdra, nac yn awr nac ar ol hyn, ond yn unig mewn daioni a gwirionedd.

Yn awr, mae yr argyhoeddiad hwn o ysbrydolrwydd cynhenid natur dyn, fel y mae hi yn ei sylwedd a'i hanfod yn fynegiad o natur Duw, ac fel y maes yn yr hwn, megys ymhob man arall, y bydd raid i'w fwriadau Ef lwyddo yn y diwedd, yn drysor gwerthfawr iawn i ddyn—feallai yr unig un heb yr hwn nas gall mewn unrhyw fodd fyw heb anobeithio. Wedi sicrhau hwn mae'n bosibl i ni, er yn sefyll gyda chymeriadau wedi eu hystaenio, yng nghanol bwriadau syrthiedig a delfrydau adfeiliedig, fyned yn ol i'r gâd gyda'r ymdeimlad o fuddugoliaeth eto i ddod yn curo yn y gwaed. Nis gellir ystyried, pa fodd bynnag, fod meddiant o'r grediniaeth hon mewn unrhyw wedd yn nodwedd neilltuol briodol i'r Prifathraw Caird. I'r gwrthwyneb, ffydd yw hon sydd yn gyffredin i bob dyn duwiol ac i bob credo—pa mor gymysg bynnag y bo hi âg anwybodaeth ac ofergoeledd,—trwy yr hon y mae dynion wedi ymgynnull ynghyd ac wedi galw Duw "yn Dad." Yn wir, hyn yw hanfod crefydd ei hun. Eto, dibynna gwerth yr argyhoeddiad, i fesur mawr, ar yr ystyr a garia, ac ar y dull y cerir ef; a dymunwn ddangos, yn y ddwy wedd hyn, fel y disgleiria ei werth gwirioneddol gyda gwychder dihafal yn ymadroddion y Prifathraw Caird ei hun.

I'r galon grebachlyd, na chlywodd erioed gri ei hanghenion dyfnaf, ond a gadd ryw foddlonrwydd iselwael yn nhrafferthion culion bywyd y byd, yr hon na bu yr un meddwl dyrchafedig yn ei phoeni, a'r hon, mewn canlyniad, na phrofodd arteithiau unrhyw fethiant, yr hon nid aeth allan erioed mewn cydymdeimlad â gwaeau y byd, a'r hon na chymerodd arni ei hun faich y ddynoliaeth, gall y ffydd hon fod mor hawdd ag ydyw o arwynebol. Ond, pan y gwelaf un wedi drachtio yn helaeth o gwpan chwerw gwaethafiaeth ddiweddar, yn dal yn dŷn yn ei ffydd yn Nuw, ac yn ei obeithion diderfyn am ddyn, credaf y gallaf anturio galw arnoch oll i ddod i'ch dysgu ganddo. Canys safasai efe ochr yn ochr â'r dynion mawr a da hynny, yn ein dyddiau ni, i'r rhai yr ymddangosai "Duw a Natur fel pe mewn ymrafael" wrth edrych ar anian a'i

> "Sensuous frame
> Rack'd with pangs that conquer trust."

ac wrth ei chlywed hi,

> "Red in tooth and claw,
> With ravine shriek agaiust their creed."

Gwyddai ef, fel y gwyddent hwy, fod ei holl derfynau eang hi wedi eu troi yn gâd-faes yr ymryson diddiwedd—yr "ymdrech i fyw,"—lle na bydd cri y gwan byth yn deffro clust tosturi, na buddugoliaeth eiddo neb ond y cadarn didrugaredd. Gwyddai hefyd, cystal â hwythau, pa fodd, yng nghylchoedd uwch bywyd a hanes dyn, yr ymddangosai cleddyf cyfiawnder fel pe yn cysgu mewn llaw farw; a mynych y gallasai yntau waeddi gyda phriodoldeb, "Pa hyd, Arglwydd! Pa hyd?" Yn y cylch hwn hefyd y "gwelai dorwr deddfau moesol yn dianc yn barhaus rhag y gosb a haeddai, yr annuwiol yn gadarn ac yn frigog fel y lawryf gwyrdd, ond y cyfiawn yn cardota bara; pechodau y tadau yn cael eu hymweled ar y plant . . . .

anwybodaeth yn derbyn cosb mor drom a drygioni bwriadol, a miloedd a'r filoedd o fodau diniwed yn dioddef oherwydd trosedd a chamwedd difwriad un." Gallai ef eu deall, a chydymdeimlo â hwynt, wrth edrych arnynt yn sefyll, fel Job gynt, a'u cydwybodau mewn gwrthryfel yn erbyn drygau gweithredol neu ddifrawder dibris natur, ac mewn digofaint mawr yn meiddio collfarnu ei ffyrdd. Ond ni chwympodd ef yn y frwydr; gellir dweyd am dano:

> "After toil and storm
> He seemed to have reached a purer air."

A ydych chwi yn meddwl fod yn wiw i ni yn awr ofyn trwy ba foddion yr enillodd efe fuddugoliaeth mor lwyr?

Nid yw yr ateb a ddychwelir yn gyffredin i'r dyrys bynciau hyn yn anhysbys i chwi, ac mae'n eithaf posibl eich bod wedi teimlo yn nyfnder eich calonau nad ydyw yn ateb o gwbl. Oblegyd pan edrychom am oleuni oddiwrth y rhai ag y mae eu galwedigaeth uchel yn gynnwysedig mewn dwyn tystiolaeth i bresennoldeb Duw yng nghanol y tryblith, ac i fynegu dyfodiad, hyd yn oed yma ac yn awr, ei deyrnas Ef—Teyrnas Cariad, a Goleuni, a Chyfiawnder, a Heddwch a Llawenydd, beth, atolwg, a glywir gennym ar bob llaw? Hyn: fod rheswm, goleuni holl weledigad dyn, wrth edrych allan ar yr olygfa alarus hon, i aros byth yn ddistaw ac yn fud. Yng nghanol yr ymryson a'r gwrthddywediad a'r camwri diderfyn, naill ai nid oes yr un awgrym am drefn na'r un argoel o fys Duw; neu, os oes, nid ydyw i'w ddehongli gan ddealltwriaeth dyn. Ac os nad yw teyrnas deg yr ysbryd—lle mae trugaredd a chariad yn llywodraethu—yn rhywbeth amgen na hoff ddychymyg calon arteithiedig, yn ceisio dihangfa oddiwrth ei phoenau—y mae o leiaf allan o gyrraedd trèm dyn—mae y gallu dderbyniwyd gan Dduw o weledigad deallol, wrth ei droi at wrthrychau didranc y cylch uchel hwn, yn ddiffygiol, diymadferth, a dall. Os, gan hynny, y parhânt i lynu yn y ffydd, gwnant hynny mewn tywyllwch cyffredinol, i'r hwn nas gall gwybodaeth dyn daflu y pelydryn gwanaf o oleuni. Oblegyd—a dymunwn wneud hyn yn hollol glir—nid dros ddiymadferthwch eu dealltwriaeth eu hunain y maent yn dwyn galar, na chwaith dros wegi a gwagedd eu hymdrech hwy eu hunain i wybod; ond cyhoeddant anallu naturiol meddwl dyn, tynnant dywyll lenni bythol nos dros reswm dyn ym mhobman, a seiliant eu hymddiried yn Nuw ar ffydd, a honno, ar y ddaear o leiaf, yn gyfryw nas gall byth weled.

Cauir allan, meddant, y deall o holl diriogaeth crefydd. "Yr elfen hanfodol mewn crefydd," medd un awdwr y derbyniwyd ei ymadroddion yn ddiweddar gyda banllef, "ydyw fod ei hathrawiaethau yn gyfryw nas gall rheswm eu cyrraedd." "Nis gall y fath beth byth fod," ychwanegai, a "chrefydd resymol." Wrth son am yr aberth a ofynnir gan Gristionogaeth, dywedai dyn mawr arall yn ddiweddar yn ei "Feddyliau ar Grefydd," "Hwyrach mai yr aberth mwyaf o'r oll i ddyn deallus ydyw aberthu ei ddealltwriaeth ei hun." Un arall eto, a hwnnw yn neb llai na Phrif Arglwydd y Trysorlys presennol, a ddefnyddia y gair "Rheswm" mewn ystyr sydd yn ei arwain i briodoli—nid iddo ef, ond i ryw "Awdurdod" sydd yn gyferbyniol i Reswm—yr oll sydd fwyaf gwerthfawr i ddyn. "Os

ydym i farnu mewn uniondeb" meddai, "rhwng y cydymgeiswyr hyn, rhaid i ni beidio anghofio mai i Awdurdod yn hytrach nag i Reswm yr ydym yn ddyledus, ar y cyfan, nid yn unig am Grefydd, ond am Foesoldeb a Gwladlywiaeth . . . . mai Awdurdod yn hytrach na Rheswm esyd i lawr ddwfn-seiliau bywyd cymdeithas; mai Awdurdod yn hytrach na Rheswm sydd yn cydgysylltu y goruwch adeiladwaith hefyd."

Yn awr, o dan bob cyfaddasiad y gallai yr ysgrifenwyr hyn eu dwyn i mewn er pylu mîn eu casgliad hwy eu hunain, y mae yn aros, yn eu tyb hwy, nas gallwn byth, a hynny oherwydd cyfansoddiad ein natur ddeallol, ddarparu sail i'n ffydd trwy ymarferiad o'n rheswm. Cauir rheswm allan o'r etifeddiaeth deg hon, aberthir y deall, a rhaid i ddyn ymostwng i Awdurdod. Beth gan hynny a ddywedir yng ngwyneb hyn oll? Eglur yw nad yw amgen na chyngor anobaith, ffydd wedi ei llychwino gan amheuaeth farwol. Ac fel un, dymunwn ofyn ai gwir yw na adawodd Duw yr un tyst o hono Ei Hun yn y byd y gall dyn ei *adnabod*, ac *oherwydd hynny* ymddiried ynddo? Ai gwir yw fod Duw, yr Hwn o'i anfeidrol haelioni a'i doniodd ef â'r ddawn ardderchog o ysbryd tebyg iddo Ei Hun—y rhodd o ddealltwriaeth y bo yn wiw gan holl derfynau natur o oes i oes osod trysorau ei gwirioneddau mewn goleuni bythol gliriach ger bron ei ymchwiliad ffyddlawn a dwys—ai gwir yw fod Duw wedi gomedd i ddyn am byth, yn y byd hwn, yr olygfa decaf oll: urddas trefn foesol yn teyrnasu yng nghanol y tryblith ymddangosiadol,—Ei ewyllys rasol Ef ei hun yn cadarnhau ac yn sicrhau, yng nghanol yr holl bechod a'r boen, fwriadau tragwyddol y cariad na ddichon ballu? Ai gwir yw fod yr Hwn a garodd ddyn nes ei wneud yn *ddyn* wedi ei dwyllo, trwy roddi iddo ddealltwriaeth chwannog am oleuni, ond dall i'r oll sydd oreu, twyllodrus yn ogystal a diymadferth? Beth ydyw ystyr yr hyn a glywir gennym ar bob llaw, nid oddiwrth amheuwyr a gwatwarwyr yn unig, ond oddiwrth ddynion duwiolfrydig hefyd, fod sail Crefydd yn gorffwys ar son a sibrwd, ac fod yn rhaid i Reswm, bythol ieuanc, eistedd mewn cadwyni wrth draed Traddodiad oedranus a chrych? Golyga hyn i mi, nid ffydd, ond anobaith diwaelod, a diffyg ymddiried yn Nuw, yr hyn, yn lle symud ymaith y gwrthebion a ymdyrrant o amgylch yr enaid, a holltodd natur dyn yn ddwy, ac, yn lle cyhoeddi heddwch, a barodd gynhen didranc rhwng y deall â'r galon.

Tra yn credu fod Duw yn dda, ac nad oes terfyn na glàn i'w gariad at ddyn, nis gallaf gredu hefyd ei fod wedi tynghedu dyn i un o'r dewisiadau erchyll hyn. Gan ddilyn arweiniad y dyn mawr y soniaf am dano heddyw, a'r cwmwl tystion y sydd eu tystiolaeth yn rhy aml heb wrandawiad ar glustiau byddar yr amseroedd terfysglyd hyn, dymunwn sefyll yn ddiysgog, a chyda fy holl nerth roddi ergyd i'r amheuaeth drist hon a eilw ei hunan yn ffydd. Ni theifl canwyll rheswm, gwn hynny yn dda, ond goleu egwan ar ddwfn gyfrinion bethau yr ysbryd, ond rhoddaf fawr-bris ar ei phelydron eiddil, a gweddïaf yn ostyngedig am iddynt ennyn yn fflam gyson a llawn, gan fy mod yn gwybod mai wrth allor Duw y goleuwyd hwynt, ac mai nos dywell fuasai hebddynt.

Ped amddifadesid ef o'r ymddiried hwn yn rheswm dyn, a phed argyhoeddesid ef na ddygai myfyrdod nemor ffrwyth ym myd moes a chrefydd, ni adawsid i'r Prifathraw Caird lawer yn weddill yn deilwng o sylw a gofal meddwl. Mawrhäi wybodaeth o bob math ac o bob maes, a llawenhäi yn rhwysg ymdaith a chynnydd Gwyddor Ddiweddar, ond credaf na fuasai dim yn rhoddi digon o iawn iddo am ddiffyg gwybodaeth o wirioneddau uchaf byd yr ysbryd, na chwaith yn gwasgaru y cymylau oddiar ei enaid, pe credasai fod rheswm, wrth chwilio am fynediad i'r byd uchel hwn, wedi clywed y ddedfryd a ganlyn : Gofynnwch ac *ni* roddir i chwi ; ceisiwch ac *ni* chewch ; curwch ac ni agorir *byth* i chwi.

Ond yn yr oll a amcanai ei ddysgu, ac, yn ei fywyd hefyd, fel dirgelwch pob ymgais a tharddle pob amcan o'i eiddo, yr oedd gobaith gwell ac ymddiried llwyrach. Cawn ynddo ef un wedi ymgysegru i'r gwaith o ddyfnhau, eangu, a chadarnhau ffydd dyn yn egwyddorion tragwyddol moesoldeb a chrefydd ; un a roddai bris ar draddodiad fel etifeddiaeth o ddoethineb ymarferol, ac o wirionedd wedi ei chynnull gyda mawr lafur trwy yr oesau fu, ac ni choleddai byth y meddwl ehud fod y byd moesol i'w ail-sylfaenu yn ei ddydd ef, a thrwy ei law ef; un a ymgadwai, gyda thynerwch a phryder, a ymddangosai i lawer yn eithafol, rhag dweyd yr un gair a barai i'r gwan gwympo neu i'r anneallus dramgwyddo ; un a ystyriai mai swydd dysgawdwr fel pregethwr cyfiawnder fuasai cadarnhau ac nid gwadu, adeiladu ac nid distrywio. Ond gwelaf ynddo hefyd un a gredai fod ffydd i'w chadarnhau *trwy* wybodaeth, mai nid rhyw gymunrodd o dan law farw ydyw yr etifeddiaeth o rinwedd a gwirionedd a dderbyniwyd trwy draddodiad o'r oesau, ond yn hytrach moddion ac amodau anturiaethau newyddion, o'r rhai y bydd i ysbryd dyn ddychwelyd a'i longau yn gyfoethach o wirionedd ; credai, mewn gair, fod yn bosibl i'r deall rhydd a'r enaid agored ffyddiog chwilio i mewn i lyfr mawr natur ac ysbryd,—llyfr wedi ei ysgrifennu er eu mantais gan fys Duw, a gweled yn argraffedig ynddo, nid anghysondeb a thryblith, ond deddfau digyfnewid, trefn ysbrydol, dadguddiad o feddwl a mawredd Duw, a feistrola ac a swyna fwyfwy ar ddeall a chalon dyn i'r graddau ag y bo yntau yn syml, yn wylaidd, ac yn ddidwyll yn chwennych meddiannu ei wirioneddau dihysbydd.

Ni ddisgynodd erioed i fy rhan i adnabod un mwy ymwybodol o'i anwybodaeth ei hun o'r pynciau uchel hyn, ac, yn wir, o bob pwnc ; ond yn lle taflu y bai yn rhyfygus ar natur dealltwriaeth dyn, a chyhuddo Duw o atal Ei wirionedd, neu o gyfranu rhoddion lledeithiol, galarai efe uwchben eiddilwch ei egni ei hun, a llesgedd ei galon, gan edrych ymlaen at yr amser y gwelai meddyliau mwy, mewn gwlad well, ffyrdd Duw a'i feddwl yn fwy clir, y cymunai dynion ag Ef mewn cymdeithas agosach, ac yr ymddiriedent yn llwyrach iddo. Oblegyd gwyddai nas gall dyn adnabod Duw yn well heb ymddiried mwy ynddo, ac fod perffaith adnabyddiaeth yn dwyn perffaith dangnefedd. Fel, pa un bynnag ai syllu a wnai i ddyfnderoedd enaid y dyn unigol, tra yr ymgyrhaeddai at ddaioni a gwirionedd, ai edrych ar symudiad eangach hanes y ddynoliaeth, yn ei olwg ef cydgerddai Rheswm a Ffydd law yn llaw—Ffydd yn gryfaf po fwyaf a welai Rheswm o

oleuni, oblegyd os gellir dweyd fod rheswm yn pwyso ar ffydd, mae ystyr hefyd i'r ymadrodd fod ffydd yn blentyn rheswm. Wrth edrych ar wybodaeth dyn o deyrnas natur, gwelai fod ffydd o'r nodwedd yma, wedi ei geni o reswm, eisoes yn rhan gyffredinol a pharhaol meddyliau diwylliedig. Os, hyd yn oed yn y tiriogaethau y mae Gwyddor ddiweddar wedi dangos ei gallu digyffelyb ynddynt, y ceir canlyniadau nas gall eu holrhain, gwrthebion nas gall eu dadrys, ffeithiau nas gall eu hegluro, ond yn wir a ddymchwelant ei damcaniaethau mwyaf hoffus; saif yr argyhoeddiad yn ddiysgog mai cyfundrefn reolaidd ydyw natur, un cyfangorff cyson cytun a ddelir wrth ei gilydd gan ddeddf ddigyfnewid, a dreiddir ac a drwythir gan egwyddorion dealladwy. Nid yw yr argyhoeddiad ond tybiaeth, os mynwch, a thybiaeth heb ei chwbl brofi; ond tybiaeth ydyw sydd yn gyrru ei gwreiddiau yn ddwfn i natur ein dealltwriaeth, ac nis gall dealltwriaeth ei gwadu heb ddinystrio ei hun; oblegyd nid gwybodaeth yw yr hyn a wâd yr amodau o dan ba rai y mae gwybodaeth yn bosibl, ac nid oes noddfa i'r amheuwr ei hun, wrth syllu ar ddiluw cyffredinol anghrediniaeth, ond dychwelyd yn ol i'r arch. Ond, ym mhellach, er mai tybiaeth heb ei chwbl brofi ydyw, y mae ar y ffordd i gael ei phrofi. Nid oes yr un darganfyddiad newydd o ffaith, yr un gwe'ediad newydd i ddeddf, yr un eangiad ar wybr ein deall trwy offerynoliaeth cynnydd gwyddoniaeth, yr un oruchafiaeth o eiddo Rheswm trwy rym teyrngarwch mwy ymroddedig i ffeithiau, nad ydynt oll o newydd yn cyfiawnhau ac yn cadarnhau ein ffydd. *Oherwydd* rheswm, ac nid *yn erbyn* rheswm, yr ydym yn credu yn nhrefn natur. Egluro y drefn yw gwaith rheswm, ac nis gall cred ynddi ond dilyn; rhaid i wybodaeth berffaith esgor ar ffydd berffaith.

Yn awr, nid wyf yn tybio y bydd i mi fethu wrth ddweyd fod agwedd y Prifathraw Caird tuag at ffeithiau uwch y cylch moesol a chrefyddol yn hollol debyg i'r un a gymerai tuag at ymddangosiadau y byd naturiol. Gwyddai, wrth gwrs, fod y ffeithiau yn y cylch uwch yn llawer mwy cymhleth, ymchwiliad yn llawer mwy anhawdd, y moddau yn llai diogel, a'r canlyniadau mewn llawer ystyr yn llawer prinach. Ond fod y ffeithiau hyn yn eu natur yn annealladwy, heb eu cyfuno mewn unrhyw drefn, na'u rheoli gan unrhyw ddeddf, na bydd i fyd moes a chrefydd agor ei drysorau ger bron dyfal ymholiad ar ran meddwl dyn—yr oedd yn hollol amhosibl iddo gredu. Y fath ydoedd ei argyhoeddiad am natur odidog y gwirionedd yn ei symlrwydd, fel y chwiliai am ddehongliad o bynciau moesol a chrefyddol yn yr ysbryd teg, siriol, amyneddgar, amhersonol sydd wedi nodweddu y cais am wybodaeth yn y cylch naturiol. A mawr fu ei wobr. Pa anhawsderau wynebwyd ganddo, pa lafur meddwl aeth drwyddo, i ennill y wobr, nis gallaf ddweyd. Fe geid yn nyfnderoedd ei natur ysbrydol, mae'n ddiameu, argyhoeddiadau na siglwyd mohonynt erioed—ymdeimlad o fawredd y ddeddf foesol, ac o raslonrwydd annherfynol y cariad dwyfol, na lychwinwyd mono erioed. Eto i gyd, y fath ydoedd ei deyrngarwch i'r gwirionedd fel y dangosai foddlonrwydd i ddymchwelyd y deml a adeiledid ar draddodiad ac arferiad nes dynoethi ei sylfeini yng wyneb yr haul; a gwn "fod adeilad newydd harddwych wedi graddol ymddyrchafu o adfeilion yr hen deml, a mwy gogoniant y tŷ diweddaf hwn na'r cyntaf."

Nid yw yn bosibl i mi heddyw aros gyda gwahanol rannau yr anturiaeth uchel ac anfarwol hon, i ddefnyddio y geiriau a ddefnyddiodd ef am Kant. Ond os darllenwch chwi ei weithiau, ac yn fwy neilltuol ei Bregethau a'i Anerchiadau a gyhoeddir yn awr, cewch esboniad ar yr egwyddorion y gorffwysai y byd moesol ac ysbrydol arnynt, yn ol ei syniad ef: esboniad na cheir odid ei well yn ein llenyddiaeth, nid yn unig mewn ardderchogrwydd ymadrodd, ond hefyd mewn eglurder goleu a grym argyhoeddiadol. Yr hyn y mae yn ymddangos yn ei ddysgu ar bob tudalen ydyw, rhyw wedd ar yr athrawiaeth fawr, yr hon, pe anturiem ei mynegu mewn un gair, a osodasem ger bron fel y canlyn: gorffwysa y byd naturiol, a gwirionedd naturiol, ar y byd ysbrydol, ac ar wirionedd ysbrydol, tra y saif yr olaf yn anysgogadwy byth *yn ei hawl ei hun.* Gan ymafael yn sylweddau y byd allanol, a gwynebu ffeithiau celyd pruddaidd hanes dyn gydag uniongyrchedd didroi yn ol y Materolwr a'r Gwaethafwr, arweinid ef gan yr hyn a dybiai yn weithrediad di-feth meddwl i ddatgan fod y ffeithiau hyn, a holl deyrnas natur i gyd, yn cyrraedd eu huwchafnod mewn ysbryd, ac nas gellid eu hesbonio ond yng ngoleu yr ysbryd hwnnw.

Nid wyf yn golygu wrth hyn ei fod, trwy weithrediad hunan-dwyll, yn argyhoeddi ei hun fod natur a gwrthrychau naturiol trwy fygdarthiad yn troi yn feddyliau, na'u bod, trwy ryw arfferylliaeth waeth na difudd, yn cael eu toddi i fod yn lledrith disylwedd ym myd y meddylddrychau. Dysgai nad oedd gwrthrychau naturiol *fel y safent* i'w dirnad ond trwy ddarganfod ynddynt weithrediad bywiol nerthoedd byd yr ysbryd, byd dealltwriaeth diderfyn, a byd cariad annherfynol. Safasai ochr yn ochr gyda Mr. Balfour, neu unrhyw un arall, a ddywedai fod gwyddor naturiol, gyda holl sicrwydd mawreddus ei chanlyniadau, yn gorffwys yn y pen draw ar dybiaethau. Ond nis gallasai dwyllo ei hun â'r syniad fod sicrwydd crefydd i'w olrhain, nac wedi ei olrhain, o ansicrwydd gwybodaeth naturiol; nis gallasai chwaith argymhell yr enciliad oddiwrth reswm at draddodiad ac awdurdod, yr hyn sydd wrth wraidd yr adennyniad trychinebus yn nhraha offeiriadol y dyddiau hyn, a fynnai wneuthur carcharor unwaith eto o feddwl rhydd pob dyn. Iddo ef tybiol ydoedd gwyddor naturiol, ac nid oedd ei chanlyniadau nemor gwell na rhyw Efallai mawr, gan ei bod dan angenrheidrwydd i adael rhai elfennau allan o gyfrif, ac yn cario ymlaen ei holl ymholiadau heb gyfeiriad at y gweithrediadau hynny o eiddo y meddwl, heb ba rai y mae pobpeth yn dywyll. Ni fynnwn gael fy neall am foment fel pe yn beïo ar wyddor nac fel yn gwadu, mewn un gair, rym dïysgog ei chanlyniadau, o fewn ei chylch ei hun. Yr hyn y dymunwn ei nodi ydyw fod ei chylch hi yn gyfyngedig, fod y wedd honno ar y byd naturiol a droir at feddwl, fod y nodweddion a orweddant yn, ac a gyfansoddant bethau, gan eu gwneud yn gyfatebol i feddwl, y tu allan i derfynau gosodedig Gwyddor. Ni fydd hon yn methu byth ond pan yr anghofia ei ffiniau cyfreithlawn ac yr ymdrecha i ymeangu i fod yn Athroniaeth Bywyd yn gwbl oll, yr hyn ni wna byth yn nwylaw ei chofleidwyr mwyaf anrhydeddus. Ond daw yr elfennau hyn, y rhai mae yn rhaid i Wyddor, o angenrheidrwydd, ac fel amodau llwyddiant ei hymchwiliad, eu hanwybyddu a'u cau allan o'i chyfrif, i fewn eto i natur cyfansoddiad

pethau. Os mai darn ydyw Gwyddor, nid felly natur; yn hytrach cyfran fywiol ydyw o gyfanwaith mwy, ac mor annealladwy ar wahân i'r oll ag ydyw yr aelod marw wedi ei ddadgysylltu oddiwrth y corff byw. A'r hyn a amcanai y Prifathraw Caird ei wneuthur, fel etifedd y golud o feddwl dyrchafedig a ddaeth i lawr i'r amseroedd diweddaf hyn oddiwrth broffwydi Israel a dysgawdwyr tir Groeg, ydoedd dwyn tystiolaeth i'r mynegiadau o sylwedd a gwirionedd ysbrydol a gyniweiriant trwy holl waith anian, a'r rhai sydd yn fywyd yn ei gwaed ac yn oleuni ei holl fodolaeth. Gwyddai yr oll y gallai amheuaeth, yn ei ffurfiau diddiwedd o'r bron, ddweyd; gwyddai hefyd pa mor fynych yn hanes meddwl y byd y bu raid i athroniaeth ostwng ei honiadau, ac edrych ar ei hadeiladau coegfalch yn disgyn yn falurion i'r llawr o dan ergydion beirniadaeth; ond myntumiai fod y meddwl dynol, trwy rym noeth ymarferiad, yn ei gynhauaf diweddaf, wedi cynnull un canlyniad ac wedi sicrhau un peth i'w feddiant dros byth—sef yr argyhoeddiad fod byd natur mewn llinell gydbarhaol â byd yr ysbryd, wedi ei drwytho a'i nawseiddio gan ogoniant rhyw Bresennoldeb nas gall ei enwi âg enw neb ond Duw ei hun. Ac os nad ydyw ymdrech didor y meddwl trwy y canrifoedd wedi ennill ychydig fwy na thir i sefyll arno; os yw y casgliadau a dynnir oddiwrth yr egwyddor fawr hon yn aml yn gloff ac yn amhenderfynol, a chylch ei chymhwysiad yn resynus o gul; eto, yng ngoleuni y cawr-feddwl hwn, canfyddai ddyn yn esgyn gyda gobaith adnewyddol, a cherddediad sicrach, i gyfeiriad y fath adnabyddiaeth o ddeddfau y byd ysbrydol a gystadlai mewn sicrwydd cadernid â'n gwybodaeth o'r byd naturiol, ac a fawr ragorai arni mewn cyflawnder a gwerth. Gwelai, a defnyddio ei eiriau hyawdl ei hun, "Ddealltwriaeth amlochrog y dyn, wedi ei ryddhau oddiwrth yr eilunod a'r rhagfarnau sydd eto yn ei amgylchu, yn arddangos gallu newydd i edrych i mewn i bethau, ac ymwybyddiaeth newydd o nerth a rhyddid." "Nid yw celf nac athroniaeth, ac ychwanegaf, ddiwinyddiaeth, yn cyfansoddi eithriad i ddeddf cynnydd sydd yn llywodraethu gwybodaeth dyn." "Ym mhell uwchben cynhyrfiad nwydau dynion, uwchlaw y gofalon a'r buddiannau sydd yn ymddangos am y foment mor bwysig, heb brysuro byth, na gorffwys mwy, ym mlaen drwy yr oesoedd yr ymestyn bywyd meddwl, gan gyrchu at ei nod."

Yn awr, mae'n eithaf posibl i chwi ei briodoli i dueddfryd naturiol fy nhymer wresog pe dywedwn fod y dull hwn o edrych ar wirionedd, a'r syniad hwn am bosiblrwydd cynnydd diderfyn mewn gwybodaeth grefyddol, yn fy marn i, yn feddiant llawer iawn mwy gwerthfawr na'r un dyb ag y mae dyn wedi ei gosod mewn ffurf ysgrifenedig. Golyga, nid teyrngarwch i *un* gwirionedd, ond teyrngarwch i'r gwirionedd ei hun. Ac nid wyf yn gweled paham nad allwn ddweyd yn groew nas gall Eglwys Crist fod yn bur i'w Sylfaenydd, nac yn yr ystyr ddyfnaf yn un mewn ysbryd âg Ef, hyd nes y bydd iddi gymeryd i fyny yr agwedd hon o edrych ar y gwirionedd. Gŵyr eisoes na bydd i'r safon o berffeithrwydd moesol, er, yn hytrach *o herwydd*, fod Ei Christ wedi byw a marw ers talm o amser, gael ei gyrraedd ond yn y dyfodol pell, pell; ie, mor bell ydyw uwchlaw meddyliau tecaf dyn fel na rydd y bywyd presennol unrhyw awgrym o'r bron iddo am y

gogoniant ar ol hyn. Ond eto, mor wirioneddol ydyw'r safon honno, mor fyw yn weithredol yn y byd, gan ddyrchafu y ddynoliaeth ati ei hun, fel y gallwn ddweyd, "Wele fwriad mor fawr nas gall fethu, wele ddiben mor dda fel y mae'n rhaid ei fod yn wir. Yn ei symudiad ym.mlaen at rinwedd, nid yw yr Eglwys grediniol yn gwybod am ddim a gyrhaeddodd y gallasai ei ddal yn dŷn ac yn ddiysgog o flaen y daioni sydd yn myned ar gynnydd."

Ond tuedda ei hagwedd tuag at wirionedd crefyddol i fod yn wahanol i hyn; tuedda i anghofio nas gall egwyddor, yn unig am ei bod mewn grym, fod wedi ei phènnu a'i sefydlu yn ffurfiol, ond y bydd raid iddi gael ymeangu mewn olyniaeth dirifedi o ffurfiau, a phob un yn gyfoethocach na'r un elai o'r blaen. Caiff yr Eglwys Gristionogol, wrth ddringo Mynydd y Gwirionedd, fel Pererin Bunyan, "gan syrthio o redeg i gerdded, ac o gerdded i ddringo ar ei thraed a'i dwylaw," oherwydd serthrwydd y lle, aml i lanerch neu lwyn wedi ei ddarparu gan Arglwydd y Mynydd er adloniant y pererinion lluddedig. Yno y gall eistedd a gorffwyso, a thynnu y rhòl o'i llogell a darllen, gan ddechreu o'r newydd fwrw golwg ar y wisg a roddwyd iddi tra safai wrth y Groes." Ond y mae hithau hefyd yn dueddol i "syrthio i huno, ac wedi hynny i drwm gwsg, a'i ceidw yno hyd y nos o'r bron." Ac yn ei chwsg "fe ddisgyna'r rhòl o'i llaw,"—y rhòl, sef y ddarlun-len, o'r ffordd, a'i thrwydded i'r ddinas nefol. Oblegyd nid yw y gyffelybiaeth o bererindod yn llai cymhwys gyda golwg ar wirionedd crefyddol nag ydyw gyda rhinwedd. Yn wir, y mae yn eglur fod yn amhosibl i safon y Gwirionedd fod yn y gorffennol neu yn y presennol, os bydd safon rhinwedd yn y dyfodol. Nid oes ond un ddeddf i holl gynnydd dyn, a honno ydyw "deddf cynnydd" dros byth. "Chwilio yr hyn na wyddom wrth yr hyn a wyddom," medd Milton. "Uno gwirionedd â gwirionedd fel y canfyddwn ef (oblegyd y mae yr holl gyfangorff yn gydrywiol a chymhesur) hon yw y rheol euraidd mewn Diwinyddiaeth yn gystal a Rhifyddiaeth." "Pe gollyngid holl wyntoedd athrawiaeth i chwareu ar y ddaear, a gwirionedd ar y maes, yr ydym yn gwneuthur cam wrth drwyddedu a lluddias rhai i ameu ei nerth. Gadewch i wirionedd a chelwydd ymryson: Pwy wybu erioed i Wirionedd gael ei faeddu mewn ymdrech rydd ac agored? Gwrthbrofi celwydd yw y dull goreu a diogelaf i'w ddifetha."

Anhawdd cael geiriau mwy gweddus i'r gwefusau aur—sydd yn awr yn fud—na'r ymadroddion hyn o eiddo y bardd. Cariai argyhoeddiadau a lanwai ei galon: a'i llanwai yn fwy gan eu bod yn boddloni ei feddwl dyfnaf a chywiraf. Yno yr oedd egwyddorion wedi eu gosod yn y fath oleu, trwy weithrediad distaw meddwl ystyriol, fel y gwelai efe hwynt wedi eu cyfrodeddu â bywyd deallol dyn nes y buasai gwadiad o honynt yn gyfystyr â dirymiad meddwl ei hun, ac yn gwneuthur Rheswm yn ffiloreg. Gwelai eu gwirionedd yn eu goleuni priodol eu hun. Ac o ganlyniad, i ddyfynnu ei eiriau ef, gallasai ddweyd "mai nid y ffydd a ofynnir gan Grist, a'r hon ag y mae yn rhagorfraint uchel i ni fod yn abl i'w gweithredu, ydyw y ffydd sydd yn dweyd, 'Yr wyf yn credu mai hwn yw gair Duw am fod gwyrthiau a rhyfeddodau wedi eu cyflawni er mwyn ei amddiffyn,' ond yn hytrach yr hon all ddweyd,

'Hwn yw gwirionedd Duw; yr wyf yn ei weled, yn ei gredu, yn ei wybod; a phe deuai nefoedd a daear ynghyd i'w wrthbrofi, ni syflir byth fy ffydd ynddo.'" Safai gwirionedd y byd moesol yn ddigryn, yn ei olwg ef, *ar ei hawl ei hun;* a gallai yntau yn hawdd gydwaeddi â gwron rhyddid Lloegr, "Pwy sydd ar ni ŵyr fod Gwirionedd yn gryf, yn nesaf at yr Hollalluog? nid oes raid wrtho am gyfrwystra ac ystrywiau i'w wneyd yn fuddugoliaethus: dyfeisiadau ac amddiffynfeydd a ddefnyddir gan gyfeiliornad yn erbyn ei nerth ydyw y rhai hyn; rhoddwch ond digon o le iddo, a pheidiwch a'i rwymo pan y cwsg." Da fuasai gennyf aros gyda rhai o'r gwirioneddau y gwyddai efe a safant yn dragwydd; ond nid dyma yr amser na'r lle. Yr wyf yn troi at ystyriaeth arall, a'r olaf.

Y mae'n bur hysbys i mi fod yma rai pobl yn yr Alban, tra yn cydnabod ucheledd meddwl y Prifathraw Caird, prydferthwch ysbrydol ei fywyd, a'r ymdeimlad dwfn a feddai o'r gwerth anrhaethadwy i ddyn gaed yn y datguddiad a wnaed gan Dduw yn Iesu Grist, eto yn meddwl am dano fel un a gynhyrchai amheuaeth, ac a ysgydwai y ffydd, oedd mor anwyl yn eu golwg a bywyd ei hun. Diogel eu hunain yn eu gostyngeiddrwydd a'u hiselder, fel y mwsogl a dyf wrth wraidd y dderwen, nis gallant wybod dim am y gwynt nerthol uwchben ond trwy ei hysgydwad. Hwyrach eu bod yn meddwl mai hi a achlysurodd yr ystorm. Ond gŵyr dynion o welediad eangach bethau amgenach. Gallant hwy weled yr adeg pan ddyrchodd y ganrif ryfeddol hon, sydd yn awr yn llithro islaw y gorwel, ei phen gyntaf yn ffurfafen ddistaw amser, fel y lloer uwchben y lli, gan alw allan lifeiriant nerthol o feddwl a redodd ymhell dros yr hen welyau, gan ysgubo ymaith yr hen derfynau. Clywsant hwy "Wyddor," yn ei hieuenctid, yn rhy fyrbwyll, yn cyhoeddi goruchafiaeth gyffredinol mater a grym; gwelsant "Ddadblygiad" yn dôlgydio dyn yn yr anifail, a'r anifail mewn mater marw; gwyliasant "Agnosticiaeth" yn syllu ar y nefoedd uchod, yn cael dim ynddynt, ac "Amheuaeth" yn eu barnu yn ddiddym; tra y gwelid amddiffynwyr diffydd y ffydd, "fel haid o adar ofnus, a garant y gwyll, yn ymlochesu rhag loes a brathiad saethau rheswm, y tu cefn i wrthglawdd Awdurdod." Ond yng nghanol y pair

> "Amongst the shouts of heathen and the traitor knights."
>
> . . . . . . . . . . . . . . .
>
> "the shrieks
> After the Christ, of those who falling down
> Look'd up for heaven, and only saw the mist,"

safai o leiaf un yn dalgryf a disyfl, ac ni thaflodd oddiwrtho gleddyf y Gwirionedd. Diangasant hwy oddiwrth wybodaeth, ac ni feiddient feddwl; gwaeddai yntau "Meddyliwch fwy."

Heb hawlio hynodrwydd anghyffelyb i'r Prifathraw Caird, tra yn gwybod ei fod yntau, fel pob un doeth, wedi dysgu oddiwrth ereill yr hyn a wnaeth yn eiddo iddo ei hun, eto ymddengys i mi, mewn un peth o leiaf, yn sefyll ar ei ben ei hun: yn ei allu digymhar i gyflwyno y gwirioneddau dyfnion hynny ar ba rai y gorffwysa yn ddiysgog fyd yr ysbryd, mewn goleu mor glir, fel, gyda threigliad amser ym mlaen, y deuant fwy-fwy yn feddiant diogel feddwl cyffredin dyn.

*Glasgow.* HENRY JONES.

*

## ESGOB LLANELWY AR Y CYFFRAWD EGLWYSIG.

O ESGOBION Cymru, hyd y gwelsom, nid oes yr un wedi traethu ei syniadau ar y cyffrawd presennol yn yr Eglwys Sefydledig oddieithr Esgob Llanelwy. Gwnaeth ef hynny yn ei gynghor tair-blynyddol i'w glerigwyr, yn yr eglwys gadeiriol, ddydd Mawrth, y 25 o Dachwedd. Dyweder a fynner, y mae yr esgob yn medru dweyd ei feddwl yn rymus a difloesgni: ac y mae yn gwneud hynny. Mae hyn yn fwy nag y gellir ei ddywedyd am rai o'r rhai pennaf o'i frodyr. Nid oes neb yn ameu gallu y ddau archesgob: ar faterion cyffredin llefarant yn uchel a chroew: ond ar rai pethau—a hwn yn eu mysg—cuddiant eu golygiadau dan y fath bentwr o ûs, fel mai ychydig ryfeddol ydyw y grawn ar ol llawer byd o ddyrnu. Diau fod i hynny hefyd ei amcan. Ar y pen hwn, modd bynnag, i'r neb sydd yn ddigon o Sais, ni raid cwyno dim yn erbyn yr esgob.

Cymer olwg eang, bwyllog, a thêg—o'i safle ef—yn ddiau ar y maes. Nid yw mewn un modd yn dychrynu yng ngwyneb y cyffroadau presennol. "Dywedir wrthym," meddai, "fod yr Eglwys mewn cyfwng pwysig, ac, os na wneir hyn neu arall, fod dadgysylltiad wrth y drws. I mi nid yw hyn ond iaith arswyd a bygwth. Pan y mae yr Eglwys yn fyw a gweithgar, y mae yn wastad ryw gyfwng neu gilydd mewn rhyw ran o'i gwaith, ac mewn adegau o ddiogi a thrymgwsg yn unig nid oes gyfwng. Y mae adeg o gyfwng, wrth reswm, bob amser yn adeg o feirniadu, ond nid yw beirniadaeth yn beth drwg, nac yn arwydd afiach. Nid yw dynion yn ymdrafferthu i feirniadu y diwerth a'r diallu." Pa wir gwell a allesid ei draethu, nac mewn iaith fwy uniongyrchol? Y mae hwn yn wirionedd sylfaenol a digyfnewid; ac nis gellir ei draethu yn rhy fynych, nac mewn lleoedd rhy uchel. Trá yn sefyll yn benderfynol yn erbyn ymraniadau eiddigeddus, yn tarddu o fympwyon ac anwybodaeth, y rhai sydd yn creu dinystr y ffordd y cerddant, ac yn parhau anghydfyddiaethau gelyniaethus ar ol i'r achlysuron o honynt beidio, dylid croesawu amrywiaeth barn ac ymarferiadau fel arwyddion o fywyd a deffroad, ïe, hyd yn oed pan na byddont bob amser yn cymeradwyo eu hunain i farn a theimlad uchel; os ceir eu bod yn fynegiadau o argyhoeddiadau dyfnion dynion gonest, pa mor gyfeiliornus bynnag y gallant ymddangos i olwg rhai. Ni fynem ddweyd dim dros bob math o anghydffurfiaeth. I'r gwrthwyneb, lle y byddo undeb a chydweithrediad yn bosibl, y maent i'w dymuno uwchlaw pob peth "Gan fod yn ddyfal i gadw undeb yr ysbryd yng nghwlwm tangnefedd." Ond lle byddo syrthni a boneddigeiddrwydd gau yn caethiwo dynion deffröedig i ffurfioldeb ac unffurfiaeth y bedd, y pryd hwnnw dylid croesawu a bendithio bywyd ac amrywiaeth, o ba le bynnag y daw, hyd yn oed pe byddai raid iddo, oherwydd gwrthwynebiadau ac erledigaethau, ymffurfio yn anghydffurfiaeth cryf a phenderfynol. Iechyd mawr ydyw clywed esgob lawntiog yn cyhoeddi nad oes arno ddim ofn bywyd a beirniadaeth. Buasai gwedd arall ar Gymru heddyw pe buasai rhai o'i ragflaenoriaid

wedi gallu dweyd yr un peth. Ond y mae ei fod ef yn ei ddweyd yn profi nad yw gwers fawr anghydffurfiaeth ddim wedi bod yn hollol ddieffaith hyd yn oed ar urddasolion eglwysig. Gellid crybwyll hefyd ei bod yn wers na ddylid ei hanghofio gan anghydffurwyr eu hunain; oblegyd, yn ddiau, ar y pryd, ac o dan yr amgylchiadau, pryd na chaent ryddid i ddilyn eu hargyhoeddiadau o fewn y Llan, eu dyledswydd a'u gogoniant ydoedd anghydffurfio oddiwrth y Llan. Marwolaeth yw unffurfiaeth; amrywiaeth ydyw bywyd a threfn.

Addefa yr esgob fod yn yr eglwys, nid yn unig amrywiaeth, ond eithafion. "Y mae, ac fe fydd bob amser, ym mhob eglwys sydd yn deilwng o'i galw yn gatholig, ddynion eithafol, oblegyd y mae yn gatholig oherwydd ei bod yn cynnwys amrywiaeth o opiniynau o fewn ei therfynau helaeth." Y cwestiwn mawr ydyw, Pa bethau sydd yn eithafion anghymodlawn, nas gellir eu cyfuno, a pha bethau sydd yn amrywiaeth anhebgorol angenrheidiol i harddwch? A ddichon dynion sydd yn deyrngarol i Grist presennol byw gydnabod uwchafiaeth un arall sydd yn proffesu mai efe yw Pen yr Eglwys? A ydyw yn bosibl i ddynion sydd yn argyhoeddedig o dwyll eilunaddoliaeth addoli yr Arglwydd o dan y ffurf o fara a gwin? A oes modd dygymmod â gallu gwladol yn honni uwchafiaeth eglwysig? neu allu eglwysig yn cymeryd meddiant o awdurdod gwladol? Dyma gwestiynau, a rhai cyffelyb iddynt, sydd yn cynhyrfu dynion i'r dyfnderoedd yn yr Eglwys Sefydledig, ac mewn cylchoedd ereill, yn y dyddiau hyn? Y gofyniad yw, pa un a ddylid edrych arnynt fel amrywiaeth banfodol i drefn a harddwch ynte i elfennau nas gellir gwneud heddwch rhyngddynt ond trwy ddifodiad y naill neu y llall? Nis gall y cwestiynau hyn gael eu hosgoi. Y maent wedi dyfod i farn, a rhaid eu penderfynu. Canys y mae y geiriau yn wir ar y mater hwn, fel ar fater arall, "Na iauer chwi yn anghymarus gyda rhai digred: canys pa gyfeillach sydd rhwng cyfiawnder ac anghyfiawnder? a pha gymundeb sydd rhwng goleuni a thywyllwch? A pha gysondeb sydd rhwng Crist a Belial? neu pa ran sydd i gredadyn gyd âg anghredadyn? A pha gydfod sydd rhwng teml Duw ac eilunod? canys teml y Duw byw ydych chwi?"

"Gyda'r dynion eithafol hynny," meddai yr esgob, "nid oes gennyf yn bersonol unrhyw gydymdeimlad yn y byd." Hawdd iawn genym ei goelio. Dynion eithafol, yng ngolwg dynion mewn awdurdod, ydyw dynion argyhoeddedig bob amser wedi bod. Na, ni fu erioed ddim cydymdeimlad cydrhwng dynion sydd am gadw pethau fel y maent â dynion sydd yn tybied fod ganddynt hwy genadwri i osod pethau fel y dylent fod. "Ond pa fodd yr ymwneir â hwy?" gofynna'r esgob. Ie, dyna'r cwestiwn mawr. Dyma yr hen gwestiwn sydd wedi ei ofyn ym mhob oes, o ddyddiau Pilat, a chyn hynny, hyd yn awr. "Yn y llysoedd cyfreithiol?" gofynna eilwaith. Ac etyb, "Y mae Deddf Addoliad Cyhoeddus wedi ateb y gofyniad yna yn nacäol." "Yna," meddai, "daw y wasg. Mewn achosion o'r fath yma ymddengys i mi fod y wasg yn llawer mwy tebyg i achosi nag i feddyginiaethu y trallodion y cwynir o'u herwydd." "Felly," meddai drachefn, "onid oes dim i'w wneud? Fy ateb yw fod peth anferth yn cael ei wneud, a hynny yn y ffordd oreu sydd yn bod, oherwydd ei fod yn cael ei wneud yn dawel a chyfrinachol, trwy gydymgynghoriad pwyllog, a thrwy yr

apeliadau hynny at reswm ac ufudd-dod, y rhai nad yw dynion synwyrol byth yn peidio gwrando arnynt." Rhagorol. Dyna atebiad wrth ein bodd. Gymaint yn well y buasai esgob arafaidd, gochelgar, a synwyrol Llanelwy yn trin ei glerigwyr, na'r esgob hwnnw yn ddiweddar a alwodd ei frodyr, ar goedd gwlad, i ysgoldy mawr, yn un o'n prif drefydd, ac, yng ngwydd prif dir-feddianwyr yr esgobaeth, a'u tarawodd hwynt yn ddi-ddrugaredd, glun a morddwyd! Gobeithio y caiff hyd yn oed yr esgob hwnnw, er hynny, le i edifeirwch, pan y daw, trwy ddagrau, i'w thaergeisio hi.

Cyweirnod y cyngor ydyw teyrngarwch i'r Llyfr Gweddi Gyffredin. Ni fynnem rwgnach yn erbyn hyn, gan na ofynnir i neb gredu dim yn hwnnw ond sydd "yn gyttunol â gair Duw;" mwy nag y byddai galw ar y Methodistiaid, dyweder, i fod yn deyrngarol i'r Gyffes Ffydd yn peri i neb dybied eu bod trwy hynny yn cael eu hannog i roddi heibio yr ysgrythyrau, y rhai y mae y Gyffes wedi cael ei sylfaenu arnynt. Y perygl yn hyn ydyw, wrth wneuthur y Llyfr Gweddi a'r Gyffes Ffydd yn awdurdodau i apelio atynt, anghofio awdurdod oruchaf y Bibl. "At y gyfraith ac at y dystiolaeth." Yma eto, y mae yr un tegwch ac eangder yn nodweddu ei sylwadau yn y cyngor. "Y mae teyrngarwch i'r Llyfr Gweddi yn gynwysedig, nid mewn gorfodaeth i gadw yn gaeth ryw fanylion detholedig, ac feallai ar ol eu hoes, o hono, ond mewn deongliad gonest o'r hyn a ellir ei ystyried yn feddwl a thymer gyffredinol yr eglwys. Golyga deyrngarwch i ysbryd, yn hytrach na llythyren, y llyfr. Enilla hyn o'i blaid ddylanwadau eangaf, cryfaf, a mwyaf cariadus yr eglwys, a cheidw yn glir â'r dadleuon hynny sydd yn troi yn fynych yn hytrach ar fanylion nag ar egwyddorion." Ymadroddion euraidd. Athrawiaeth iachus. Gyda'r ysbryd eang a grasol hwn ä yr esgob ymlaen i edrych ar rai o'r pethau sydd yn tynnu sylw ac yn peri cyffro yn yr Eglwys Sefydledig yn awr, gan eu cymhwyso fel y mynnai efe at y gwahanol amgylchiadau.

Un o'r pethau y mae yn sylwi arnynt ydyw cymundeb wythnosol. Yn hyn nid yw Eglwys Loegr yn unig yn y wlad hon. Heblaw fod y Pabyddion yn cyfranogi yn fynych o'r offeren, y mae y Bedyddwyr Albanaidd hefyd yn "tori bara" bob Dydd yr Arglwydd. Ond, yn ymarferol, y mae hyn yn un o bethau diweddar yr Eglwys Sefydledig, ac yn un o arwyddion sicr y tueddiadau newyddion sydd yn ymweithio ynddi. Lled gymylog ydyw yr esgob ar y mater hwn. Cyfeiria yn amwys at y Llyfr Gweddi. Ond dywed yn bendant mai "meddwl amlwg y Llyfr Gweddi ydyw na ddylai yr un dydd yr Arglwydd fyned heibio mewn unrhyw blwyf heb weinyddiad o Swper yr Arglwydd." Diystyr, meddai, ydyw y gwasanaeth heb ei fod yn rhagarweiniad i'r Cymun. Feallai hyn. Mor bell ag y mae yn myned y mae yn amlwg fod barn yr esgob o du y symudiad newydd.

Y mae yr Eglwys Babaidd bob amser yn cyfranogi o'r offeren dan ymprydio. Ni pherthyn i mi yn awr ymholi o ba le y daeth yr offeren a'r ymprydio. Amlwg yw na ddaethant erioed o'r Testament Newydd. Ond y mae yr ymprydio hwn yn golygu, mewn ymarferiad, cyfranogi o'r elfennau bob amser yn y bore, yn un o'r pethau cyntaf, cyn torri ympryd. Oherwydd hynny cyfrifent fwyta Swper yr Arglwydd yn yr hwyr, ar ol pryd o fwyd, fel y gwnaeth yr Arglwydd Iesu a'i apostolion,

yn ddiles, ac yn ddirmyg ar yr ordinhad sanctaidd. Nid yw Eglwys Loegr wedi arfer dilyn yr arferiad hwn. Ceir ynddi eto eglwysi sydd yn cymuno yn yr hwyr, fel y gwnaed ar sefydliad y swper. Ond y mae y tueddiadau sydd at gymuno bob Saboth yn gogwyddo yn gryf hefyd at gymuno yn y bore, cyn bwyta pryd cyffredin. Ni roddir unrhyw reswm dros hyn heblaw arferiad eglwysig; ac ni ddwedir paham y dilynir arferiad yr eglwys yn hytrach nag arferiad ei Harglwydd. Ond felly y mae. A thuedda yr esgob yn hytrach at yr arfer hwn. "Ni ddylid," meddai, "edrych ar gymuno dan ymprydio ond yn unig fel moddion adeiladaeth ysbrydol, a rhaid i'r ymarferiad o hono, a'r gefnogaeth a roddir iddo fel moddion adeiladaeth, gael ei benderfynu gan bob un drosto ei hun. Cwestiwn personol i'r dyn ei hun ydyw pa un yw y sefyllfa gymhwysaf i dderbyn y llesad ysbrydol penaf, wrth benderfynu yr hwn y mae iechyd, tymher, a chymdeithas yn briodol yn meddu hawl i wrandawiad." Nis gallesid dweyd yn well. Drachefn, meddai, "Y mae lliaws mawr, a chynyddol mi gredaf, yn cael mai awr fywiog a thawel cymundeb boreuol ydyw yr oreu; ond nid yw dywedyd hyn ddim yn condemnio ereill sydd yn barnu yn wahanol." Ac fel ffaith—gan fod esiampl yn drech na gorchymyn—dwedir yn bendant yn yr adroddiad am y cydgynulliad yn Llanelwy, fod y Cymun Bendigaid i'r clerigwyr y bore hwnnw am chwarter i naw, a'r boreufwyd am hanner awr wedi naw. Felly dyma bob cefnogaeth dadol i gymundeb bob Saboth a hynny, mae'n debyg, dan ymprydio.

Ni oddefa'r Pabyddion i neb gymuno heb gyffesu. Y mae y gyffes-gell ar y ffordd at yr allor. Diangenrhaid yw dywedyd fod cyffesu yr Hen Destament a'r Newydd yn gwbl a thrwyadl wahanol i glust-gyffes y Pabyddion, ac i'r arferiad fel y mae yn awr yn cael ei dwyn i mewn gan y Defodwyr i Eglwys Loegr. Edrychir ar y gyffes-gell, yn ddiamheu, gyda'r amheuaeth lwyraf, gan bob dyn y mae gweithrediadau agored a di-gêl yn gymeradwy yn ei olwg, ac yn taro yn uniongyrchol yn erbyn syniadau dyfnaf y genedl am ryddid a chwareu teg. Pa beth ddywed yr esgob ar hyn? "Y mae llais yr eglwys," meddai, "ar gyffes ddirgel yn eglur a dealladwy, ac yn amlwg yn caniatau ac yn cymhell cyffes ddirgel mewn achosion neilltuol, gan osod allan yn eglur pa rai ydyw yr achosion hynny. Y mae yn gyfartal eglur fod y penderfyniad yn gorffwys gyda'r person unigol ac nid gyda'r offeiriad. Os ydyw fy esboniad i ar eiriau y cymhelliad yn gywir, ein harferiad, fel gweinidogion ffyddlawn a theyrngarol a ddylai fod, nid mewn un modd wahardd neu wrthwynebu y rhai hynny a ewyllysiant gael y cysur neu y cyngor ychwanegol hwn, ac yn sicr ni ddylem ei wthio ar y rhai hynny nad ydynt yn teimlo ei angen. Y mae dewisiad y gweinidog yn cael ei adael yn hollol rydd. Gall yr edifeiriol fyned at ei offeiriad plwyfol ei hun, i'r hwn yr ymddiriedwyd gofal a llywodraeth eneidiau ei blwyfolion, neu gall ddewis rhyw weinidog arall doeth a dysgedig yng Ngair Duw." Anheg, yn ddiau, fyddai dweyd fod yr esgob yn pleidio y gyffes-gell, fel y mae yn Eglwys Rhufain. Ond, trwy adael y peth yn hollol yn nwylaw yr offeiriad plwyfol, i'r hwn yr ymddiriedwyd "gofal a llywodraeth eneidiau ei blwyfolion," y mae yn rhoddi pob hawl i hwnnw ddysgu yr angenrheidrwydd anhebgorol am

gyffesu, ac, yn ymarferol, i offeiriad penderfynol, yn rhoddi pob mantais iddo i wneuthur cyffes ddirgel yn orfodol ar y plwyfolion.

Pan ddeuwn at "weddïo dros y meirw," y mae yr esgob yr un mor glir a di-floesgni. "Yn y mater o weddïo dros y meirw yr ydym yn rhwym o gadw yn fanwl at arweiniad yr Ysgrythyrau Sanctaidd. Trosglwyddwyd yr arferiad o weddïo dros y meirw o'r Eglwys Iddewig i'r un Gristionogol. Y mae yr adran adnabyddus yn Ail Lyfr y Macabeaid yn dangos fod gweddïo dros y meirw mewn arferiad ymysg yr Iuddewon 200 mlynedd cyn dyfodiad yr Arglwydd. Rhydd yr Esgob Harold Brown ei farn nad oes dim dadl fod yr arferiad hwn yn ffynnu yn fore iawn ymysg Cristionogion. Dengys tystiolaethau y tadau boreuaf fod y cyfryw weddïau yn ffurfio arfer gyffredin yr eglwys, ac yn yr holl ffurf-wasanaethau henafol ceir gweddïau a diolchiadau dros y meirw; a cheir cadarnhad i hyn yn y cerfiadau yn y *catacombs*, y rhai ydynt yn llefaru iaith hyder a diolchgarwch. Ond un gair o ocheliad. Bydded i'n geiriau a'n gweddïau yn yr achos hwn fod wedi eu llunio yn ol yr egwyddor o ddistawrwydd a gochelgarwch sydd mor amlwg yn yr holl gyfeiriadau at y mater yn y Bibl. Y mae holl addysg y Testament Newydd yn ymddangos fel yn gwahardd hyll-dremu i'r pethau anatguddiedig hyn, ac, hyd yn oed yn fwy na hynny, i ddim byd tebyg i fapio allan y byd arall sydd mor gysylltedig âg athrawiaeth y purdan."

Yn awr dyma ni yn deall yn glir pa beth ydyw meddwl Esgob Llanelwy ar rai o'r pethau sydd yn tynnu sylw dynion meddylgar ar hyn o bryd. Yn ei farn ef nid oes dim i'w ddweyd yn erbyn, ond yn hytrach o blaid: 1. Cymundeb wythnosol; 2. Cymuno dan ymprydio, ac felly, yn ymarferol, yn y bore; 3. Cyffes Ddirgel i'r Offeiriad; 4. Gweddïo dros y meirw. Trwy ddyfal esbonio, feallai y gellid, trwy drafferth fawr, dynnu y pethau hyn o'r Llyfr Gweddi Gyffredin —er fod hyn hefyd yn dra amheus. Ond, a chaniatau eu bod yno, dywed y Llyfr Gweddi ei hun na ddisgwylir i ni gredu dim sydd ynddo ond sydd "yn gytunol â Gair Duw." Pan anercho yr esgob ei glerigwyr y tro nesaf, os gall fforddio yr amser, carem yn fawr iddo ddangos â pha rannau o Air Duw y mae y pethau hyn yn gyttunol. Hyd hynny, esgusoder ni am beidio eu credu. Yr hyn sydd yn bwysig, fodd bynnag, yw, fod yr esgob yn eang iawn ei syniadau at osodiadau y Llyfr Gweddi, ac at y rhai hynny a arferant y pethau hyn. Yn hytrach, felly, na sefyll ar ffordd y ddefodaeth sydd yn awr yn ein bygwth, y mae yn amlwg fod yr esgob yn caniatau, os nid yn cefnogi, y rhagweinyddion iddo. Tra yn anghydweled âg ef yn fawr yng nghylch llawer o bethau, nis gallwn lai na theimlo yn ddiolchgar ddi-ragrith iddo am ddweyd ei feddwl mor glir, ac nid, fel ei uwchafiaid o York a Chanterbury, guro o gwmpas y twmpathau.

Ychydig o bwys, feallai, sydd mewn gwybod pa mor bell y mae yr arferion defodol hyn, yn nghyd ag arferion defodol ereill, yn ffynnu yn yr esgobaeth. I offeiriaid defodol, y mae tybied fod y Llyfr Gweddi o'u plaid, ac nad oes gan yr esgob ddim yn eu herbyn, yn ddigon o warant dros eu harfer. Er hynny, yn yr adeg bresennol, gyda chyngor yr esgob o'n blaen, y mae yn fater o ryw gymaint o ddyddordeb i ni wybod pa mor bell y mae y llanw defodol eisoes wedi cyrraedd

yn Esgobaeth Llanelwy. Rhaid cydnabod fod hyn yn orchwyl digon anawdd. Yn awr cedwir ymlaen gynifer o wasanaethau gan offeiriaid defodol, a'r rhai hynny yn gwahaniaethu oddiwrth eu gilydd mor fawr —y bore, dyweder, am wyth, neu cyn hynny, y Cymun fel gwasanaeth yr offeren, gyda llawn hwyliau, ac yna, am un ar ddeg, gwasanaeth efengylaidd moel, na fyddai gan y llymaf ei ddefodau ddim yn ei erbyn—fel mai gorchwyl anawdd ydyw cael sicrwydd hollol am yr hyn sydd yn myned ymlaen, ïe, hyd yn oed pe dymunai yr esgob ei hun ei gael. Ond y mae yn digwydd bod ger ein bron lyfryn bychan a gyhoeddwyd ym mis Mai diweddaf, yn dwyn yr enw *Tourists' Church Guide*, 1898 *and* 1899. Cyhoeddir ef gan yr *English Church Union*, a'i amcan ydyw cyfarwyddo teithwyr ymha eglwysi i gael y pethau hynny sydd at eu harchwaeth ddefodol trwy gylchoedd Eglwys Loegr, megys "Oriau y Gwasanaeth yn y rhan fwyaf o'r Eglwysi yn y Deyrnas Gyfunol lle y dathlir yr Eucharist Sanctaidd *o leiaf* bob Saboth; ac y dangosir pa le y mae arferiad y Gwisgoedd Eucharistaidd, Goleuadau yr Allor, Y Gwpan Gymysg [o ddwfr a gwin], Arogldarth, a'r Safle Ddwyreiniol, wedi eu hadfer; hefyd pa Lyfr Hymnau a arferir, a pha un a ydyw yr Eglwys yn Rhydd ac Agored," &c. Yn yr eglwysi hyn gellir cymeryd yn ganiataol fod y pethau y cyfeiria yr esgob atynt yn bur debyg o fod yn cael eu harfer. Dichon nad yw y rhestr ganlynol yn hollol gyflawn na chywir, ond y mae yn sicr o fod yn lled agos i'w lle. Yn y daflen hon y mae y Cymundeb, neu, fel y galwant hwy ef, yr *Eucharist*, yn cael ei ddathlu (nid ei fwyta, ond ei ddathlu—*celebrate*) *o leiaf* un waith bob Saboth. Arwydda * fod y neb fyddo yn gweinyddu y Cymundeb yn cymeryd y Safle Ddwyreiniol, h.y. yn lle cymeryd y Safle Ogleddol wrth dori y bara, yn ol y Llyfr Gweddi (gwel, "A'r Offeiriad," &c.), fel y byddo yn gwneud hynny yng ngolwg yr holl bobl, yn cymeryd y Safle Ddwyreiniol, a'i gefn at y bobl, fel y byddo yr elfennau o olwg y bobl pan y byddo ef yn eu cysegru. † Fod y Gwpan Gymysg yn cael ei harfer, h.y. yn lle cymeryd gwin yn unig, yn ol yr Ysgrythyr a'r Llyfr Gweddi, fod y gwin wedi ei gymysgu â dwfr. § Fod Dillad Offeiriadol yn cael eu defnyddio. || Fod Canwyllau yn cael eu goleuo ar yr Allor yn ystod y Cymun Sanctaidd.

| LLE. | SIR. | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| Abergele, Pensarn, S. David .... | Dinbych | * | | | |
| " S. Michael.............. | " | * | | | |
| Asaph S. Cathedral ... . ......... | Fflint | | | | |
| Brymbo, S. Mary ............... | Dinbych | * | | | |
| Colwyn Bay, S. Paul............ | " | * | | | |
| " Old, S. Catherine........ | " | * | | | |
| Denbigh, S. David ............... | " | * | | | |
| " S. Mary ............... | " | * | | | |
| George, S. ......................... | " | * | † | .. | \|\| |
| Gresford, All Saints ............. | " | * | † | | |
| Hanmer, S. Chad ................ | Fflint | | | | |
| " S Mary Mag., Tallarn.. | " | * | .. | .. | \|\| |
| Hawarden, S. Deiniol ........... | " | * | † | .. | \|\| |
| " Broughton ............ | " | * | | | |
| " Pontrobin ..... ....... | " | * | † | § | \|\| |
| Hope, S. Cynfarch.................. | " | * | | | |

| Lle. | Sir. | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| Llanddulas S. Cynbryd | Dinbych | * | | | |
| Llandyssul | Trefaldwyn | * | .. | .. | \|\| |
| Llanerfyl | " | * | † | | |
| Llanfyllin | " | * | | | |
| Llanfyllin, All Saints | " | * | | | |
| Llanfynydd | Fflint | * | † | § | |
| Llangernyw | Dinbych | * | | | |
| Llangollen | " | * | .. | .. | \|\| |
| Mold, S. John | Fflint | * | .. | .. | \|\| |
| " S. Mary | " | | | | |
| Newtown | Trefaldwyn | * | † | | |
| Oswestry | Salop | * | † | .. | \|\| |
| Penley | Fflint | * | † | .. | \|\| |
| Penycae | Dinbych | * | | | |
| Rossett | " | * | † | .. | \|\| |
| Ruabon, S. Mary | " | * | † | § | \|\| |
| " S. Martin | " | * | | | |
| Towyn | " | * | † | § | \|\| |
| Welshpool | Trefaldwyn | * | | | |
| Wrexham, S. Mark | Dinbych | * | † | .. | \|\| |

Rhydd hyn 36 o leoedd, yn Esgobaeth Llanelwy, ymha rai y mae defodaeth, i raddau mwy neu lai, yn ffynnu. Nid yw hyn, feallai, yn ymddangos yn llawer ynddo ei hun, ond y mae yn llawer i esgobaeth mor fechan, ac yn ddechreu. Dywed yr esgob fod yr eithafion o ddefodaeth yn adnabyddus yn ei esgobaeth ef yn fwy trwy glywed am dano, na thrwy brofiad o hono. Ond y mae yn bod yno; a gellir disgwyl iddo gryfhau. A chyffyrddiad bychan o'r gwahanglwyf oedd yn gwneuthur yr holl gorff yn aflan.

Y mae cynnydd ofergoeledd mewn gwlad hyd yn oed yn fwy ofnadwy na chynnydd anffyddiaeth. Efeilliaid ydyw y ddau; ond y mwyaf peryglus ydyw ofergoeledd. Anhawdd bob amser ydyw ymwneyd â'r rhai nad oes dim a'u boddlona ond rheswm pur dros bob peth; ond y mae yn anaws ymwneud â'r rhai hynny nad oes dim yn rhy hygoelus ganddynt i'w gredu. Nid yw addoliad Duw dan gysgod yr elfennau ond eilunaddoliaeth pur a digymysg. A gwaeth na hynny ydyw y syniad fod y rhai sydd with gyfranogi o'r Swper Sanctaidd yn bwyta yn llythrennol ac yn gnawdol gorff a gwaed yr Arglwydd. Tra y mae gwisgo dillad, a myned drwy ffurfiau tabernacl neu deml ddaearol, yn ddychweliad penderfynol at Iddewiaeth a phaganiaeth.

Y mae oddeutu 200 o'r eglwysi defodol hyn yng Nghymru, gan gynnwys Sir Fynwy, y rhai sydd yn gwneuthur eu goreu i ddychwelyd ein cydwladwyr i'r hen dywyllwch caddugol o'r hwn y daethant allan. Ac y mae ganddynt dri pheth yn eu ffafr; 1. Cynnydd yr iaith Saesonaeg. Proffesa Esgob Llanelwy ei fod ef yn ofalus am gadw chware têg i'r Gymraeg, er na chaiff byth glywed ei swn yn Eglwys Gadeiriol Llanelwy—hen eglwys Dr. Morgan. Ond dywed fod y bobl ieuainc yn hoffach o'r Saesneg, ac y mae yn eithaf naturiol i'r esgob ddewis y gwynt sydd yn chwythu o'i du. Rhaid addef hefyd fod rhwysg a gogoniant arwynebol defodaeth yn gydweddol iawn â thueddfryd ysgafn yr ieuanc. 2. Yr Ysgolion Dyddiol. Addefa yr esgob fod yr hen ysgolion gwaddoledig—lle y cadwynwyd cannoedd o'n pobl

ieuainc mwyaf galluog yn yr amser a fu—wedi mynd, nid i ddychwelyd. Ond y mae rhan fawr o'r ysgolion dyddiol yn llaw yr eglwys eto, ac y mae yr esgob yn disgwyl, yn y man, y caiff ran o'r dreth at eu cynnal. Un o wendidau mawr siroedd Fflint a Dinbych, yn yr ystyr hon, ydyw fod yr ysgolion eglwysig wedi eu meddiannu mor llwyr. Erys hyn yn anfantais iddynt am oesoedd. Ond gwell hwyr na hwyrach. Cynyddu y mae yr ysgolion rhyddion: methiant gwaradwyddus, ymhob ystyr—crefyddol yn gystal a bydol—ydyw yr ysgolion eglwysig. Y mae yr ysgolion canolraddol yn profi hynny, gan mai ychydig iawn, mewn cydmariaeth, o blant yr ysgolion cenedlaethol sydd yn ennill gwobrau ynddynt hwy, pan y mae y gystadleuaeth yn agored a thêg. 3. Cysylltiad yr Eglwys a'r Wladwriaeth. Yr hyn sydd yn rhoddi y fantais fwyaf i'r eglwys i hau yr hadau gwenwynig yr ydym wedi cyfeirio atynt yng Nghymru ydyw y cyllid anferth sydd yn cael ei godi oddi ar yr holl wlad, i'w roddi yn nwylaw offeiriaid defodol a phabyddol, i fod at eu gwasanaeth i hudo ein cydwladwyr oddiwrth y symlrwydd sydd yng Nghrist. Hawdd y gallem, bid sicr, roddi hualau ar ryddid yr eglwys trwy ddeddfau seneddol. Ond byddai hynny mor aneffeithiol ag a fyddai o anghyfiawn. Pa mor wrthun ac ynfyd bynnag y dichon i ni edrych ar ddefodaeth ac ofergoeledd, yr ydym yn dal fod gan y neb sydd yn credu ynddynt berffaith hawl i'w syniadau, tra byddo yn eu cynnal i fyny ac yn eu lledaenu ar ei draul ei hun. Ond pan y mae yn gofyn i'r wladwriaeth wneuthur hynny, y mae yn torri dros ben y terfynau, ac yn peri yr anghyfiawnder mwyaf trwy orfodi y naill ran o'r wladwriaeth i ledaenu syniadau ofergoelus rhan arall. Ni fynnem ormesu dynion nad ydym yn cydweled â hwy trwy geisio eu hatal i wneud eu goreu dros eu syniadau. Ac ni chânt hwythau ein gormesu ninnau yn hir trwy i'r wladwriaeth ein gorfodi i ledaenu syniadau yr ydym o gydwybod yn ymwrthod â hwy. Y feddyginiaeth fawr ydyw Dadgysylltiad a Dadwaddoliad; ac y mae arwyddion yr amseroedd yn dywedyd yn eglur fod y rhai hyn wrth y drws. Y mae yr eglwys ei hun, fel y mae yn bywhau—a rhaid i bob dyn gonest addef fod awyddion cryfion o hynny—yn dyfod i deimlo yr hualau, ac i flino arnynt. Y mae y rhai sydd yn gwaeddi am ddiwygiadau ynddi yn llu. A'r defodwyr sydd yn gwaeddi mwyaf, ac yn fwyaf penderfynol o'u cael. Y mae yr Eglwys Babaidd yn fyw ryfeddol i'r ymweithiad rhyfedd sydd yn berwi ynddi ac yn bygwth ei dinystr. Disgwyliant yn ddiameu weled ymraniad ynddi, os na lefeinir yr holl sefydliad drwyddo gan y lefain Pabaidd. Yr un peth ydyw ceisio atal y defodwyr ag a fyddai troi y Ddyfrdwy yn ei hol. Y maent hwy yn gwybod eu neges, ac yn barod, os rhaid, i fyned i garchar ac angau er ei mwyn. Os celwydd y maent yn eu gredu y maent *yn credu* celwydd. Ac y mae hynny yn rhoddi nerth anorchfygol ynddynt. Gellir bod yn sicr na rydd y defodwyr i fyny. A fydd iddynt dorfynyglu yr Uchel-eglwyswyr, y Blaid Efengylaidd, a'r Eglwys Lydan? Bydd, medd dynion llygadog iawn. Y mae Isaac Taylor wedi rhagfynegu ers blynyddoedd na fyddai dim yn syn ganddo pe byddai i Brydain droi yn Babaidd eto. Protestant trwyadl ac Ymneillduwr oedd Isaac Taylor, yn disgyn o hen gyff Puritanaidd; ond yr oedd yn gweled yn

glir rym a nerth yr hen dueddiadau paganaidd a Rhufeinaidd yn dyfod i'r golwg. Ac nid yw y pleidiau a nodwyd ddim ond fel ûs o flaen gwynt i wrthsefyll y rhuthrgyrch defodol sydd yn ymosod mor benderfynol arnynt. Gallai y bydd iddynt edrych yn ddifrifol, ysgwyd eu pen, cwyno fod pethau yn myned o chwith, na wyddant ymha le y glaniant, na pha beth fydd y diwedd. Dyna'r cwbl. Ant adref i gysgu. A daw y defodwr bywiog, zelog, caredig, rhydd, llydan, agored, gan wneud ei hun yn gartrefol gyda phawb—Ymneillduwyr fel Eglwyswyr—nes ymlid ymaith bob ofn, a chyda'i wasanaeth paganaidd rhwysgfawr a chnawdol fe lynca'r cwbl iddo ei hun. Aiff pawb i huno'n hyfryd. Cysga'r genedl ar lin y Dalila hon. Cneifia hithau gudynau ei gwallt. Rhwymir hi fel cenedloedd Pabaidd ereill mewn amdo o'r celfau cain, a bydd ei beddrod wedi ei baratoi. A ydyw Ymneillduwyr Cymru—hiliogaeth yr hen Buritaniaid, a disgynyddion yr hen Dadau Anghydffurfiol a Methodistaidd—yn foddlawn i hyn? Os nad ydynt, y mae yn hen bryd iddynt ddeffro.

EVAN JONES.

*Caernarvon.*

---

## EIN COLEGAU AC AMAETHYDDIAETH.

ERBYN hyn ychydig o deuluoedd sydd trwy y wlad heb wybod rhywbeth am ein Colegau. Nifer o flynyddoedd yn ol siaredid am y Colaits fel rhyw sefydliad pell o dref, ac fel sefydliad yn cydberthyn i'r byd hwn a rhyw fyd arall. Wedi hynny clywid y bobl fwyaf diwylliedig yn siarad am y *College*, gan arfer yr enw Seisnig; ond erbyn hyn clywir y gweithiwr Cymreig, gydag ychydig o falchder a phwysigrwydd, yn dweyd y gair Coleg; ac nid ydyw yr enw wedi colli dim o'i urddas yn ei olwg wedi dyfod yn fwy hysbys iddo ac yn nes ato. Ambell waith yn wir clywir gwragedd gwladaidd a mamau mewn bwthynod yn arfer y geiriau "Col.," "Exam.,' "Yr Oxford," "Matric.," "Lab.," a'r "Prins," a'r "Pryffessors," &c., nes peri i Gymro canol oed braidd dybied ei fod yn breuddwydio, ac amheu mai yng Nghymru y mae.

Ryw ugain mlynedd yn ol buasai yn anawdd argyhoeddi yr amaethwyr Cymreig fod yn bosibl dysgu ffarmio mewn Coleg. Hyd yn oed ddeng mlynedd yn ol teimlai rhai o honynt ddiystyrwch mawr tuag at y bechgyn a anfonid dros y Coleg i'w dysgu hwy i drin tir ac anifeiliaid, a buasai yn orchest i bwyntil arlunydd bortreadu yn deg y dirmyg a welsom ar wyneb ambell i wraig pan y ceisiem ddarbwyllo lliaws o honynt fod yn bosibl gwella tipyn bach ar "fenyn" y wlad, a'n bod yn credu y gallem ni ddysgu rhai o honynt hwy i gorddi mewn llai o amser na dwy awr a hanner, ac i fod yn fwy glanwaith a threfnus a llwyddianus i wneud ymenyn peraidd ei flas a'i arogl, a marchnadol ei

liw a'i ansawdd. Ond erbyn hyn mae y rhai goreu o honynt hwythau yn credu fod yn bosibl dysgu gwneud ymenyn a chaws mewn Coleg!

Ond er y cyfnewidiad mawr hwn, yr ydym yn ofni nad ydyw corff ein cenedl yn amgyffred y gwaith distaw—fel rhagluniaeth—a wneir gan yr Athrofeydd; a chredwn yn gryf nad oes nifer digonol o'n hamaethwyr wedi deffro i werth y manteision ag sydd yn awr yng nghyrraedd eu bechgyn a'u genethod y rhai a fwriadant gartrefu ac ennill eu bywoliaeth ar y tir. Oherwydd ein cred hon yr ydym yn ysgrifennu, gan amcanu yn syml alw sylw at destyn yr ysgrif hon er mwyn amaethwyr. Cwyd aml ofyniad i'n meddwl wrth ddechreu—Pa waith a wneir gan y Colegau? Pa fanteision a estynant i'r amaethwr ieuanc? Beth ydyw mesur y dylanwad a'r daioni sydd eisoes wedi dyfod drwy y Colegau? Paham na bai y dylanwad yn ddyfnach ac yn eangach? A pha fodd y gellir gwella y gwaith a wneir a chynyddu dylanwad yr addysg amaethyddol a gyfrenir?

Cyn desgrifio y gwaith, feallai mai gwell fyddai cyfleu syniad am y swm a werir ar y gangen hon ym Mangor ac Aberystwyth, a gwneud yn hysbys o ba le y ceir yr arian a werir.

Yng Ngholeg Bangor—oddiwrth fantolen 1896-1897—gwelwn fod treuliau yr adran amaethyddol am y flwyddyn dros ddwy fil o bunnau (£2000). O'r swm hwn telir mewn cyflogau £1176; mewn gwobrwyon, &c., £122; am ddarlithiau yn y wlad, £56; tuag at arbrawfion, £54; gyda'r Llaethdai, £485.

Ceir £800 o'r arian uchod yn rhodd oddiwrth y Llywodraeth (h.y. o'r trethi yn y pen draw), ceir £200 o roddion gwirfoddol; a chan y Cynghorau Sirol: o Sir Fon £142, Arfon £300, Dinbych £300, Fflint £200, a Maldwyn £13. O'r trethi hefyd y daw y rhain. Felly cyfranna y wlad tua £1900, a dylai amaethwyr ystyried y rhaid iddynt hwy gyfrannu eu rhan o'r arian yma, ac os na fynnant i'w plant fanteisio arnynt y byddant yn eu cyfrannu tuag at ddysgu plant pobl ereill.

Nid ydyw yr arian uchod yn cynnwys cyfrif fferm Lledwigan, tuag at yr hon y ceir £200 arall gan y Llywodraeth bob blwyddyn.

Ym mantolen Coleg Aberystwyth am yr un flwyddyn gwelwn y treuliwyd £1574, o'r hwn swm y talwyd mewn cyflogau £915; i'r *Clerk* a *Demonstrators*, £324; mewn treuliau teithio £210; Ysgoloriaethau £20. Ceir yr arian hyn eto fel y canlyn: £800 gan y Llywodraeth; oddiwrth Gynghorau Sirol—tuag at ddarlithiau £167, Llaethdai £189 i'r dosparth blaenaf, a £285 i'r *Travelling Dairy*; at Arbrawfion £20. Teg ydyw dweyd fod rhan o'r cyflogau uchod o leiaf i'w osod ar gyfer canghenau ereill. Ysgrifenna un o'r Darlithwyr mai £810 a dreuliwyd yn Aberystwyth, ac erbyn tynnu o'r swm hwn £260 a geir mewn *fees*, mai tua £550 ydyw y costau ar amaethyddiaeth. Dichon y gellid tynnu i lawr dreuliau Bangor hefyd, ond fodd bynnag gwelwn y gwerir rhwng £3000 a £4000 yn y ddau le bob blwyddyn ar amaethyddiaeth. Dylai yr amaethwyr holi pa beth a geir yn y ffordd o addysg am y swm mawr hwn.

### YR HYN A DDYSGIR YN Y COLEG.

Disgwylir i efrydwyr amaethyddol aros yn y Coleg o leiaf ddwy flynedd; ond os arosant dair blynedd, gallant sefyll arholiad am B.Sc.

mewn amaethyddiaeth; ac, os bwriadant barotoi ar gyfer hwnnw, rhaid iddynt basio arholiad Matriculation mewn Lladin, Saesonaeg, Rhifyddiaeth, a dwy gangen ereill o ddewisiad yr efrydydd. Yn awr, gan mai nôd uchaf y Coleg mewn amaethyddiaeth ydyw y B.Sc., carai yr awdurdodau weled cynifer ag y fyddai yn bosibl o'r efrydwyr yn ymgyrraedd at y nôd hwn; ac, o ganlyniad, trefnir y cwrs efrydol i'r holl ddosparthiadau mor bell ag y gellir ar linellau yn cyrchu at y nôd. Oherwydd hyn teimlwn y ceisir dysgu gormod o ganghenau i'r rhai na fwriadant dreulio tair blynedd yn y Coleg. Ac un diffyg a gwyd o liosogrwydd canghenau ydyw na roddir digon o le i amaethyddiaeth ei hunan, nac i'r canghenau cynseiliol iddi, sef daeareg, llysieuaeth a fferylliaeth, yn enwedig y ddwy gyntaf. Amcana y Colegau yn ormodol at ddysgu rhai i fod yn athrawon, yn oruchwylwyr tirol, yn dir-fesurwyr, ac nid yn amaethwyr ymarferol. Dyma ddywedai un mab i ffermwr, yr hwn a aeth i'r Coleg, ac a'i gadawodd yn fuan: "Aethum i'r Coleg i Fangor i ddysgu amaethyddiaeth, ond ychydig iawn o hwnnw oedd i'w gael yno, ac yr oedd yr ychydig hynny yn dlawd dros ben." Nid ydym ar un cyfrif yn ystyried y gŵr ieuanc hwnnw yn un goleuedig, ac nid ydym mor gul ag ef yn ein syniadau am gylch addysg amaethyddol, ond ar yr un pryd teimlwn y gosodai ei fys ar un peth a lesteiria ddylanwad y Colegau ynglŷn âg amaethyddiaeth. Amcan adran amaethyddol ydyw gwneud corff yr efrydwyr yn amaethwyr goleuedig ac ymarferol, a dylid cadw hynny mewn golwg yn arbennig yn y cyfnod presennol. Er mor bwysig yr ystyriwn Fferylliaeth, ac er y credwn y dylai gael ei dysgu yn dda yn yr ysgolion canolraddol, eto teimlwn nas gellir ei dysgu i ffermwyr ieuainc yn y Coleg, ynghyda lliaws o ganghenau ereill, i fod o nemawr, os dim, budd iddynt. Amcenir at ormod. Cymerer y cwrs byr i feibion amaethwyr yn y ddau Goleg. Disgwylir dynion ieuainc o 18 i 25 oed wedi bod yn gweithio flynyddoedd ar y fferm i'r dosbarth hwn, a hynny am ddim ond saith wythnos yn y gauaf; a dyma restr pynciau eu hefrydiaeth :—Agriculture, Chemistry, Natural Philosophy, Animal Physiology, Economics of Agriculture, Welsh; ac os deuant yno ddiwedd y flwyddyn am 11 wythnos i'r Advanced Class ychwanegir Agricultural Chemistry, Veterinary Medicine and Surgery, Physics, Botany, Geology, Land Surveying, Book-keeping! Clod i galon y dynion glewion a luniodd y fath restr ar gyfer 18 wythnos, ond llwyr anghofiasant "That a little knowledge is a dangerous thing." Er nad ydyw rhestr Bangor mor faith, eto gadewir allan ddaeareg, yr hon fuasai o fwy o werth i ffermwr na 3 neu 4 o'r pethau ereill a dybir eu bod yn eu dysgu yn y Short Course. Cofier (os yw o bwys) mai haeru yr ydym fod yr hyn yr amcenir ato yn y Colegau yn ormod *ar hyn o bryd.* Llawenydd i'n calon ydyw gallu hyderu y gwelir ni ymhen ychydig flynyddoedd wedi dringo cymaint trwy yr ysgolion canolraddol fel na bydd y rhestr uchod yn rhyw lawer rhy uchelgeisiol.

### Y FFERM A'R ARDD.

Cytuna pawb fod arbrawfion yn angenrheidiol, ac y dylai fod rhyw gymaint o dir ynglŷn â'r Colegau i wneuthur arbrawfion arno. Mae Coleg Aberystwyth wedi dechreu gyda gardd heb fod ymhell o'r Coleg,

ac y mae Bangor wedi cymeryd fferm o 358 o erwau, 12 milldir o'r Coleg, am rent o £485. Un fantais o fferm ydyw y gellir cadw anifeiliaid arni, tra nas gellir cadw dim ond gwenyn yn yr ardd. Ar wahân i hyn credwn y gellir dysgu cymaint ar yr efrydwyr gyda'r ardd a chyda'r fferm, tra y mae anfanteision fferm yn llawer mwy. Credwn fod Coleg Bangor yn talu gormod o ardreth am Ledwigan. Mae hi hefyd yn rhy fawr o lawer, ac yn rhy bell o'r Coleg. Heblaw hyn, credwn fod yn dra anhawdd iddynt gael dyn all ddwyn ymlaen y fferm yn y ffordd oreu, ac hefyd fod yn effeithiol fel darlithydd ac athraw. Pe cymerent ychydig erwau o'r fferm at arbrawfion, ac i fod dan ofal y *Professor*, gallent gael gŵr ymarferol a phrofiadol i fod yn gyfrifol am y fferm. Ond pa ddiben cael fferm mor fawr, a gwneud hynny? Buasai ychydig erwau yn agos i'r Coleg yn llawer gwell. Ofni yr ydym fod cymeryd Lledwigan wedi gwneud niwed i'r Coleg ym Môn ac Arfon. Tybia llawer ffermwr mai yn Ninbych y dylai yr awdurdodau fod, mai yn Lloegr y dylai y *Manager* fod, ac mai ceisio deall pethau yn well ar eu ffermydd eu hunain a ddylai hanner y Pwyllgor. Ond cofied amaethwyr Môn ac Arfon y ceir drwy y fferm hon £200 yn y flwyddyn o'r Llywodraeth, a rhoddion gan gyfoethogion. Treulir y rhain er budd amaethwyr ieuainc Gogledd Cymru, a pha un bynnag ai llwyddiant ai methiant fydd Lledwigan, bydd yno bethau i'w dysgu a fyddant o fantais i'r efrydwyr, pe na byddai yno ond yn unig gadw cyfrifon y fferm. Deallwn fod llawer eisoes wedi ei ysgrifenu i'r newyddiaduron ar Ledwigan fel *speculation* o eiddo awdurdodau y Coleg, ond ni chawsom y fantais—os mantais hefyd—o weled ond un llythyr yn unig, ac nid ydym yn teimlo awydd i ymhelaethu yma ar y mater. Os llwydda, bydd yn goron i'r Coleg ac i Mr. Winter; os aflwydda, bydd yn wers i'r awdurdodau, yn foddhâd, feallai, i amaethwyr Cymreig, ac yn beth niwed i adrau amaethyddol y Coleg am amser byr. Os aflwydda, hyderwn y caiff y wlad weled y cyfrifon, fel y gallant hefyd ddeall y gwir achos o'r aflwyddiant. Os ceir hynny, daw mantais i amaethwyr, ac addysg angenrheidiol i dirfeddianwyr, a goruchwylwyr o'r anturiaeth.

DARLITHIAU YN Y WLAD, &C.

Erbyn hyn mae llawer o'r rhai hyn wedi eu traddodi. O'r flwyddyn 1891 hyd 1898 traddodwyd dros 700 gan Goleg Aberystwyth, ac yr oedd nifer y rhai fuant yn bresennol yn yr oll dros 53,000 Nifer disgyblion y *dairy* ydyw 1986, a rhoddwyd *certificates* i 1775. Yn ystod y flwyddyn ddiweddaf, 63 o ddarlithiau draddodwyd i dros 5000 o wrandawyr, tra y traddodwyd dan Goleg Bangor 120 o ddarlithiau i 4822 o wrandawyr, a rhoddwyd addysg ar drin llaeth mewn 18 o fannau i dros 200 o ddisgyblion yng ngwydd dros 2500 o edrychwyr. Gwelir felly fod yn y rhan hon o'r gwaith lafur mawr wedi bod, er y rhaid i ni gofio fod llawer a ddeuent i'r darlithiau yn blant, ac ereill heb fod yn amaethwyr wrth eu galwedigaeth. Diameu gennym fod yr *Extension Lectures* wedi ateb diben da iawn trwy ddeffro cywreinrwydd; ond rhaid addef mai gwaith arwynebol iawn a wnant; ac nid oedd o un diben ymgyrraedd at ddim yn y darlithiau tu hwnt i egwyddorion cyffredinol; mor gynted ag yr elid i fanylion a ffigyrau,

byddai nifer y gwrandawyr yn lleihau. Ni chynelid arholiad ychwaith i brofi ffrwyth y darlithiau, a pharai hyn i'r gwrandawyr fod yn fwy difater.

Gwaria Coleg Bangor hefyd lawer ar arbrawfion mewn gwahanol rannau o'r wlad, ond ychydig a wna Aberystwyth yn y ffordd hon; dim ond £4 a wariwyd y flwyddyn ddiweddaf ar gyfer £54 ym Mangor. Credwn mai gwell fuasai llai o arbrawfion nag a wna Bangor, a dwyn y rhai hynny ymlaen ar ddosparthiadau clir o weryd, mewn un lle ar glai, mewn lleoedd ereill ar dywodtir, mawndir, &c Ond gall unrhyw amaethwr a ddarllenno adroddiadau Bangor ganfod rhai pethau yn dra eglur, megis gwerth *Basic Slag* i'r ffermwr, ac mor ddrud, ac weithiau diwerth, ydyw calch i dir. Oddiwrth adroddiad gwir ragorol Mr. Murray yn Aberystwyth, o 1896 ymlaen, ceir mantais i farnu, nid yn unig pa gyfuniad o wahanol wrteithiau ydynt oreu i dir glas, ond hefyd ymha gyfartaledd y maent yn gweithio oreu. Er, gan hynny, y gwerir arian lawer yn y ddau Goleg ar Amaethyddiaeth, eto gwelir fod llawer o waith wedi ac yn cael ei wneud. Dygwyd addysg amaethyddol mewn gwisg boblogaidd at ddrysau yr amaethwyr, a dangoswyd iddynt ddrysau y Coleg, a chawsant gipdrem ar yr addysg uwch a gyfrennir yno.

### Y DYLANWAD A'R DAIONI SYDD EISOES WEDI DOD.

Un ffordd i farnu dylanwad y Colegau ar amaethwyr ydyw edrych ar nifer yr efrydwyr yn y dosbarthiadau yn y Colegau. Mae yn awr ym Mangor, yn myned trwy gwrs y Coleg, 18, ac y mae 24 o wŷr ieuainc yn cymeryd y *short course.* Dylid cofio fod y 18 uchod yn cymeryd i fewn dair blynedd, a chredwn fod rhai o honynt wedi gadael y cwrs amaethyddol. Nifer bychan iawn, ynte, a geir yn gwneud defnydd o fanteision y Coleg. Nis gwyddom pa nifer o honynt sydd yn cael ysgoloriaethau o £20, neu isod, ond barnwn fod amryw, os nad y mwyafrif. O'r 24 sydd yn y *short course*, mae 21 yn cael ysgoloriaeth o £14, neu isod.

Yn Aberystwyth ceir 7 yn treulio dwy flynedd, tra mai 6 oedd y llynedd, a 4 y flwyddyn cynt. Mae 3 eleni yn cymeryd cwrs y B.Sc., tra mai 2 oedd y llynedd a'r flwyddyn cynt. Y llynedd yr oedd 39 i mewn am y *short course*, a 5 am yr *advanced.* Eleni mae 6 am yr *advanced*, a dysgwylir 40 i 50 am y *short.* Gellir dweyd am y rhain eto eu bod yn derbyn ysgoloriaethau, y rhan fwyaf o honynt. Mae yn eglur iawn na fuasai yr efrydwyr ond nifer truenus o fychan rhwng y ddau Goleg, oni bae fod yr ysgoloriaethau yn eu denu a'u cynnal Os ychydig o *aberth* a wna amaethwyr i gael addysg i'w meibion a'u merched, rhaid i ni gredu nad ydyw dylanwad y Colegau eto ond bychan ar y wlad. Gellir hefyd weled yr un peth ynglŷn â'r *dairy.* Ychydig iawn änt ymlaen am y *certificate* uchaf; ac am y lleill caiff braidd yr oll gymhorth ysgoloriaethau. Er hynny mae cynnydd graddol yn yr holl ddosbarthiadau yn y ddau Goleg. Os trown at y Darlithiau yn y wlad, rhaid i ni ddibynnu ar ein barn i raddau pell. Nid ydyw rhif y gwrandawyr yn safon i farnu. Pe yr aem i fasnachdai Môn ac Arfon ac Aberteifi i brynu ymenyn, byddai yn anhawdd gennym gredu fod y *dairy* wedi bod gyda hwynt, gan amled y

ceid ymenyn o ansawdd anymunol. Barnwn mai ychydig ydyw dylanwad y *dairy* ar fwyafrif gwneuthurwyr ymenyn. Ond os holwn werthwyr hadau (*seedsmen*) a gwrtaith-werthwyr, cawn fod yr amaethwyr yn awr yn prynnu yr hadau goreu, a mwy o amrywiaeth, ar gyfer tir gwair a phorfa, a chawn hefyd eu bod yn fwy gwybodus a gofalus yng nghylch y gwrteithiau brynnant. Prynnir hefyd fwy o nwyddau at besgi anifeiliaid a gwella y tir yn y fargen. Nid ydym yn petruso priodoli y pethau hyn i'r darlithiau ar amaethyddiaeth, a chredwn mai yn y cyfeiriad hwn y gwnaeth addysg amaethyddol y 10 mlynedd hyn fwyaf o lawer o lês. Y rheswm dros y llwyddiant hwn ydyw fod y ffermwr yn cael y fantais ei hunan o ddefnyddio hadau da a gwrtaith celfyddydol priodol, a hefyd o *feeding stuffs; mae iddo hefyd amddiffyn cyfraith ynglŷn â hwynt.* Y rheswm na cheir cyfnewidiad mwy er gwell mewn ymenyn ydyw y telir yr un swm am bwys o fenyn drwg ag am un da, ac nad oes gennym swyddog na safon i'w ddosparthu a phennu ei bris.

PAHAM NA BYDDAI DYLANWAD Y COLEGAU YN GRYFACH?

Llawer o resymau sydd dros hyn; a phan gymerir hwy i ystyriaeth, feallai y rhyfeddwn fod y dylanwad yr hyn ydyw. Nid ydyw yr amaethwyr yn ddosbarth darllengar, ac oherwydd hyn mae eu hanwybodaeth yn ddwfn, a'u rhagfarn yn gref. Pan y pregethir neu y darlithir iddynt, cymeradwyant yr hyn a wyddant eisoes, a chredwn y byddai darlith yn mynegu iddynt yr hyn a wyddent eisoes yn fwy derbyniol gan y mwyafrif o honynt na darlith yn mynegu yr hyn ni wyddent; ac am hynny yr oeddynt yn bur hwyrfrydig i gredu newyddbethau y darlithwyr. Heblaw hyn, nid oedd tuedd yn y ffordd y cychwynodd Coleg Bangor y gwaith i ennill y ffermwyr. Gŵyr pawb mai Seisnig ac Eglwysig ydyw awdurdodau y Coleg; a dechreuwyd gweithio trwy y tirfeddianwyr, eu goruchwylwyr, a'r personiaid. Edrychai y ffermwyr gyda drwgdybiaeth ar hyn, a chadwent draw. Pan mewn darlith ni ddywedent ac ni ofynent ddim, er cael cyfleusdra, a chredent mai amcan y *landlords* a'r *agents* yn cefnogi y symudiad ydoedd cael uwch rhenti yn y dyfodol; a syrthiai ambell air oddiwrthynt hwythau a roddai sail i hyn. Clywsom *landlord* ym Môn a alwesid yn gadeirydd cyfarfod yn dweyd ei fod yn gobeithio y byddai yr addysg newydd yn foddion i wellhau amgylchiadau y ffermwr *ac i chwyddo ardrethion y perchenog*. Dyna y cyfarfod diweddaf a gaed yn yr ardal honno am rai blynyddoedd. Pe buasai y tirfeddianwyr a'u goruchwylwyr wedi boddloni ar gyfrannu yn haelionus, fel y gwnaeth rhai o honynt, a chadw o'r darlithiau, cawsid gwell gafael o lawer ar yr amaethwyr ar y cychwyn.

Anhawdd iawn hefyd ydoedd cael dynion ar y cyntaf i ddarlithio i bwrpas. Yr oedd, yn ol tyb awdurdodau y Coleg, yn amhosibl cael Cymro cymhwys at y gwaith, er y mentrodd Aberystwyth gyflogi un. Gwyddom yr anogodd *Registrar* Coleg Bangor un Cymro i beidio cynnyg am y swydd, am y credai nad oedd unrhyw obaith iddo ei chael. Y rheswm am hyn oedd y tybient na feddai un Cymro ddigon o wybodaeth o Wyddoniaeth i lanw y swydd. Ond os oedd yn anhawdd

cael Cymro yn gwybod digon o Wyddoniaeth, ymddengys fod yr un mor anhawdd cael Sais neu Ysgotiad yn meddu digon o brofiad o amaethyddiaeth ymarferol, heblaw fod anwybodaeth o'r iaith Gymraeg yn anfantais iddynt mewn mwy nag un ystyr. Ar sail *certificates* o'r Colegau, a thystlythyrau nas gwyddid bob amser oddiwrth bwy, dewiswyd estroniaid i'r gwaith, a bu eu hanwybodaeth hwy o bethau ymarferol yn achos o ddiffyg ymddiriedaeth y ffermwyr ynddynt. Os dengys darlithydd nas gŵyr o fewn £40 werth ceffyl gwedd; nas gŵyr wrth edrych ar faes o wreiddgnydau, o fewn 20 tunell yr erw, bwysau y cnwd; os na ŵyr wrth deimlo bustach wedi ei barotoi yn rhagorol ar gyfer marchnad y Nadolig pa un ai eidion tew ai storyn ydyw, rhaid maddeu i'r amaethwr profiadol am deimlo tipyn o ddiffyg ffydd ynddo. Ceid y darlithydd yn brin yn yr unig fan y gallai y ffermwr ei farnu. Dioddefodd yr adran amaethyddol ar y cychwyn, a chollodd fantais i ddylanwadu yn gryf, yn hollol megys y dioddefodd Coleg Bangor fel sefydliad, trwy gael Sais yn Brifathraw, heb fedru ein hiaith, ac heb wybodaeth ymarferol o nodweddion ac anghenion ein cenedl. Naturiol ydyw i'r Ysgotiaid a'r Saeson wneud a allant i gael rhai o'u cenedl eu hunain yn athrawon i'r Colegau, ond ni fuasent yn llwyddo mor bell i gael hyn oni bae fod ambell Gymro ar y *staff*, ac ar y Cyngor, yn eu cynorthwyo. Ychydig o flynyddoedd yn ol, pan y cynygiai Cymro adnabyddus, ac ysgolhaig gwych, am gadair ym Mangor, dywedai Cymro oedd yno eisoes, Ni chaiff ddod yma, os gallaf fi ei rwystro. Erbyn hyn mae yr ymgeisydd yn Athraw Cadeiriol mewn Coleg arall, ac yn llawer mwy llwyddiannus i gael ei ddisgyblion yn anrhydeddus trwy yr arholiadau nag y mae athrawon Bangor. Byddai yn burion i amryw o athrawon y Colegau a'r Ysgolion Canolraddol wybod a chydnabod eu bod hwy yn ddyledus am eu safleoedd a'u cyflogau, nid i'w doethineb eu hunain yn gymaint ag i frwdfrydedd cenedl ymhlaid addysg, a phenderfyniad i gael addysg trwy lïaws o anfanteision a llawer o sarhâd. Dymunwn hefyd i'r amaethwyr gredu y gallant hwy ddysgu llawer a fydd o werth iddynt oddiwrth athrawon dibrofiad ac anymarferol—(rhai a dalant £1 y pen i *cattle dealer* am brynnu dwsin o wartheg iddynt yn hytrach na thybied fod ganddynt farn eu hunain)—os byddant yn deall gwyddoniaeth yn dda.

Barnwn eto fod rheswm yn amgylchiadau yr amaethwyr dros brinder dylanwad y Colegau, neu brinder y ffrwyth. Mae cyflogau yn uchel, ac anhawdd ydyw hebgor y meibion hyd yn oed am y *short course.* Pan gofir hefyd fod yr amaethwyr wedi bod trwy amgylchiadau cyfyng iawn y blynyddoedd diweddaf, hawdd deall nid yn unig fod dwylaw y fferm yn brinion ond yr arian hefyd.

Y rheswm diweddaf a nodwn ydyw ansicrwydd daliadaeth tir, yr hyn a luddia ffermwyr i wneud gwelliantau parhaol ar eu tir, megys traenio, a cheisio peiriannau ac adeiladau. Mae yr ardrethion yn uchel ac yn agored i gael eu codi unrhyw bryd; a hynny nid yn ol barn dynion cymhwys, ond yn ol awydd un dyn a benodir gan y tir berchenog i gael ychwaneg o arian i'r hwn a'i cyfloga. Mae yr hyn sydd ar gael ei wneud, os nad wedi, ac yn cael ei wneud, yn Sir Gaernarfon, mewn prisio tir yn ddigon i barlysu ymdrechion amaethwyr. Oni bae eu bod yn ddosbarth goddefgar ac ofnus, a bod eu cartrefi yn dibynnu ar fympwy eu perchen-

ogion, buasent cyn hyn wedi cyfarfod i ymgynghori er amddiffyn eu hunain. Mewn cyfarfod dan nawdd y Coleg flynyddoedd yn ol, yn Sir Drefaldwyn, yn yr hwn yr oedd *landlords*, *agents* ac amaethwyr, wedi i ni egluro arbrawfion, a chanmol gwrteithiau celfyddydol, cododd un gŵr ar ei draed, a llefarodd fel y canlyn :—" Yr ydym ni, y ffermwyr, yn bur ddiolchgar i chwi am ddod yma i'n dysgu ni, er ein bod yn gwybod eisoes lawer o'r hyn a ddywedsoch. Ond buasem yn llawer mwy diolchgar i chwi pe gallech ein dysgu mewn cyfeiriad arall. Gweriais i ar fy fferm gannoedd o bunnau, ac yna codwyd fy rhent, a bu raid i mi dalu llôg ar fy arian fy hun, a chyflog i arall am fy llafur fy hun ; a phe medrech chwi ddysgu i ni pa fodd i osgoi y trais a'r anghyfiawnder hwn, fe fyddai o ryw werth i ni astudio amaethyddiaeth. Os na allwch wneud hyn, waeth i ni fynd ymlaen yn ein hanwybodaeth yn y drefn dlawd bresennol." Sicr gennym na welir amaethyddiaeth rhwng y Colegau a'r ffermwyr yr hyn a ddylai fod hyd nes y ceir sicrwydd iddynt am eu cartrefi, am swm eu rhent, ac am dâl am eu gwelliantau. Wedi ysgrifennu hyd yma daeth i mi wybodaeth am lyfr Mr. Bryner Jones, ar Wrteithiau. Mae ef yn ddarlithydd ym Mangor, yn Gymro, wedi myned trwy yr arholiadau pwysicaf mewn amaethyddiaeth, ac wedi cael profiad mewn ffermydd yng Nghymru. Ysgrifennodd lyfr Cymraeg—o'r hwn yr argraffwyd 750 ers deng mis yn ol. Mae y llyfr wedi ei ysgrifennu mewn iaith dda, wedi ei drefnu yn rhagorol, ac yn cynnwys mewn ffurf ddymunol *y wybodaeth* a ddylai ffermwyr ieuainc Cymru ei cheisio am wrteithiau. Nid oes ond 450 wedi eu gwerthu. Yr oedd 1473 yn bresennol yn y darlithiau (*extension lectures*) y flwyddyn ddiweddaf, o dan Goleg Bangor, a nifer mawr dan Aberystwyth, ond mor lleied y nifer a werthwyd o'r llyfr. Dichon nad ydyw wedi ei *advertisio* yn briodol. Nid gŵr i ganu clod ei lyfr ei hun ydyw Mr. Jones. Dodwn y ffaith uchod yma fel prawf mai arwynebol ydyw dylanwad y darlithiau, ac fel eglurhâd paham nad anturia ereill i ddwyn allan law-lyfrau ar amaethyddiaeth yng Nghymraeg.

## PA FODD I EANGU DYLANWAD Y COLEGAU MEWN AMAETHYDDIAETH ?

Y peth cyntaf, yn naturiol, ydyw sicrhau athrawon ag y gellir disgwyl iddynt ennill ymddiriedaeth yr amaethwyr. Yn nesaf, dylai y Cynghorau Sirol ddewis y dynion goreu feddant ar bwyllgorau amaethyddol y Coleg. Dywedir i ni fod pwyllgorau rhagorol yn Ninbych a Fflint, yn cynnwys dynion a wyddant beth sydd yn eisieu, ac a fynnant ei gael, ond nad ydyw aelodau pwyllgor Sir Gaernarfon yn werth dim, na Môn nemawr gwell. Deuant i'r Pwyllgor heb feddwl na darparu dim, a derbyniant gynllun y *Professor* yn dawel a difater. Dylai y Cynghorau Sirol weled eu bod yn cael gwerth yr arian a gyfrannant at y Coleg er mwyn amaethyddiaeth. Credwn hefyd y rhaid cael addysg amaethyddol yn y Colegau yn rhâd cyn y ceir nifer mawr o efrydwyr. Heblaw y pethau hyn, cyflwynwn i sylw yr hyn a ganlyn : 1. Dylid ffurfio cymdeithas amaethyddol o efrydwyr, fel y gwneir yn Aberystwyth. Mae hon wedi cychwyn yn rhagorol. Dau swllt yw y tâl am aelodaeth. Cyfarfyddant yn Aberystwyth un-

waith yn y flwyddyn, ac os ceir mwy na 10 o aelodau mewn un Sir gallant ffurfio canghen-gymdeithas. Carem weled un yn cychwyn ym Mangor. 2. Dylid cael cyhoeddiad amaethyddol, misol neu ddau-fisol, rhwng y ddau Goleg â'r wlad. Byddai yn fuddiol i gyhoeddi ffrwyth ar brawfion, i alw sylw at bethau newyddion, ae i gyhoeddi hanes y fferm a'r ardd a'u cyfrifon. 3. Yr ydym yn amheus iawn o ddoethineb y cyfeiriad a gymerir yn y ddau goleg. Mae yn amlwg mai yr amcan ydyw *centralizio* yr addysg amaethyddol yn y colegau, ac ar y fferm a'r ardd. Dywed Mr. Tom Parry yn ei adroddiad, "We are face to face with a most important new departure in our Agricultural work. The Travelling Dairy Schools on the old lines have been practically abolished. While the funds formerly devoted to them are now allocated to training at the advanced Dairy School of the College. There has been similar development as regards the college courses for farmers' sons," &c. Os cerrir hyn allan, bydd raid cael gair yn lle *development*, ystyr yr hwn ydyw dadblygu a thyfu. Os crynhoir addysg amaethyddol i'r colegau, aiff i gylch bychan iawn. Credwn y dylid sefydlu gorsafoedd yn y Siroedd ynglŷn âg ambell ysgol ganolraddol, lle y ceid gardd neu faes arbrawfion, a dosbarthiadau hwyrol i amaethwyr, a lle ceid mantais y *chemical* a'r *physical laboratory*. Credwn ymhellach y gallai y cynghorau sirol dalu traul yr efrydwyr i'r lleoedd hyn. Tuedda cyngor sirol Arfon y dyddiau hyn i droi eu rhodd amaethyddol at ddaeareg. Oni allent gyfuno y ddau, a chael *centres* ym Mangor neu Fethesda, Penygroes, a Phwllheli neu Fottwnog? Gyda'r cynllun hwn gellid cael nifer mawr o ffermwyr ieuainc yn y Sir i ddod i'r dosbarthiadau, a gellid eu dwyn ym mlaen ar draul heb fod yn fawr. Eangu a dyfnhau y dylanwad a ddylid. Hyd yma ëang, nid dwfn, ydyw wedi bod. Os cyfyngwn yr addysg i'r Colegau, gall fod yn ddwfn ond ni bydd yn ëang.

Wele ni yn terfynu hyn o ysgrif gan obeithio na bydd yn gwbl ddifudd, ac os oes ychydig o halen a chyngor i wŷr urddasol ynddi, hyderwn fod yr halen yn lân, ac nad yw y cyngor yn annoeth.

*Criccieth.* JOHN OWEN.

---

## THOMAS GEE.

YN ei feusydd priodol ei hun, am yr hanner olaf o'r ganrif hon, nid oedd neb yn meddu dylanwad eangach ar genedl y Cymry na Mr. Gee. Yr oedd ei alluoedd disglaer yn gymhesur, amrywiol, a lliosog. Trwy ynni diorffwys, ymroddiad difesur, dyfalbarhad, ac ymgyfaddasiad gofalus at wahanol amgylchiadau, trethodd y rhai hynny i'w terfynau eithaf. Cadwodd yn ei olwg, drwy ei holl oes faith, ogoniant ei Arglwydd a lles ei wlad. A bu farw mewn henaint têg, heb dywyllu o'i lygaid na chilio o'i ireidd-dra, yng nghanol ei waith, ac ymhlith ei deulu, yn llawn o barch ac anrhydedd.

"Dengys rhinwedd," meddai Arglwydd Bacon, "yn well mewn corff prydweddol." Os felly, cafodd Mr. Gee gynysgaeth fawr. Anfynych y gwelid dyn mor hardd. O faintioli cymedrol, yr oedd ei holl aelodau yn gymesur â phrydferth. Yr oedd yn "frenin ar ei fwrdd, ac yn baên ar yr heol." Meddai wynebpryd llawn nerth a dealltwriaeth. Yr oedd ei ysgogiadau yn urddasol a phendefigaidd. A phan lefarai, yr oedd tynerwch tannau arian yn ei lais, a thinc beraidd, glochog, yn ei acenniad, fel ag i sicrhau pob clust mewn gwrandawiad astud iddo. Medrai ymdroi gyda'r bonheddig heb ymddyrchafu, a chymdeithasu â'r gwreng heb ymddarostwng. Rhoddai ei bresenoldeb urddas ar bob cylch.

Yn ychwanegol at y pethau hyn, cafodd iechyd da. Yr oedd yn ystwyth fel y faneg. Hyd ddiwedd ei oes yr oedd ei gnawd fel cnawd bachgen. Gyda'i holl ofalon, medrai fwynhau ei hun, pan fyddai yr adeg i hynny, fel plentyn. Yr oedd yn nodedig am ei hoewder a'i sirioldeb. A phan ymdaflai i unrhyw waith neu wasanaeth, gwnai hynny â'i holl galon. Os dros unrhyw beth, byddai drosto â'i holl enaid; ac, os yn ei erbyn, yn ei erbyn. Oherwydd hynny tybiai rhai ei fod weithiau ar y trymaf am ei ffordd ei hun. Felly yr ymddangosai, yn ddiameu, i rai claiar a di-symud. Ond iddo ef ei hun, wrth deimlo angerddolder ei ysbryd yn y peth, diau yr ymddangosai yn gymedrol, goddefgar, a gostyngedig. Yr oedd yn un anhawdd ei wrthwynebu. Cafodd llawer o ddynion a phethau wybod hynny. Ac, ar y cyfan—nid heb eithriadau amlwg a phwysig, feallai—y mae y byd, a chenedl y Cymry yn arbennig, yn anhraethol well oherwydd hynny.

Fel tyfiant ei gorff, yr oedd ei ymddadblygiad i ddylanwad a chyhoeddusrwydd yn naturiol, cyson a pharhaus. Daeth ei dad, Mr. Thomas Gee, yr hynaf, gyda'r Parchedig Thomas Jones, o Ruthin, i Ddinbych, i gadw swyddfa argraffu, yn Ebrill, 1809. Sais oedd Mr. Gee, ond priododd Gymraes o'r enw Mary Ffoulkes, merch y Llawog, yn agos i Lanrhaiadr, Dyffryn Clwyd. Yr oedd ei mam hi yn chwaer i'r enwog Dr. Edward Williams, Rotherham, gŵr tra adnabyddus yn ei ddiwrnod, ac un adawodd ei ôl ar feddwl ei oes. Bu iddynt bump o blant, sef Mr. Thomas Gee; Mrs. Parry, gwraig Dr. John Parry, Bala, yr athraw anwyl a phoblogaidd, a golygydd y *Gwyddoniadur*; Dr. Robert Gee, Abercromby Square, Liverpool; Mr. E. W. Gee; a Mrs. Powell, priod y gweinidog a'r ysgolfeistr llafurus, Mr. Powell, Holt. Mr. Thomas Gee oedd yr hynaf. Ganwyd ef Ionawr 24, 1815—blwyddyn fythgofiadwy brwydr Waterloo. Gwraig o'r enw Mrs. Williams, yn byw yn y Castle Hill, gafodd y fraint o roddi yr addysg gyntaf a phwysicaf iddo. Yna aeth at ŵr o'r enw Simon. Ar ol hynny, pan yn un ar ddeg oed, aeth i Wrecsam, dan feistr o'r enw Jackson. Bu yno ddwy flynedd a hanner; ond cyn ei fod yn bedair ar ddeg oed, daliwyd yr ebol chwareus, rhoddwyd y tresi am dano, a dechreuodd ar waith ei oes. Ar ol hynny, dros dro hir, byddai bob prydnawn yn myned i Ysgol Ramadegol y Parch. John Roberts; ond argraffydd ydoedd yn awr, ac argraffydd oedd i fod.

Gyda hyn y mae yn dyfod dan y dylanwadau, ac yntau yn dechreu ymddadblygu. Y peth cyntaf a grybwyllir am dano—a'r hyn sydd mor nodweddiadol o hono fel dyn—ydyw ei lwyrymwrthodiad â diod-

ydd meddwol. Yn 1830, pan yn bymtheg oed, gofynwyd iddo ardystio i beidio yfed gwirodydd. Dyma y symudiad cyntaf at lwyrymwthodiad. Cai yfed cwrw, ond dim gwirod. Ond nid oedd hynny yn ddigon ganddo ef. Gydag anibynniaeth awgrymiadol, cyfansoddodd ardystiad o'r eiddo ei hun yn ymrwymo i ymwrthod â phob math o ddiodydd meddwol. Rhoddodd ei enw wrtho, a chadwodd ardystiad y llanc yn gysegredig trwy ei holl oes. Bu yn ysgrifennydd difarf yr Arddangosiad Dirwestol mawr a gynaliwyd yn Ninbych—y cyntaf o'r fath a gynaliwyd yn yr holl wlad; ac un o'r pethau diweddaf a wnaeth, yr wythnos—yn wir y dyddiau—olaf cyn i'w enaid ehedeg i'r byd mawr, oedd cymeryd y rhan fwyaf blaenllaw yng Nghymanfa Ddirwestol Gwynedd, yr hon a gynelid yn Ninbych, a chael ei benodi yn Gadeirydd y Gymanfa am y flwyddyn ddyfodol. Synnai pawb at ei zel yn y cyfarfodydd. Cymerai y dyddordeb mwyaf yn yr holl symudiad, a disgwylid y ceid y cymhorth effeithiolaf oddiwrtho yn ystod blwyddyn ei lywyddiaeth. Ychydig a feddyliai neb ei fod ar y pryd yn dychwelyd gyda'r fath wresogrwydd at ei gariad cyntaf am y tro olaf am byth, ac yn dibennu ei oes yn hollol yn yr un cywair ag yr oedd wedi ei dechreu.

Yn 1836 aeth i Lundain—i weled y byd ac i ymberffeithio yn ei alwedigaeth. Yr oedd y tân sanctaidd eisoes wedi dechreu llosgi yn ei esgyrn, ond ychydig, o bosibl, oedd y gefnogaeth a gai ymhlith ei gynefin i ddadblygu ei dalentau cyhoeddus. Yn Llundain yr oedd yn wahanol. Yr ieuanc yno sydd wedi arfer llywodraethu, am mai dieithriaid a dyfodiaid yn bennaf ydynt. Un o'i gydysgolheigion yn yr Ysgol Sabothol oedd Mr. (wedi hynny Syr) Hugh Owen. Ac yr oedd yno ereill o gyffelyb feddwl. Perswadiwyd ef—os oedd eisieu ei berswadio—i ddweyd gair; ac, o hynny, i ddechreu pregethu; ac yn y "Boro" y traddododd ei bregeth gyntaf. Dechreuad bychan; ond yr oedd i fyned yn ei flaen. Meddai y dawn siarad mwyaf naturiol a roddwyd erioed i ddyn; a phe buasai yn cyfyngu ei hun i'r weinidogaeth, diau y safasai yn hawdd yn y rheng flaenaf. Ymhen y deng mlynedd, pan yn ddeuddeg ar hugain oed—oedran anhygoel o ieuanc y pryd hwnnw yng ngolwg yr hen Fethodistiaid i ordeinio neb—derbyniwyd ef, a'r Parch. Edward Morgan o'r Dyffryn, a dau ereill, i gyflawn waith y weinidogaeth yn y Bala, Mehefin, 9, 1847. Fel y crybwyllwyd, pe buasai wedi ymroddi i'r weinidogaeth, diau y buasai wedi cyrhaedd safle uchel iawn. Ond fel arall yr oedd pethau i fod. Yr oedd y fasnach yr oedd ynddi mor eang, ac yn cynyddu mor gyflym a mawr, a'r fugeiliaeth eglwysig oedd yn sicrhau rhywbeth tebyg i gynaliaeth i weinidog ymysg y Methodistiaid eto heb fod dim son am dani, fel mai ymroddi i'w fasnach a wnaeth, gan barhau i lafurio yn y weinidogaeth hyd eithaf ei allu. Yma eto daeth ei fedrusrwydd mawr i ymgyfaddasu at yr amgylchiadau i'r golwg. Nis gallai fyned ymhell oddicartref oherwydd ei fasnach. Nid oedd ddim lle iddo bregethu bob Saboth yn yr un fan. Yr oedd yn ŵr rhy lygadog a threfnus i wastraffu ei ddoniau ar y cymylau. Felly ymgymerodd yn arbennig âg un rhan o'r maes. Daeth yn arwr yr Ysgol Sabothol. Dyma'i ddoniau, dyma'i ran. Ymbriododd a hi mor ddifrifol ag yr ymbriododd â

gwraig. Yr Ysgol Sabothol gai ei holl feddwl. Yma yr oedd gartref, ac yma y rhagorodd. Gofalai, meddir wrthym, am gynifer a phedwar o Ddosbarthiadau Ysgolion ar unwaith. Gan y cynelid cyfarfod ysgol ymhob un o'r rhai hyn bob chwech wythnos neu ddeufis, yr oedd dilyn y rhai hyn bron yn ddigon o waith iddo. Gallai gyrraedd y lleoedd hyn fore Saboth, a dychwelyd yn ei ol yn yr hwyr. I'r cyfarfodydd hyn yr âi, yn ei gerbyd, yn ŵr urddasol, yn haeddu ac yn cymeryd ei barchu, yn ymdeimlo fod ganddo genhadaeth neilltuol iddo ei hun, a phawb yn ymwybodol fod ganddo y cymwysderau uchaf i'w chyflawni. I'r cyfarfodydd hyn hefyd deuai cynnyrchiolwyr o'r gwahanol ysgolion yn y dosbarth. Yma y cynllunid pa fodd i ddwyn y gwaith ymlaen, ac y derbynid rhyw ysbrydoliaeth newydd i'w ddwyn i ben. Holai yr ysgolion fel tywysog. Llafuriai yn ofalus ar gyfer y maes. Trwy ddyfod i gyffyrddiad â chynifer o feddyliau, mewn cynifer o fannau, ac yntau ei hun mor agored i dderbyn argraffiadau, yr oedd wedi dyfod yn drwyadl feistr ar gelfyddyd freiniol o holi, a dywedir fod dylanwadau mor nerthol yn cael eu teimlo weithiau yn y cyfarfodydd hyn fel y byddai eu dylanwad yn cyrraedd yr holl wlad, a son am danynt am fisoedd ar ol iddynt fyned heibio. Dywedai Gohebydd Llundain, wrth adrodd hanes gwaith Mr. Gee ynglŷn â'r cyfarfodydd hyn, ei fod yn gwneuthur lles anhraethol, ac nad oedd ond y farn a fydd yn unig a allai ddatguddio gwerth ei wasanaeth. Rhoddai fri ar yr Ysgol Sabothol dros ran fawr o'r wlad, a thrwy ei ddoniau braidd digyffelyb i holwyddori, dygai egwyddorion mawrion teyrnas nefoedd adref i deiau a mynwesau y preswylwyr. A daliodd ati hyd y diwedd. Ni adawodd i ddim oeri ei gariad, ac ni phallodd ei ymdrechiadau drosti. Gresyn mawr oedd colli ei wasanaeth fel gweinidog: ond gresyn anhraethol fwy fuasai colli ei wasanaeth ambrisiadwy i'r Ysgol Sabothol.

Hydref 11, 1842, priododd Miss Hughes, Plas Coch. Ganwyd iddynt wyth o blant. Buont yn cyd-ddwyn yr iau am dros un mlynedd ar bymtheg a deugain. Ac os bu priodas ddedwydd ar y ddaear erioed, yr oedd hon felly. "Teg edrych tuag adre'" oedd arwyddair Mr. Gee. Os digwyddai iddo, yn y Cyfarfod Misol, neu y Cyngor Trefol, neu yn y Gynadledd, neu y Gymdeithasfa, neu yn rhywle arall, groesi cleddyfau—ac, i ŵr mor flaenllaw a phenderfynol ag ydoedd efe, gallai hynny ddigwydd, nid yn anfynych—gwyddai fod aelwyd glyd, a gwraig gall, a thŷaid o blant hawddgar a llawn edmygedd yn ei ddisgwyl gartref. Ac y mae gofyniad yn dyfod i'r meddwl yn y fan hon: A fu yng Nghymru, neu mewn rhyw wlad arall, ŵr mor gyhoeddus a chymaint o alw am dano â Mr. Gee, wedi treulio mor lleied o nosweithiau oddicartref? Y mae y peth yn bur amheus. Iddo ef, pa mor eang ac amrywiol a phwysig bynnag oedd ei gysylltiadau ereill, yr oedd cartref bob amser yn gartref, a'i ddoniau yntau fel gŵr teuluaidd mor ddisglaer ag unrhyw gyrhaeddiadau ereill oedd yn ei feddiant. Rhydd hyn gyfrif am lawer iawn o'r hoewder ieuangaidd oedd ynddo ar hyd ei oes. Yr oedd ef a'i briod—yr hon a lanwai iddo hyd yr ymylon yr ymadrodd "ymgeledd gymhwys"—yn cadw eu hieuenctid yn fythol wyrdd trwy gyd-fyw eilwaith a'u plant, a theimlo dyddordeb yn eu holl weithrediadau. Cefais yr hyfrydwch o letya

yno fwy nag unwaith. Ac yr wyf yn cofio un tro yn neilltuol. Yr oedd yng nghanol Etholiad Sir Ddinbych, pan y dychwelwyd Mr. Herbert Roberts. Yr oedd ef a minnau wedi bod wrthi yn egnïol hyd yn hwyr iawn y nos o'r blaen mewn gwahanol fannau. Yr oedd yn fore cyn i ni fynd i orffwys. Ond yr oedd yn rhaid bod i fyny i'r adeg bore drannoeth. Pan oeddym ar ganol boreufwyd daeth rhywun â baich o lythyrau i mewn. Edrychodd yn frysiog drostynt, ac yna, yn y tawelwch mwyaf, meddai, "Mi gymerwn ni ddyledswydd rwan." Ati yr aed: y gŵr dyeithr i wasanaethu. Yna yr oedd yn rhaid cael y Llyfr Hymnau, rhoddi pennill neu ddau allan, a chanu—Mr. Gee yn codi'r mesur, Mrs. Gee wrth ei ochr yn canu, Miss Gee yn *Master of the Ceremonies*, a'r gwasanaethyddion yn cymeryd eu rhan hwythau yn y gwaith. Nid wyf yn cofio am ddim arall, ond yr wyf yn cofio yn dda yr hyn a redai trwy fy meddwl ar ol gorffen. "Wel," meddwn, wrthyf fy hun, "mor syn fuasai y lliaws mawr sydd yn cymeryd rhan mor frwdfrydig yn yr etholiad hwn pe gwelsent hen *warrior* fel Mr. Gee yn ymostwng mor isel a thlodaidd heddyw'r bore ar ei liniau." Na, nid oedd dim a'i cadwai ef a'r teulu oddiwrth eu dyledswyddau, a rhoddodd Duw ei fendith yn amlwg iawn arnynt. Yr oedd yr olwg arnynt yn ei gladdedigaeth, ac yn neillduol ar Mrs. Gee—ei hiraeth dwfn, ei hunan-feddiant hollol, a thynerwch dwyfol ei hwynebpryd—yn bregeth o'r fath fwyaf effeithiol ar ddiddanwch teuluaidd y teulu.

Wedi'r cyfan, fel cyhoeddwr llyfrau gofalus ac anturiaethus y rhagorodd yn fawr. Yr oedd y Parch. Thomas Jones, trwy gyhoeddiad Gurnal, y Merthyrdraeth, a llu o lyfrau ereill, wedi rhoddi cychwyniad da i'r swyddfa. Ynddi hi hefyd y cyhoeddwyd y *Myfyrian Archæology* a Geiriadur mawr Dr. W. Owen Pughe. Safai y swyddfa yn anrhydeddus o flaen ei ddyddiau ef. Gwnaeth ef yr hyn sydd yn wir anhawdd—rhagorodd ar ragflaenoriaid rhagorol. Dyrchafodd yr hyn oedd eisoes yn uchel i dir llawer iawn uwch. Yn Ionawr, 1845, dechreuodd gyhoeddi y TRAETHODYDD, cyhoeddiad chwarterol, pris deunaw y rhifyn, o dan olygiad y Parchn. Lewis Edwards, M.A., Bala, a Roger Edwards, Wyddgrug. "Gwyddom," meddai y Parch. T. M. Jones, Penmachno, yn ei lyfr, *Llenyddiaeth fy Ngwlad* (tud. 116), "mai syniad cyffredin y wlad ydyw mai y diweddar Dr. Lewis Edwards a gychwynodd y cylchgrawn hwn; ond dywedwyd wrthym yn bendant gan Mr. Gee, y cyhoeddwr, mai efe ei hunan a awgrymodd y peth gyntaf oll i sylw Dr. Edwards—mai efe (Mr. Gee), mewn gwirionedd, a feddyliodd gyntaf am gylchgrawn o'i fath." Pa fodd bynnag am hynny, anturiaeth fawr yng Nghymru oedd dwyn allan lyfr fel y TRAETHODYDD. Yr oedd enw Dr. Edwards yn ddigon o sicrwydd am ei gynnwysiad. Peth arall oedd cael lledaeniad iddo. A mwy na hynny ydoedd cael sicrwydd y byddai iddo dalu ei ffordd. Beth oedd tynged y TRAETHODYDD yn yr ystyr hwn, nid oes neb ond y rhai a ddalient gysylltiad uniongyrchol âg ef yn unig a ŵyr. Ond gwyddis hyn: ymhen deng mlynedd ar ol ei gyhoeddiad cyntaf, sef 1854, rhoddwyd i fyny ei gyhoeddi gan Mr. Gee, ac yn fuan ymneillduodd Dr. Edwards o'i olygyddiaeth. Colled anadferadwy i Gymru fu hyn—un o'r colledion trymaf a gafodd erioed. Yr oedd adnoddau di-hysbydd yn Dr. Edwards; ac yr oedd ef yn alluog i dynnu allan adnoddau

ereill. Pan roddodd ef i fyny y TRAETHODYDD, collwyd y ddau—ychydig, mewn cydmariaeth, a wnai ef ei hun yn y ffordd hon heb fod gorfodaeth arno; ac nid oedd neb fel efe a allai roddi gorfodaeth ar ereill. Ond nid aeth, ac nid aiff, y deng mlynedd hyn byth yn ofer.

Yn 1847, cyhoeddwyd y *Geiniogwerth*, dan olygiad y Parch. Lewis Jones, Bala. Enw godidog ar y cyhoeddiad oedd y *Geiniogwerth*. A cheiniogwerth ryfeddol ydoedd. Mewn adeg yr oedd treth mor drom ar y papyr—treth mor drom bron ag ydyw pris y papyr ei hun yn awr,—peiriannau argraffu a phlygu heb ddyfod i arferiad, a'r cwbl yn cael ei wneuthur â llaw, fel y mae yn syn os oedd yn talu. Y tebygolrwydd ydyw nad oedd, er fod ganddi ddigon o gylchrediad i gadw un wasg a weithid â llaw mewn llawn gwaith ar hyd y mis. Gwnaeth y *Geiniogwerth* ei hôl. Bu *stori* y *Sweep Bach*, a rhai caneuon o eiddo Gwerydddon, yn eiriau teuluaidd am flynyddoedd. Ond newidiodd ei henw, gan nas gellid ei galw yn *Geiniogwerth* mwy. Daeth allan dan yr enw *Methodist*, a'i bris yn geiniog a dimai. Ond marw wnaeth yntau.

Yn 1854—y flwyddyn y rhoddodd i fyny gyhoeddi y TRAETHODYDD—dechreuodd ddwyn allan y *Gwyddoniadur*, y llyfr trymaf, hyd yma, yn yr iaith Gymraeg. Cymerodd lawer o flynyddoedd i'w ddwyn allan, ac yr oedd y draul dros ddeunaw mil o bunnau. Dr. Parry, fel y sylwyd, oedd ei olygydd; ond yr oedd gan Mr. Gee ei hun law fawr yn y gwaith; a'r cwbl yn y gyfrol fawr ddiweddaf yn yr ail-argraffiad. Dichon nas gellir dweyd fod holl esgeiriau y *Gwyddoniadur* yn ogyhyd. Tybir hefyd fod ynddo lawer o gyfieithiadau. Ond y mae yn sicr iddo gael hufen meddwl Dr. Parry—ac, fel y dywedodd Dr. Edwards yn ei gladdedigaeth, yr oedd Dr. Parry yn feddyliwr—a hefyd hufen meddwl llawer o'r ysgrifenwyr Cymreig goreu. Y mae yr ysgrifau a geir ynddo ar Gymry yn gyfryw hefyd nas ceir yn unlle arall. Bydd hwn yn drysor amhrisiadwy i'r genedl am oesoedd.

Wedi'r cwbl feallai mai yr hyn a roddodd iddo y safle uchel a gyrhaeddodd, a'r hyn a'i dygodd i'r cysylltiad mwyaf uniongyrchol â Chymru, oedd cyhoeddiad y *Faner* yn 1857, gyda chefnogaeth, os nid arolygiaeth, Hiraethog. Cymerodd y *Faner*, o'i chychwyniad cyntaf, safle uchel. Ysgrifennid y tu dalen cyntaf, yn enwedig, gan rai o brif ysgrifenwyr Cymru. Cai yr ysgrifau ddarlleniad cyffredinol, a llawer fyddai y son am danynt. Bu Dr. John Hughes yn ysgrifennu y tu dalen hwn gyda graddau o gysondeb am rai blynyddoedd. Ac yn enwedig gwnaed y darganfyddiad o Ohebydd Llundain—Y Gohebydd—un o'r ysgrifenwyr poblogaidd pennaf fu erioed yn ymaflyd mewn pin, pa un bynnag ai yng Nghymru ai mewn unrhyw wlad arall. Pa beth bynnag arall fyddai yn y *Faner*, yr oedd Llythyr y Gohebydd bod amser yn sicr o gael ei ddarllen ac o fod yn werth ei ddarllen. Yr oedd ei allu a'i ddylanwad yn rhyfeddol. I grybwyll un engraifft. Hyd y flwyddyn 1868, yr oedd Sir Gaernarfon yn gorwedd yn nwylaw y Toriaid ers llawer o flynyddoedd, a meddiannydd y Chwarel Fawr, Chwarel y Penrhyn, yn frenin arni. Pan elwid arni, nid oedd na llef na neb yn ateb. Gyda sydynrwydd y fellten, dyma'r Gohebydd yn ei chymeryd mewn llaw, dan y penawd "Am neillduaeth Reuben y mae mawr ofal calon." Ac yr oedd y can-

lyniad yn gyfatebol. Dyma etifedd Madryn—y diweddar dalentog Syr Love Jones-Parry—allan, ac i mewn âg ef i'r Senedd er gwaethaf pawb, ac er syndod a dychryn anadferadwy i'w wrthwynebwyr. Nid oedd fawr o ryfedd fod Arglwydd Penrhyn (yr hen Arglwydd) yn arfer galw y Gohebydd yn "Gobi," ac yn edrych ar y *Faner* fel mam holl drallodion y Toriaid yn y flwyddyn honno. Dros fwy na deugain mlynedd bu y *Faner* dan ofal Mr. Gee, a pha ddiffygion bynnag a allai fod yn perthyn iddi, rhaid i bawb addef mai hi ydyw y newyddiadur goreu o ddigon a gyhoeddir yn yr iaith Gymraeg, a'i bod wedi arfer ei holl ddylanwad ym mhlaid dyrchafiad Cymru. Gwir iddi wrthwynebu rhai pethau, ac yn neilltuol y Fugeiliaeth Eglwysig ymysg y Methodistiaid, gyda phob grym a dyfais, ac iddi aflwyddo. Nid profi gwendid y *Faner* y mae hynny, ond grym y Fugeiliaeth. "Canys ni allwn ni ddim yn erbyn y gwirionedd, ond dros y gwirionedd." Bydd yr ysgogiad nerthol a roddodd Mr. Gee trwy y *Faner* yn hir iawn, ni a hyderwn, yn arafu. Ond y mae colli ei allu a'i brofiad ef o'r tu cefn iddi yn galw am yr ymdrechion pennaf drosti.

Nid gormod yw dweyd fod dylanwad Mr. Gee yn fawr iawn. Yr oedd iddo ddylanwad personol. Yr oedd rhywbeth *magnetic* yn perthyn iddo. Tynnai y llïaws ato fel y gwthiai ereill oddiwrtho. Pa beth bynnag yr ymaflai ei law ynddo, fe'i gwnai a'i holl egni. Cafodd yr Eglwys Sefydledig ynddo wrthwynebwr anghymodlawn. Yn hytrach na thalu y Dreth Eglwys, gadawodd i'w ddodrefn gael eu gwerthu. Ac yn hytrach na gadael i'r tirfeddianwr dalu y Degwm drosto, gwell oedd ganddo roddi fferm yr Eglwys Wen i fyny. Meiddiodd ofyn cwestiynau i'r hen Syr Watkin, ar y llwyfan yn Ninbych, yng nghylch yr erledigaethau yn y Bala, ac yn neilltuol ar fam y Parch. Michael D. Jones, a gweddw y diweddar Barch. Michael Jones, a dynnodd âg Mr. Biddulph, yr aelod Rhyddfrydig a chyd-aelod Syr Watkin dros Sir Ddinbych, arno; ond creodd y fath frwdfrydedd yn y Sir ag a barodd iddi wrthod Mr. Biddulph a dewis Syr George Osborne Morgan yn ei le, ac a enynnodd y fath dymhestl dros Gymru nes ysgubo y Toriaid o'r ffordd fel ûs o flaen y corwynt. Yr oedd yn gyfaill ffyddlawn i'r amaethwyr, ac yn feirniad anhrugarog ar dirfeddianwyr. Cafodd addysg a chrefydd ynddo ef y cefnogydd mwyaf ffyddlawn, ac yr oedd mewn gwirionedd gymaint ar y blaen yn niwedd ei oes ag ydoedd ar ei dechreu. Gwnaeth lawer o aelodau seneddol; a phe dewisasai gallasai yn hawdd fod yn aelod ei hun. Ond hyd yn ddiweddar ymwrthodai yn hollol â phob math o anrhydedd, oddieithr y rhai hynny (megys bod yn faer y fwrdeïsdref), yr oedd yn rhwym o'u cymeryd fel ei ran wrth wasanaethu ei gyd-ddynion. Ddeng mlynedd ar hugain yn ol, a llawer tro ar ol hynny, cafodd gynnyg ei wneuthur yn Ustus Heddwch dros Sir a Bwrdeisdref Dinbych; ond gwrthododd. A phob etholiad seneddol er 1868 cafodd wahoddiad taer i ddyfod yn ymgeisydd am amryw eisteddleoedd. Yn etholiad 1874 cafodd ei wahodd yn bendant gan wyth o etholaethau, a gofynwyd iddo gan bedair ereill, rhai o honynt y tu hwnt i derfynau Clawdd Offa. Mewn dwy o honynt cynygiwyd dwyn ei holl dreuliadau, ac mewn un cynygiwyd mil o bunnau iddo at y draul. A darfu i un boneddwr o Liverpool, yr hwn yr oedd prin yn ei adnabod, ddanfon cyd-gyfaill iddynt ato, i ddweyd

wrtho, pa sedd Doriaidd bynnag y dewisai ei hymladd, y rhoddai ef fil o bunnau at ei wasanaeth. Ac ar yr wythfed dydd ar hugain o Fedi, 1898—y dydd y bu farw—yr oedd yn Gadeirydd y pethau canlynol :—Cyngor Sirol Dinbych, Cyd-Bwyllgor yr Heddgeidwaid, Corff Llywodraethol Addysg y Sir, Cymdeithas Ryddfrydol Gorllewin Sir Ddinbych, Cymdeithas Eglwysi Rhyddion Gogledd Cymru, Cyngor Cenedlaethol Cymru, a Chymanfa Ddirwestol Gwynedd, heblaw tri o gwmnïau masnachol—digon, mewn pob cydwybod, i unrhyw ddyn, ac yn enwedig i ddyn wedi gadael ei dair a phedwar ugain oed !

Bu farw yng nghanol ei waith, ac heb gymaint ag awr o gystudd. Cafodd gladdedigaeth tywysog. Yr oedd yn ddiwrnod têg a hyfryd. Dygwyd y corff i'r Capel Mawr, lle yr oedd wedi arfer bod, trwy bob rhwystrau, ac er pob prysurdeb, yn dyfal ddilyn moddion gras ar hyd ei oes, ac yn eistedd fel brawd anrhydeddus ymhlith ei frodyr a'i chwiorydd. Yr oedd y teulu yno yn gyfan—gydag un bwlch—efe ei hun. A Mrs. Gee yn harddach ac anwylach na neb "Gwŷr bucheddol a'i dygasant ef i'w gladdu." Y mae yma lu o weinidogion a phregethwyr—o bob enwad. Mae'r gynulleidfa bruddaidd yn llanw'r addoldy ëang, ac yn eu mysg saith o aelodau Seneddol. Mae cyfeillion a gwrthwynebwyr yma, pawb wedi claddu y fwyell heddyw. Darllennir, dywedir, a gweddier: pob peth yn briodol yn ei le, heb ddim gormodiaeth. Mŷn yr Haul, Llygad Goleuni, edrych i mewn, a thaflu ei belydr siriol ar gauad yr arch. A theimla pawb fod Tywysog a gŵr mawr—gwladgarwr a gŵr Duw—wedi cwympo heddyw yng Nghymru. Yr oedd yr orymdaith yn fawr iawn: pob cymdeithas a sefydliad yn cael ei gynrychioli, a phawb yn teimlo eu bod wedi colli cyfaill.

*Caernarvon.* EVAN JONES.

---

## CUSAN YR HAUL.

A WELAIST ti'r dail
Dan gusan yr haul
  Wanwyn a haf, yn glasu ?
A'r awel nwyfus, ieuanc oed,
Yn troelli'n ysgafn am frigau'r coed ?
  Dyna 'ti gymdeithasu !

A welaist ti'r dail
Dan gusan yr haul
  Hydref difri', yn gwrido ?
  A'r chwaon mwyn yn eu hudo
I sibrwd adgof o'r bore draw,
A sibrwd gobaith y bore ddaw
  —Bywyd uwchlaw machludo !

A welaist ti'r dail
Heb gusan yr haul
  Auaf oer, yn crino ?
  A chorwynt yn eu blino ?
A hwythau yn rhedeg o un i un
I fonwes eu mam i huno !

*Yn Nyffryn y Rosynnau, Leipsic,*
*Tachwedd* 1, 1898. MOELWYN.

# BRAD YR OFFEIRIAID.

## Y LLYFR A'I DDATGUDDIAD.

TUA blwyddyn yn ol cyhoeddwyd llyfr Saesneg dan yr enw *The Secret History of the Oxford Movement*, yr hwn, erbyn hyn, sydd wedi cyrraedd y pedwerydd argraffiad, a'r eilfed fil ar hugain, er ei fod yn costio deg a chwech ar y cyntaf, ond yn ddiweddar a ostyngwyd i dri a chwech. Ei awdwr yw ysgrifennydd galluog o'r enw Mr. Walter Walsh. Ymddengys yn dra hyddysg yn hanes Eglwys Loegr a'i gweithrediadau; ac, os gwir a ddywed y *Church Times*, gwelir ef yn fynych wrth fwrdd y *reporters* mewn cynadleddau a chyfarfodydd cyhoeddus ereill a gynelir gan yr eglwyswyr. Tebyg yw ei fod wedi derbyn cymorth Protestanaidd selog fel ei hunan yng nghyfansoddiad y llyfr. Dyna ydyw y gyfrol drwchus hon; casgliad, neu gydgrynhoad medrus, o ffeithiau hen a diweddar, rhai o honynt wedi eu cyhoeddi o'r blaen, yma ac acw, ar wasgar, ar wahanol amserau, ac mewn llawer modd, ac ereill yn ffeithiau wedi eu dethol o ffynonellau cyfrinachol a dirgel, y rhai a ddadlennir am y tro cyntaf yn awr. Ond, atolwg, pa ryw ffeithiau? Ffeithiau a brofant fodolaeth cyngrair cryf a dirgel ymhlith cannoedd, ïe miloedd, o offeiriaid Eglwys Loegr, i ddwyn i mewn athrawiaethau ac ymarferiadau Pabaidd i'r Eglwys Brotestanaidd a sefydlwyd gan Harri VIII., Edward VI., ac Elizabeth, yn ein gwlad. Nid newyddbeth yw hyn. Dechreuodd yr anfadwaith cyn geni mwyafrif darllenwyr y TRAETHODYDD, sef yn 1833, yn Rhydychen; ac, yn ystod y triugain mlynedd diweddaf, mae y surdoes wedi lefeinio yr holl does, nes y ceir offeren babaidd yn cael ei hoffrymu yn ddigon digêl mewn ugeiniau o eglwysi yn lle y cymun, gweddïir dros y meirw, cyffesir pechodau i, a derbynir gollyngdod neu faddeuant gan, yr offeiriaid mewn cannoedd o blwyfi. Amlhâ llieindai a mynachdai Anglicanaidd trwy y tir, ac mae ofergoeledd a gwrachïaidd ddefodau yn llenwi yr eglwysi fel y llyffaint yn yr hen Aifft. Gwelir y cyfeiliornad, erbyn hyn, wedi ymwthio i blith y mawrion a'r rhai galluog. Mae llu o'r dysgedigion dan yr haint. A derbynir dysgeidiaeth sydd yn gosod y fath fawredd ar, a chymaint awdurdod yn llaw, offeiriaid, yn dra chwannog gan y rhelyw o'r personiaid a'r curadiaid diddawn a heigiant yn yr Eglwys. Ond beth a wna yr esgobion? Yn ddiau yr esgobion nid ydynt bobl nerthol, a'u ffedogau a'u ffyn, eu meitr a'u mantelli amryliw, eu rhwysg a'u hymffrost. Dengys llyfr Mr. Walsh yn amlwg nad oes iachawdwriaeth mewn esgob o ordeiniad daearol. Daw o'r un llygad-ffynnon hon ddyfroedd croew a hallt, chwythant yn oer a phoeth; yn gyhoeddus condemniant tra y llochesant yn ddirgel.

### CYNDDAREDD DYN.

Mae y gwirionedd dan ddyled i Mr. Walsh am gasglu yr holl ddefnyddiau a geir yn yr "hanes cyfrin" hwn, fel ag i beri fod eu heffaith

bron yn anorchfygol ar y darllennydd gonest. Dyma, mae'n debyg, un o'r cyfrolau mwyaf pwysig a chwildroadol a gyhoeddwyd ers llawer dydd—dadleniad dychrynllyd ar frad offeiriaid i ddwyn ein gwlad drachefn dan iau gorthrwm offeiriadol ac ofergoeledd y Babaeth. Nid rhyfedd ei fod wedi achosi cyffro ym mysg y gelyn. Gwadant wirionedd ei ffeithiau yn y cyfanswm o honynt. Gwnaeth y Jesuitiaid yr un peth gyda dyfyniadau Pascal yn ei "Provincial Letters," dros ddau can mlynedd yn ol yn Paris; ond mae dilysrwydd cyhuddiadau Pascal wedi eu heu brofi, a cheir pethau cyffelyb i'r rhai a ddatguddir ganddo ef hyd yn oed yn llyfrau Lladin awdurdodedig yr urdd yn y dyddiau yma. Felly cyhoeddodd y *Church Times* adolygiad ffyrnig a digofus ar y "Secret History;" a phe buasai angen rhyw brawf ychwanegol i'n hargyhoeddi o wirionedd difrifol haeriadau y gwaith, mae y prawf hwnnw i'w gael yn adolygiad y *Church Times* a gyhoeddwyd yn bamphled ar ol hynny. Dichon fod Mr. Walsh wedi camgymeryd mewn manion. Dyn ydyw. Ond nid yw y *Church Times* yn ceisio gwrthbrofi ei brif gyhuddiad. Pa fodd y gallasai wneuthur hynny? Onid yw y newyddiadur hwn yn barhaus yn argraffu pregethau, traethodau ac erthyglau yn pleidio athrawiaethau a seremonïau Pabaidd, megys yr offeren, gweddïo dros y meirw, arogldarthu? &c. Cynwys y rhan fwyaf o'r adolygiad yw *chaff*—ymgais hogyn i wawdio yr hyn nis gall ei ddinystrio. Pa angen gwell cyfaddefiad o wirionedd gosodiadau na hyn? Dywed Mr. Walsh bethau arswydus am y llieindai, fel y cawn sylwi eto. Beth yw atebiad y *Church Times?* Druan o hono! Arferem dybio fod y papyr hwnnw dan olygiaeth dynion deallus, os oeddynt yn fradwyr. Ond yn sicr, "Ynfydrwydd yw digofaint," ac yn enwedig digofaint y troseddwr yn erbyn y goleuni sydd yn ei argyhoeddi trwy ei ddadlennu. Dyma fel yr ysgrifenna ar y pwnc:

"And what is a convent? It is essentially a private house, a private family of men or women, whose first object is to live a life of retirement from the world. What sort of life would Mr. Walsh expect them to live? Would he expect them to live behind plate glass windows, like the ladies who dress their hair in Regent Street shops? It would seem so. He demands 'Is there any auditing of accounts by a public auditor? There ought to be and Parliament should insist on it.' Parliament might as reasonably insist on inspecting Mr. Walsh's account with his publisher. He would pry into their most intimate affairs. He complains that "the authorities of the convents founded by Dr. Pusey have never given to the public any idea of the actual terms of the vows taken by their sisters.' English ladies, thank Heaven, do not usually advertise their devotional practices. 'It so happens,' says Mr. Walsh complacently, 'that I possess a secret book written for the use of the sisterhood, entitled *The Spirit of the Founder*. It consists of extracts from addresses privately delivered to the sisters by the Founder of the Sisterhood, the late Rev. Dr. Neale,' and he prints several extracts. We can hardly control our indignation as the man thus reveals himself. Does he listen at the keyhole to hear his maidservant's prayers? Does he retail them in the smoke-room of his club?"

Dyna engraifft o ddull y *Church Times* yn beirniadu. Nid y pwnc yw pa fodd y cafodd yr awdwr afael ar y wybodaeth sydd ganddo—dywed ei feirniaid mai lladrata y papyrau a ddarfu, ond credwn, fel y dywed efe, iddo eu cael mewn ffordd anrhydeddus: y pwnc yw, ai gwir ai anwir yr hyn a ddywed? Mae llieindai yn sefydliadau cyhoeddus fel colegau ac ysgolion yr Ymneullduwyr—y rhai a

gyhoeddant *balance sheet.* Rhyw goeg ymresymiadau ac ysgoad dirmygus o fath yr uchod yw baich beirniadaeth y gwrthwynebwyr. Maent wedi eu dal, a'u pwyso, a'u cael yn brin, am hynny ysgyrnygant ddannedd.

BEIRNIADAETH.

Onid oes le i feirniadaeth ar lyfr Mr. Walsh? Oes, a llawer gormod hefyd. Bu yn hynod ddiwyd i gasglu ei ddefnyddiau, a llwyddodd i grynhoi swm anferth o honynt. Trefnodd hwynt yn rhagorol. Os oes bai hefyd, yn y cyfeiriad yma y mae. Dwedem fod ganddo ormod o ddyfyniadau, y rhai nad ydynt ond cadarnhad o'r hyn a ragflaena. Gwyddom y gellir amddiffyn hynny, ond y canlyniad yw gwneuthur y llyfr braidd yn sych a beichus i'w ddarllen mewn llawer man. Dylasai yr awdwr fod wedi gwneud llawer gwell a mwy effeithiol defnydd o'r ffeithiau. Gresyn na buasai wedi astudio arddull Esaiah yn y 44 bennod—gwawdiaeth y Proffwyd o'r eilunaddolwyr—neu lythyrau anfarwol Pascal, neu areithiau Cicero yn erbyn Cataline, neu Burke. Ymddengys ei fod yn amddifad o *humour:* ni fedr wawdio ffolineb. Mae ei sylwadau weithiau yn hollol *stupid* a pheirianyddol, yn *prosaic* dros ben. Mae mor orlethol o ddifrifddwys pan yn pigo yswigen ddefodol, megys y gred mewn dwfr sanctaidd, ag ydyw pan yn traethu ar gelwydd Newman a Phusey, a'r gweddill o'r gâd.

Dywedodd un o'r tadau offeiriadol am yr esgobion "ei fod yn ystyried yr amgylchiadau (a nodir) fel cyfleustra i ddysgu yr Efengyl i'r rhai sydd yn anfynych yn ein clywed" tud. 124 (argraffiad 4ydd.)

Dyma sylw Mr. Walsh ar yr *impudence* bachgenedd uchod:—"Bydd hyn yn ddiameu yn newydd i lawer. Yn sicr yr oedd yn ddigywilydd —*impertinent*—ar Mr. Marshall i awgrymu yn y dull hwn mai anaml y clywai yr esgobion yr Efengyl, a'i bod yn ddyledswydd ar Gymdeithas gyfrin o dadau cyffesawl i'w dysgu iddynt."

Anhawdd gwybod pa un yw y mwyaf *comic—impertinence* Mr. Marshall ai esboniad difrifddwys, a *righteous horror* Mr. Walsh uwchben y syniad y dichon fod esgob heb wybod yr Efengyl!

Ceir ugeiniau o fyfyrdodau ac adlewyrchiadau difrifol trwy y gyfrol, cyffelyb i'r uchod, yn lle rhoddi ergyd lawchwith wrth fyned heibio, gair o wawdiaeth, brawddeg o ddirmyg, awgrym o watwareg gwirionedd uwchben ffug a rhodres.

Cwyn arall yn erbyn yr awdwr yw ei fod yn gorwneud y cyhuddiad o "ddirgelwch" yn erbyn rhai o'r Eglwyswyr. Gwanhâ ei achos trwy hyn. Mae ei ddadl mor hynod o gref fel y gall fforddio peidio defnyddio yr ymadrodd *on the sly* mor fynych, pan nad ydyw yn hollol gywir, na galw y defodwyr yn *owls* mor aml, am eu bod yn caru tywyllwch. Oblegyd y diffyg bychan hwn gall y *Church Times* yn gyfreithlon ofyn am ddyfyniadau a rydd o newyddiaduron, "Pa gyfrinach sydd yma?" Byddai grym ei ddadleniadau yn fwy pe y tynerai aml adran dan y pen hwn. O'r ochr arall, onid oedd y disgyblion gynt yn cynal cyfarfodydd dirgel "rhag ofn yr Iddewon?" Onid dirgel oedd cynulliadau y Protestaniaid cyntaf rhag ofn y Pabyddion? Onid dan gudd, yn y nos, ac yng nghanol y mynyddoedd a'r coedwigoedd, yr arferai cyfeillion rhyddid ymhob oes ymgasglu i

gynllunio gwaredigaeth i'w gwlad rhag gorthrwm? Mae gwir ar yr ochr hon. Dylem gofio hynny cyn condemnio yr Eglwyswyr bradwrus hyn. Ond yma daw y gwahaniaeth i'r golwg. Nid oedd ar y Cristionogion boreuaf, a'r Protestaniaid, ac arwyr rhyddid, gywilydd cyhoeddi eu hamcanion a'u hegwyddorion pan y gallent wneuthur hynny gyda diogelwch, oblegyd cymeradwyant eu hunain fel gwirionedd a chyfiawnder i gydwybod pawb diragfarn. Ond am y Jesuitiaid a'r Pabyddion, bob amser, ni ddeuant i'r goleuni, ni fynnant addef eu hamcanion, ceisiant ddenu dynion i gaethiwed heb yn wybod iddynt. Dyma y gwahaniaeth sylfaenol cydrhwng Protestaniaeth a Pabyddiaeth. Rhyddid yw un a chaethiwed yw y llall. Nid oes ar ryddid ofn y goleuni, ïe goleuni yw ei elfen naturiol, er ei fod weithiau yn gorfod ymostwng i lechu mewn tyllau oherwydd iau y gelyn. Ond mewn tywyllwch yn unig y gall caethiwed ffynnu. Mae goleuni gwybodaeth a rhyddid yn ddinystriol iddo; ac felly ni a gawn Ysgol Rhydychen yn ffurfio cymdeithasau dirgel i wasgaru egwyddorion ac ymarferiadau caethiwed ofergoeledd.

Ymhellach, ystyriwn nad yw Mr. Walsh yn hollol deg tuag at Newman a'r Anglicaniaid ereill a aethant drosodd i Rufain. Cyhudda hwynt o anonestrwydd, oblegyd iddynt aros mor hir heb ymuno â'r Eglwys Babaidd. Y nefoedd a ŵyr fod digon o dwyll a hoced yn perthyn i'r goreu o'r anffyddloniaid hyn. Ond hwy a aethant i'w lle eu hun cyn hir. Nid peth bychan oedd gadael cymundeb lle y perchid hwy, cymundeb y buont yn weinidogion selog ynddo, cymundeb oedd yn anwyl yn eu golwg ar lawer cyfrif—i ymuno âg eglwys estronol, i dorri hen gysylltiadau a thynnu gwg cyfeillion. Nid rhyfedd eu bod wedi ymbwyllo am rai blynyddoedd cyn camu drosodd, er mwyn gweled ai nid oedd modd peidio gwneud yr aberth, a chadw cydwybod lân tuag at yr hyn ystyrient yn egwyddorion crefydd. Pan welsant mai amhosibl oedd cysoni aelodaeth yn Eglwys Loegr â chrediniaeth yn athrawiaeth Rhufain, nid ymgynghorasant â chig a gwaed, ond aethant at eu pobl. Gresynwn at y ffyrdd trofäus a gerddasant cyn hyn. Synwn fod dynion deallus a chrefyddol yn medru derbyn dysgeidiaeth anysgrythyrol a gwrachïaidd Rhufain. Ond rhaid i ni barchu eu ffyddlondeb i argyhoeddiad eu cydwybodau tywyll pan ymfudasant, ar ol hir oedi, i drigo yn nheyrnas caethiwed a bro ofergoeledd. Buont hwy yn onest. Ond beth a ddyweder am Pusey, ac ereill—dynion a gredent yr Athrawiaethau Pabaidd, ond a arosasant yn nghymundeb Eglwys Loegr er mwyn helpu i ddadymchwel ei ffydd a gwyrdroi ei gwasanaeth? Dyma'r bleiddiaid. Gwaeth na'r cwbl, nis gwyddom pa le i'w cael. Byddant wedi plannu eu dannedd yn ddwfn yn nghawd y diniwed cyn i neb ddychmygu nad dafad lonydd a charedig sydd yno. Nid yw y rhagolygon yn ddisglaer. Rhaid ymladd brwydr rhyddid crefyddol eto, mae'n ofnus.

Gyda'r eithriadau bychain a dibwys hyn, mawr gymeradwywn waith Mr. Walsh Gobeithiwn, gan nad yw ei bris ond tri a chwech, y bydd iddo gylchrediad eang a darlleniad gofalus ymhlith Protestaniaid Cymru. Dywedwn eto: mae yn profi ei bwnc hyd yr eithaf, er caniatau y dichon fod ynddo rai camgymeriadau. Dengys fod yn bryd i'n gwlad ddeffro i sylweddoli ei pherygl. Mae'n amser i ni fel enwadau

Ymneullduol anghofio a chladdu ein nodweddion gwahaniaethol a'n heiddigedd, ac ymuno i wynebu y gelyn. Prin y gellir galw ond Cymru ac Ysgotland a rhannau o Ulster yn drwyadl Brotestanaidd yn y Deyrnas gyfunol heddyw. Mae miloedd o eglwyswyr ein gwlad mor wirioneddol Babyddion ag yw y rhai a adweinir wrth yr enw, ond yn llawer mwy dylanwadol a pheryglus. Aethant yn Babyddion, nid o'u gwirfodd ond trwy hudoliaeth yr offeiriaid yn eu denu ymlaen o gam i gam trwy ddefodau, a llin a'r lin, nes y cawsant eu hunain heb geisio ac yn ddiarwybod yn coledd dysgeidiaeth Rhufain dan iau yr offeiriaid.

Nis gallwn gynnyg adolygu y gyfrol trwyddi, ond pigwn ddarnau yma ac acw i alw sylw atynt.

### NEWMAN AC ERAILL.

Teimlir llawer o ryw fath o edmygedd tuag at Newman hyd yn oed mewn cylchoedd Ymneillduol yng Nghymru, oherwydd efe yw awdwr yr emyn adnabyddus,

"Lead kindly light, amid the encircling gloom,"

yr hon mae cerddoriaeth Dr. Dykes wedi gwneuthur cymaint i'w phoblogeiddio trwy y byd. Nis gwyddom a oes rhywun yn deall yr emyn trwyddo, a gofynwyd i'r awdwr unwaith beth oedd ei hystyr, a'i atebiad gonest ef oedd nad oedd yn gwybod. Nid oes dim mor swynol â *nonsense* gydag arlliw o synwyr, a dwfn a duwiol ddoethineb yn perthyn iddo! Amhosibl darllen gweithiau Newman heb deimlo edmygedd mawr tuag ato fel ysgrifennydd Saesneg digymar, a dyn crefyddol a duwiolfrydig iawn ar un llaw, ond, ar y llaw arall, nis gellir peidio gweled ei fod yn ddyn cyfyng ei feddwl, cul ei ddeall, crebychlyd ei syniadau, a hygoelus dros ben. Daw y pethau yma i'r golwg yn eglur yn ei bregethau prydferth, ei draethodau, ei *Apologia* yn enwedig; ac yn ei *Development of Doctrine* canfyddir yr un nodweddion. O'i gydmaru â'r dynion mwyaf a galluocaf, megys Coleridge, &c., saif yn yr un berthynas â hwynt, ag a feddai Aaron i Moses. Rhyw Aaron, heb yr un Moses i'w gadw yn ei le; Aaron, gwneuthurwr y llo; offeiriad, heb fod yn broffwyd, oedd Newman; arweinydd y genedl yn ol at ddelw-addoliaeth a phaganiaeth Rhufain. Meddai galon onest, ond deall—*intellect*—anonest. Nid yw y dywediad uchod i'w bwyso hyd eithafion. Nid ydym yn gwadu nad yw gweithrediadau deallol dyn yn fynych yn meddu cymeriad moesol. Ond credwn fod y gosodiad yn cynwys gwirionedd cyffredinol nas gallwn ei eirio yn well na thrwy ddywedyd fod calon Newman yn onest, ond ei ddeall yn anonest; ei galon yn lân a syml, a'i ddeall yn drofäus yn ei weithrediadau, ac yn dywyllodrus yn ei ymresymiadau. Yn hyn yr oedd yn debyg i'w gydoeswr a'i gydymaith mewn cred, sef Mr. Gladstone. Nis gellid ameu purdeb amcanion Mr. Gladstone, a'i sêl dros gyfiawnder a thrugaredd; ond gallai, trwy ei ewyllys gref, orfodi neu lyffetheirio ei ddeall, a pheri iddo gyrraedd casgliadau na buasai byth yn eu cyrraedd pe yn berffaith rydd oddiwrth ddylanwad meistrolgar ei ewyllys. Pe tybiasai Mr. Gladstone mai mantais fawr i ryddid a chyfiawnder fuasai fod 2 a 2 yn gwneud 5, yn lle 4, elsai ati i fyfyrio

uwchben y cwestiwn yng ngoleuni y fantais hon, a chyn pen pythefnos buasai yn argyhoeddedig mai 5 oedd swm 2 a 2; yna ysgrifennasai bamphledyn hyawdl ar y pwnc, a buasai hanner Rhyddfrydwyr y deyrnas yn barod i dyngu mai 5 oedd 2 a 2; ac nad oedd neb ond ynfydion a Thoriaid yn dysgu mai 4 oedd eu swm. Gwnaeth bethau cyffelyb lawer gwaith. Amheuwr oedd Newman wrth naturiaeth. Ofnai ei ddeall, rhag, os dechreuai weithio yn rhydd ar athrawiaethau mawrion Cristionogaeth, y gallai ei arwain i'r gors. Nid oedd ganddo ddigon o ffydd mewn gwirionedd ac yn Nuw y gwirionedd. Sonia lawer gwaith yn ei lyfrau am "ddarostwng y deall" i gaethiwed ffydd. Penderfynai, yn ol ei deimladau crefyddol, pa beth a gredai, ac yna gorchymynai i'w ddeall dderbyn yr unrhyw. Ataliai ei ddeall rhag gweithredu yn rhydd ar athrawiaethau crefydd. Y canlyniad oedd, gan nas gallai gyrraedd sicrwydd mewnol, yr hwn sydd i'w ennill yn unig trwy ymdrech feddyliol a gweddi a ffydd, ac i etifeddu pa un, rhaid yn fynych rodio trwy leoedd tywyll ac anial amheuaeth, ymguddiodd dan gysgod awdurdod Eglwys. Gwrthodai brofi pob peth, a dal yr hyn sydd dda. Derbyniodd dystiolaeth yr eglwys, a llyncai y camel fel y gwybedyn ar ei gair hi. Nid oes modd i Israel Duw gyrraedd Canaan ond trwy yr anialwch, ac mae y sawl a wrthodant deithio yr anialwch yn colli peth goreu gwlad yr addewid.

Nid oes dim yn amlycach na'r gwyrni hwn ym meddwl a deall Newman. Ceir engraifft nodedig o hono lle y ceisia amddiffyn Mair-addoliaeth, fel y dengys Mozley yn ei lyfr ar Ddatblygiad Athrawiaeth. Yn ei draethawd ar "Ariaid y Bedwaredd Ganrif," amddiffyna beidio dywedyd y gwir ymhob amgylchiad, sef twyllo dynion er eu lles. Ymresyma i'r un cyfeiriad mewn Atodiad i'w *Apologia*. Gelwir yr athrawiaeth hon yn *reserve*—cadw yn ol—ac *economy*, yr hyn ellid ei gyfieithu yn "cynnildeb gyda golwg ar y gwir." Yr enwau Biblaidd a'r termau dyddiol am y pethau ydynt—"dywedyd celwydd a thwyllo." Ymddengys yr arferai rhai o'r hen dadau ddefnyddio y dull hwn yn eu hymwneyd â'r Paganiaid, ac mae llawer o'r defodwyr yn barod i wneud unrhyw beth a gyflawnai y "tadau," hyd at fwyta llaid, ond iddynt gael enw lladin neu groeg ar eu gweithred. Dilynodd defodwyr a Phabyddion cuddiedig Eglwys Loegr yr esiampl hon ar hyd ei gyrfa. Gwreiddyn hyn eto, mewn pobl wir grefyddol, yw, diffyg ffydd yn Nuw, ac yn ngrym y gwirionedd, fel pe bai pechod yn hanfodol i lwyddiant y gwir, ac nas gallai Teyrnas Nef ffynnu heb i ldi gael ei hamddiffyn â chelwydd a thwyll. Dengys Mr. Walsh fod Newman a Phusey, ac ereill, yn llawn o hyn. Dysgant un peth yn gyhoeddus a pheth arall hollol groes o'r neilldu. Dywedai Hurrell Froude—un o'r cwmni pabyddol, brawd yr hanesydd—"Er pan ddaethum adref, bum yn gwneud a allaf i broselytio mewn ffordd dan gudd—*in an underhand way*," tud. 6. Sonia Pusey, mewn llythyr at gyfaill, am "ddysgu Pabyddiaeth i ddynion heb yn wybod iddynt, tra maent hwy eu hunain yn awyddus i ddinistrio Pabyddiaeth. Credaf y gallem, yn y dull hwn, gael pobl o'n plaid yn lle yn ein herbyn, ac y caent eu hunain yn Gatholiciaid cyn iddynt wybod," tud. 10.

Prynnodd Newman dai, a thipyn o dir, yn Littlemore, ger Rhydychen, gyda'r bwriad o sefydlu mynachdy; ac addefai hynny wrth ei

gyfeillion. Ysgrifennodd yr esgob ato, a gofynnodd iddo am eglurhad ar y sefydliad yn Littlemore. Yr oedd yn wybyddus fod y Rheolau a ddilynid ynddo wedi eu sylfaenu ar y math mwyaf manwl ymhlith yr urddau mynachaidd. Mewn atebiad dywedodd Newman yn ddifloesgni mai ei amcan oedd adeiladu "Persondy" yno, ac ychwanegai nad oedd yn sefydlu mynachdy, dim tebyg i'r rhai Rhufeinig. Trwy goeg ymresymiad o barth y *material* a'r *formal* mewn dywediad a gweithred, llwydda Newman yn ei *Apologia* (Atod. 356, Argraffiad 1895) i berswadio ei hun fod "celwydd" mewn gair, neu ddistawrwydd, neu weithred, yn gyfreithlon ar rai adegau; ac mae yn amlwg iawn oddiwrth ei ddysgeidiaeth a'i hanes ef a'i ddilynwyr yr ystyriant fod dywedyd "celwydd" er budd yr eglwys yn weithred ganmoladwy. Gwyddant eu bod yn Babyddion trwyadl, ond gwadant hynny yn wynebgaled.

Yn y flwyddyn 1843 mae Newman, druan, yn tynnu yn ol, ac yn bwyta ei eiriau celyd am Eglwys Rhufain, y rhai a ysgrifennodd pan nad oedd yn eu hollol gredu, ond cydnebydd yn ei *Apologia* ei fod yn eu hysgrifennu am fod holl ddiwinyddion Eglwys Loegr wedi arfer llefaru am y Babaeth yn y dull hwn. Ceisia ddadleu yn ei hunan-amddiffyniad ei fod yn credu yr hyn a ysgrifennai, ond amlwg yw oddiwrth ei lythyrau mai ail-feddwl yw hynny. Nid oedd wedi ei ennill i fod yn Babydd, ond mynwesai syniadau Pabaidd, ac eto ymosodai yn ffyrnig ar y Babaeth, er mwyn gwrthbrofi cyhuddiadau o fod yn Babydd. (*Apologia*, tud. 200 ac ymlaen, argraffiad 1895). Fel arfer, mae ymddygiad Pusey yn llawer gwaeth. Yn 1842, dyfyna gyda mawr gymeradwyaeth eiriau Chrysostom yn erbyn "cyffesu" i offeiriaid; ac er 1838 arferai ei hunan wrando cyffesion yn lladradaidd. Trefnai i gyfarfod merched i'r perwyl hwn mewn eglwysi a thai annedd. Cyfaddefa Purcell ym mywyd Manning, ei fod yn beth cyffredin i Manning, cyn myned drosodd i Rufain, "wrando cyffesion yn Lavington a Rhydychen yn ddirgelaidd, tra y byddai yn ei Gynghorion a'i bregethau yn condemnio Pabyddiaeth a'r Pab." Gwirionedd a gwympodd yn yr heol.

Ffrwyth yr anonestrwydd, yr anwiredd dau-wynebog hwn, yw, nas gellir erbyn hyn gredu gair aml un o urddasolion a chlerigwyr cyffredin yr eglwys pan lefarant am bethau eglwysig, os na cheir profion allanol i gadarhau eu geiriau. Caniateir celu y gwir.

Mae y celwydd hwn yn bwyta i fewn i galon y genedl. Nid oes ar weinidogion y goron mwyach gywilydd i gamarwain y Senedd. Mae twyll yn ffynnu mwy mewn masnach nag erioed. Pa ryfedd, gan ei fod wedi ei gyfreithloni yng ngwasanaeth Duw, ei fod yn cael ei ddefnyddio yn ddigon tawel yng ngwasanaeth Mammon?

## CYMDEITHAS Y GROES SANCTAIDD.

Cyfyngir aelodaeth yn amryw o'r Cymdeithasau dirgel hyn i gymunwyr a gweinidogion Eglwys Loegr. Mae y sylfaenwyr a'r arweinyddion yn ddynion craff a sylwgar, ac yn deall mai disgybl yn unig fedr fradychu. Nis gall unrhyw Annas a Chaiaphas o offeiriaid mewn eglwys arall wneud y gwaith, er maint eu cynddaredd, rhaid cael

Judas o glerigwyr i ddweyd, "Henffych well!" Drwg gennym ganfod mai nid un o ddeuddeg yw Judas yn yr Eglwys Wladol heddyw, ond gellir eu cyfrif wrth y miloedd.

Y pethau y gosodasant eu bryd ar eu hadferu i Eglwys Loegr ydynt:—1. Yr offeren a'r gyffesgell; 2. Addoli Mair a'r Seintiau; 3. Purdan a gweddïo dros y marw; ac aiff llu mawr o honynt can belled ag ewyllysio,—4. Aduniad allanol â'r Eglwys Rufeinig a'r Ddwyreiniol. Y cynllun a ddilynant i gyrraedd eu nod yw dull y Jesuitiaid. Yn wir, nid oes amheuaeth nad oes cannoedd o glerigwyr Anglicanaidd yn aelodau o'r Urdd honno. Caniateir rhagrith a thwyll o bob math "er mwyn yr eglwys," ac er mwyn gochel canlyniadau anhyfryd proffes gyhoeddus o'r ffydd Babyddol, gan y Jesuitiaid. Os amheuir gwirionedd ein gosodiad darllenner eu llyfrau Lladin ar *Moral Theology*.

Sefydlwyd amryw gymdeithasau dirgel i hyrwyddo lledaeniad athrawiaethau Pabaidd. Un o'r rhai mwyaf enwog yw "Cymdeithas y Groes Sanctaidd," yr hon a ffurfiwyd yn 1855. Ei hamcan arbennig yw ailsefydlu yr offeren a'r gyffysgell. Rhifai ei haelodau rai cannoedd, os nad miloedd, ond gan mai cyfrin yw y gymdeithas, ni hysbyswyd y cyhoedd erioed pa nifer oedd o honynt, na phwy oeddynt. Disgwylid i bob aelod wisgo croes y gymdeithas mewn modd amlwg. Pan gyfarfyddai dau frawd, cyfarchent eu gilydd â'r geiriau Lladin "Tangnefedd i ti," ac atebai y llall "Trwy y groes," os na byddai neb dieithr yn bresennol i glywed. Rhaid i bob aelod fod yn bresennol mewn dau gyfarfod o'r gymdeithas bob blwyddyn, sef ym Mai a Medi. Offrymir offeren cyn dechreu y cyfarfodydd hyn yn wastad. Rhennir y frawdoliaeth i bedwar dosbarth. Gelwir un *Y Gwyryfon*—(*celebates*)—yr hwn sydd i wisgo modrwy neilltuol fel arwydd o'u hurdd. Addunedant i beidio priodi byth, neu am rai blynyddoedd, a rhaid iddynt offrymu offeren yn ddyddiol, a chyflawni penyd bob mis o leiaf, ac adrodd gweddi ar yr oriau penodedig (chwe gwaith) bob dydd. Rhaid i bob aelod, llen, a lleyg, 1. Offrymu neu wrando offeren bob Saboth ac ar y gwyliau. 2. Dweyd offeren neu gymuno mewn ympryd er hanner nos y dydd cynt. 3. Defnyddio cyffes sacramentaidd yn ol galwad y gydwybod. Cyhoeddant lyfrau yn annog i gyffesu i'r offeiriaid. Dywedid fod 3,500 o gyffesion wedi eu gwrando mewn un eglwys yn Llundain yn y flwyddyn 1892. Defnyddiant arogldarth a "dwfr sanctaidd." Dyma'r cyfarwyddyd pa fodd i osod allan gorff marw. "Ar ol ei ddiweddu yn weddus, gosoder goleu o'i flaen, rhodder croes fechan yn ei law ar ei fynwes, tra y taeneller y corff â dwfr sanctaidd." Dyma'r ffordd i fendithio dwfr ac i'w wneud yn sanctaidd: Ar ol rhagymadrodd, dywedir, "Gwrando ar ein gweddïau, a thywallt ar y dwfr hwn nerth dy fendith, fel, yn y modd y gwasanaetha Di yn y dirgeledigaethau sanctaidd hynny (sef bedydd) y byddo iddo fod yn llesol i ninnau i fwrw allan gythreuliaid, ac ymlid ymaith afiechyd, fel y byddo i ba beth bynnag oedd yn nhai neu leoedd y ffyddloniaid a daeneller âg ef, gael ei ryddhau oddiwrth bob aflendid, a'i waredu rhag anaf" (tud. 63). Mewn man arall (tud. 247—8) cawn y ffurf sydd i'w defnyddio pan yn sancteiddio "ffyn" a "blodau" a "chroesau," ac i ymlid y "diafol allan o honynt." Darllenwn fod ein Harglwydd Iesu Grist yn bwrw allan gythreuliaid o ddynion, ac yn goddef iddynt fyned i'r

moch. Ond mae'n amlwg, yn y fan yma, fod y cythraul mud a dwl, pan yn gadael y dwfr, &c, yn myned i'r dynion. Pwy ond paganiaid ofergoelus a fuasai yn breuddwydio fod cythraul mewn pren a blodyn! Ffon a chythraul ynddi! Os oes y fath beth, onid da fuasai ei gosod yn drom ar gefn yr ynfydion hyn sydd yn diddymu gwirionedd Duw âg ofergoelion ffol. Rhyfedd y ffwlbri a gredir gan ddynion pan ymadawant oddiwrth symledd yr efengyl. Paganiaeth Gristionogol yw Pabyddiaeth ac Uchel Eglwysyddiaeth. Addolant bobpeth ond Duw a Christ. Darostyngant Dduw i fod yn Gynsurwr mawr, i chwareu pranciau ffol ar gais a gorchymyn offeiriad, yn lle bod yn Ysbryd, ac yn Dad yr Ysbrydoedd, ac i'w addoli mewn ysbryd a gwirionedd, ac nid â defodau plentynaidd.

### RHAI O'R DEFODAU.

Yn nesaf at offeren nid oes dim y gosodir mwy o bwys arno gan y Pabyddion dirgel ac agored nag ar y gyffesgell. Trwy hon y llwyddant i sicrhau awdurdod ar y rhai a dwyllir ganddynt. Pa ddrwg, medd rhywun, sydd mewn cyffesu pechod i gyd-ddyn, yn enwedig pan y mae y gweinidog neu'r offeiriad y cyffesir iddo yn ŵr call, profiadol, a gwir dduwiol? Atebwn, mae yn gosod offeiriad cydrhwng dyn a Duw. Amcan yr efengyl yw dwyn Duw a dyn wyneb yn wyneb; a hen arfer dyn yw ceisio ymguddio rhag Duw. Yn ymarferol cymer yr offeiriad yn y gyffesgell le Duw yn nheimlad y cyffesydd. Fel mae delw o Grist, &c., yn y pen draw, yn lle bod yn gynorthwy i sylweddoli ei bresennoldeb, yn sefyll yn ei le, ac yn myned yn wrthddrych addoliad, felly mae cyffesu i ddyn, a derbyn gollyngdcd neu faddeuant ganddo, yn myned cyn hir yr un peth i gydwybod yr addolwr â chyffesu i a derbyn maddeuant gan Dduw. Nid oes un arferiad yn fwy dinistriol i hunanbarch ac annibyniaeth cymeriad na hyn. Dysgir i blant fod yr offeiriad yn sefyll yn lle Duw iddynt, a dygir hwy i'r gyffesgell yn yr oedran tyner o chwech ac wyth. Bygythir hwy, os na chyffesant yr oll, eu bod yn dywedyd celwydd wrth Dduw, a rhoddir ar ddeall iddynt nad oes maddeuant i'w gael ond trwy yr offeiriad. Trwy yr eglwys yn unig y mae dyfodiad at Dduw. Dywed y Testament Newydd fod i ni ddyfodfa at Dduw yn uniongyrchol trwy Iesu Grist (Eph. iii. 12), ond nid Gair Duw yw rheol y tylwyth yma, eithr halogedig chwedlau y Tadau. Mewn perthynas i hyn ceir dyfyniadau tra dyddorol ar tud. 268 o *Lythyrau Newman* pan yn ŵr ieuanc heb ei ddallu, yn cydnabod gyda syndod fod y tadau boreuol megys Athanasius a Theodoret yn cymeryd yr Ysgrythyrau yn sylfaen eu cred, ac yn y cynghorau apeliant at yr Ysgrythyr yn unig. Buan yr anghofiodd ei ddarganfyddiad, ac aeth ar ol athrawon dieithr, gan wrthod didwyll laeth y gair. Ond i ddychwelyd at y gyffesgell. Gwreiddir plant mewn parch i'r gyffesgell a'r offeiriad; ac ni a wyddom oll pa mor anhawdd yw dinistrio effeithiau addysg ieuenctyd. I bobl, yn enwedig merched sydd yn naturiol grefyddol, a chydwybodau tyner ganddynt, mae gorthrwm y gyffesgell yn llethol. Ofnant rhag na buont yn ddigon gonest, a gosodant eu hunain yn gyfangwbl yn llaw ei cyffeswr. Efe sydd yn lle Duw iddynt. Gwnant yn ol ei orchymyn ym mhobpeth, a phan ddigwydd i'r offeiriad fod yn ddyn drwg, ac mae hyn yn digwydd yn lled fynych, nid oes diwedd ar

yr anghyfiawnder a'r drygioni a gyflawnir trwy y moddion hyn. Yn wir mae meddu y dylanwad a'r awdurdod eang hon a'r feddyliau a chydwybodau yn tueddu i lygru hyd yn oed dynion da, ac yn demtasiwn iddynt wneuthur defnydd anghyfreithlon o'u hawdurdod. Sonia Mr. Walsh am dri gweinidog a arweiniwyd i anfoesoldeb trwy y gyffesgell. Nid yw yr esiamplau a noda ond engreifftiau o lawer o bethau cyffelyb. Gŵyr pawb hyddysg yn llenyddiaeth Ewrob cyn y bymthegfed ganrif fod anfoesoldeb offeiriaid yn *standing joke*. Cyhoedda'r Jesuitiaid lawlyfrau yn dysgu yr offeiriaid pa fodd i gyffesu. Yn Lladin yr ysgrifennwyd llawer o honynt, ac ambell un yn y Ffrancaeg. Cynnwysa rhai o'r llyfrau yma y pethau mwyaf halogedig. Ymddengys y gall cyffesydd—yr offeiriad sydd yn derbyn y gyffes—ofyn cwestiynau i ddynion a merched, priod a dibriod, yng nghylch materion na fynai neb glân ei feddwl siarad am danynt wrth ei gyfaill mynwesol—pethau ydynt i dewi yn eu cylch ac i'w cyffesu wrth Duw yn unig. Cyhoeddwyd llyfr Saesneg dan yr enw *Priest in Absolution*, rhydd-gyfieithiad o un o'r llyfrau aflan hyn yn Ffrancaeg—math o gyfarwyddyd i'r offeiriad pa fodd i dderbyn cyffes. Cynnwysa hwn fel y llyfrau Jesuitaidd bethau dychrynllyd ac anfad. Dadlennwyd ef yn Nhy'r Arglwyddi yn 1877, darllennwyd darnau o hono gan y diweddar Arglwydd Redesdale, ond yr oedd y dyfyniadau mor lygredig fel na chyhoeddwyd mo honynt hyd yn oed yn *Hansard*. Lledaenid y gwaith gan Gymdeithas y Groes Sanctaidd, y rhai a brynnasant yr holl gopïau ar ol marwolaeth yr awdwr. Gwerthid ef i offeiriaid cyffesawl yn unig, ac nid oes amheuaeth na ddefnyddid ef yn helaeth. Parodd y dadleniad gyffro anghyffredin, ond fel y dengys Mr. Walsh gwrthododd y gymdeithas dinistrio y copïau o'r llyfr oedd yn weddill. Ni chywilyddiasant fel corff o'i herwydd, ond amddiffynnant ef, gan haeru fod yn rhaid i feddyg enaid wybod am holl ddrygioni pechod fel y dylai meddyg y corff ddeall am bob pla ac afiechyd. Anghofiasant y gwirionedd nad offeiriad yw meddyg enaid, ond Crist. Mae efe yn sanctaidd ac yn ddidoledig oddiwrth bechaduriaid, ond mae pob cyffyrddiad â phechod yn halogi dyn er iddo fod yn offeiriad ac yn dduwiol. Amlwg fod yr esgobion mewn cyngrair â'r gymdeithas yma, neu o leiaf yn cydymdeimlo yn fawr â'i hamcanion. Buont yn dra thyner wrthi gyda golwg ar y llyfr (tud. 120), a darfyddodd eu hymchwiliad mewn mwg.

Dealler am yr oll a ysgrifennir yn yr erthygl hon mai âg egwyddorion a'u tuedd naturiol y mae a fynom. Nid oes dadl yng nghylch annuwioldeb y rhai hynny. Dichon fod dynion da a gwir grefyddol yn credu yr holl ffolineb yma, oblegyd peth rhyfedd iawn yw pen a chalon dyn, a gall dynion drwg ac annuwiol iawn fod yn Brotestaniaid i'r carn. Er cydnabod hyn oll, effaith Protestaniaeth yw dyrchafu dyn a chenedl, eu puro a'u sancteiddio, ond dylanwad Pabyddiaeth yw darostwng a llygru trwy osod eglwys rhwng dyn a'i Dduw, a gwneuthur crefydd yn gylch o gyflawniadau allanol a defodau plentynaidd, neu hwyrach yn fwy cywir—gwneuthur y pethau yma yn rhannau pwysig a hanfodol o grefydd. Pan ddarllener gweithiau y Pabyddion goreu, yn dduwinyddion ac esbonwyr, rhyfedd cynifer o osodiadau athrawiaethol tebyg i'r eiddo y Protestaniaid geir ynddynt, y cyfryw ag y gall pob Protestant

eang ei syniadau eu derbyn o ran eu sylwedd, er y dymunai newid eu geiriau yn fynych. Nid perygl y Babaeth yw yn gymaint, ei chyfeiliornadau diamheuol. Ceir y rhai hyn yn y gyfundrefn, ond yn y pen draw cydnabyddir am lawer o honynt nad ydynt yn angenrheidiol er iachawdwriaeth. Cred y Pabydd fel y Protestant yn Nuw, yn y Drindod, yn Mherson Crist fel Duw-ddyn, ac unig Geidwad pechadur, yn yr Iawn, mewn maddeuant pechodau, mewn nefoedd ac uffern, yn yr Adgyfodiad; niwed y Babaeth yw symud y canolbwynt, nid gwadu Crist ond gosod yr eglwys ac offeiriad yn ei chynrychioli rhwng pechadur â Christ. Nid gwadu yn bendant digonolrwydd yr iawn ond ychwanegu gweithredoedd da a defodau; mewn gair gwthio y pethau hanfodol i'r cysgod braidd a gosod arbenigrwydd ar yr hyn sydd yn ddibwys ac yn hollol afreidiol. Mae'n angenrheidiol i ddyn gael gwisg gyfatebol i'r hîn, ond nid yw o ddim pwys er iechyd pa hyd fydd ei gôt, pa liw fydd ei grys, pa lûn fydd ar ei hèt, pa ffurf fydd ar ei esgidiau. Gosod pwys ar yr allanolion yw prif gyfeiliornad y Babaeth, ond yn ymarferol mae'n aml yn arwain dyn oddiwrth Grist at Belial. Yn ddiweddar adroddai y *Daily Chronicle*, fel *joke*, ddywediad Offeiriad Anglicanaidd o barth i arogldarth mewn atebiad i un a wrthwynebai sawyr anhyfryd y mwg hwnnw, "Dau arogl annymunol sydd, arogldarth a brwmstan, a rhaid i ddyn ddygymod â'r naill neu'r llall." Tybiai y newyddiadur Llundeinig fod yr ateb yn un gwerth ei gofnodi. Buasai yn llawer mwy cywir pe dywedasai fod ymddiried yn rhinwedd arogldarth a'r gyffesgell, &c., wedi bod lawer tro y ffordd unionaf i uffern. Cuddio yr Efengyl, ac nid ei gwadu wna y Babaeth, am hynny mae'n fwy peryglus ac yn anhaws ei hargyhoeddi.

O. C. R.

Saif y llythyrenau uchod am ditl cymdeithas ddirgel arall, *Order of Corporate Reunion*—Urdd Aduniad Ymgorfforedig. Amcan hon yw nid lefeinio yr Eglwys â syniadau ac arferion pabaidd yn unig ond dwyn Eglwys Loegr drosodd fel corff i undeb allanol â'r Babaeth a than awdurdod y Pab. Gwedir bodolaeth y Gymdeithas fel ei desgrifir, a gwedir yn gyfangwbl wirionedd haeriadau Mr. Walsh gyda golwg arni. Nis gwyddom pa le mae y gwir. Ond rhaid cydnabod fod gennym bob rheswm seiliedig ar debygolrwydd pethau dros gredu ynddi a choelio sylwedd yr hyn a ddywed ein hawdwr. Ymhellach gwelsom nad gwiw ymddiried yn ngwadiadau yr offeiriaid bradwrus hyn. Mae celu o wydd yn rhan o'u cred a'u harfer. Dywedir fod aelodau o'r gymdeithas hon wedi derbyn ordeiniad esgob gan Eglwys Rhufain er mwyn iddynt allu ail ordeinio offeiriaid Saesneg a rhoddi iddynt y gallu i aberthu yr offeren. Gweddïir yn gyhoeddus dros y Pab a deisyfir y dydd y bydd ei awdurdod yn cael ei chydnabod yn ein gwlad o ben bwy gilydd. Ychwanegir fod 800 o glerigwyr Eglwys Loegr wedi derbyn yr ordeiniad yma. Nid oes dim anhygoel yn y syniad. Gwrthododd y Pab gydnabod cyfreithlondeb urddau Eglwys Loegr er i Arglwydd Halifax a Mr. Gladstone ymgrymu ger ei fron. Cred y defodwyr yn yr urddau hynny, a phaham nas gellir yn hawdd goelio fod dynion sydd yn anffyddlon i erthyglau eu Heglwys yn fradwyr i urddau yr Eglwys honno hefyd?

## Y LLIEINDAI.

Cyfrifir fod yn awr fwy o chwïorydd yn perthyn i'r sefydliadau yma yn Lloegr nag oedd cyn y Diwygiad Protestanaidd. Eto nid yw y ffaith uchod mor ddifrifol ag yr ymddengys, er ei bod yn un alarus ddigon, oblegyd cynnydd mawr y boblogaeth er dyddiau Harri VIII. Dr. Pusey fu yn foddion i sylfaenu y llieindai hyn, ac efe a roddodd iddynt eu rheolau cyntefig. Aeth i'r Iwerddon am ddau fis i astudio y sefydliadau. Yno derbyniodd groesaw neillduol gan yr anwyl gariadus frodyr. Ymwelodd â Ffrainc i'r un amcan. Nis gŵyr neb oddiallan beth yw natur yr adduned a gymerir gan y chwïorydd wrth ymaelodi yn un o'r tai yma. Hyn sydd hysbys fod ufudd-dod dall i'r awdurdodau yn rhan o'r ymrwymiad. Yn ychwanegol, yn ol geiriau Dr Pusey ei hun, anogir ar fod y parch mwyaf yn cael ei dalu i'r offeiriad cyffesol. "Dylid edrych arnynt," medd efe, "fel angelion anfonedig gan Dduw i'n cymodi â'i ddaioni." Ac er iddynt ddangos tipyn o wendidau dynol trwy holi gormod parthed eu rhinweddau a'u temtasiynau, eto cynghorir hwy i ateb y gofyniadau amhriodol yma—"*lieutenants* Duw ar y ddaear ydynt" (tud. 167). Cynwysa'r addunedd o ufudd-dod fod i'r ferch gyflawni pob swydd isel, hyd yn oed cau esgidiau y chwaer sydd yn bennaeth, ac os teimla honno ar ei chalon roddi hergwd â'i throed arall i'r chwaer disgwylir i'r llall ei ddioddef yn ddistaw. Gorchymynnwyd i un chwaer gan ei thad cyffesol i orwedd ar ei hyd ar y llawr, ac i lyfu llun croes yn y llwch (tud. 168). Weithiau disgwylir i chwaer roddi i fyny trwy weithred gyfreithiol bob ceiniog o'i heiddo. Crybwyllir am un felly oedd yn werth £1200 y flwyddyn pan ymunodd âg un o lieindai Dr. Pussey, ac a aeth allan oddiyno ymhen rhai blynyddoedd heb yr un ddimai i fyned i mewn i lieindŷ Pabaidd. Unwaith yr êl merch ieuanc wan ei meddwl, oblegyd fel rheol un felly yn unig, neu o leiaf, nid un o feddwl cryf a gwrol, a gymer ei pherswadio i ymuno, merch ieuanc o dueddiadau naturiol crefyddol a chydwybod dyner, mae yn gyfangwbl yn llaw yr offeiriad a'r pennaeth, i'w chystuddio gorff ac ysbryd, heb dderbyn ymwared oddiwrth deulu na chyfeillion. Mewn rhai tai gweinyddir pennyd, gorfodir i'r chwïorydd fflangellu eu hunain, neu cyflawna y Fam Bennaeth y gwasanaeth iddynt. Ar tud. 40 rhoddir hanes merch yn gorfod dinoethi ei chefn er mwyn i'r fam gael ei chwipio, "i'r diben o fwrw allan y diafol o honi." Fflangellwyd hi nes yr oedd ei chefn yn "ddu a glas a gwyrdd i gyd drosto." Mae creulondeb yn cydfyned âg ofergoeledd bob amser ac ymhob man. Gelwir yr oruchwyliaeth hon "y ddisgyblaeth," a phrofir gan Mr. Walsh fod cannoedd o eglwyswyr yn poenydio eu hunain yn y dull hwn am eu pechodau. Y fflangell a ystyrir y fwyaf cysegredig yw un o bum cortyn a pum cwlwm ar bob un, er côf am bum clwyf Crist. Gwisgai Pusey grys o rawn garw yn nesaf at ei groen am flynyddau. Mae hefyd galon bigog wedi ei gwneuthur o wifr llym cymlhethedig, i'w dodi ar y fron; a gellir cael breichledau ac *anklets* o'r un dull annynol. Nis gwyddom i ba raddau y defnyddir yr offerynau hyn oddiallan, ond argymhellir eu harfer yn y llieindai. Ynglŷn â rhai o'r tai mae claddfeydd prifat. Diau y gallent fod yn gyfleus at lawer amgylchiad.

Wrth gyflwyno gwisg yr urdd i'r chwaer ar ei mynediad i mewn, bendithir hi, h.y., y wisg, fel "sicr amddiffyniad, dechreuad sancteiddrwydd, a chysgod cryf rhag saethau y gelyn." Mewn tŷ arall cenir hymn er mawl i amdo Crist, ac i'r "bicell a'r hoelion"—nid i Grist ddioddefodd y pethau hyn, ond i'r offerynau difywyd a ddefnyddiodd ei elynion i'w groeshoelio.

Nid ydym yn awgrymu fod yr uchod yn ddarlun o'r bywyd a ddilynir ymhob lleiandy, ond yn yr eithafion mae deall ysbryd a thuedd sefydliadau. Crewyd dyn i lywodraethu a rheoleiddio ei ymddygiad a'i fywyd ei hun, ac nid oes gan un dyn na dynes hawl i roddi yr awdurdod hon i neb arall. Rhodd Duw i ddyn yw ei gydwybod a'i ryddid, a gwae a'u trosglwyddo i gadwraeth arall, ni bydd heb ei gosb. Cyn gadael y pwnc hwn sonir am y *nursing sisters*, a dadlennir eu hystrywiau hwythau pan yn gweini ar y claf i baratoi y ffordd i'r offeiriad i ddod ar eu hol. Gwyddom yng Nghymru am y cynllun hwn. Gwylier rhagddynt. Mae pabeiddio meddwl y rhai a ymgeleddant yn rhan mor hanfodol o'u gwaith ac ydyw gweini ar eu cyrff. Morwynion gwasanaethgar yr offeiriaid ydynt.

### CYDFRAWDOLIAETH Y SACRAMENT BENDIGAID.

Cymdeithas hanner dirgel yw hon. Adfer yr offeren dros y byw a'r marw yw un o'i phrif amcanion. Un ffordd o wneud hynny ydyw trwy haeru nad oes gwahaniaeth hanfodol rhwng cymun Eglwys Loegr â'r offeren Babaidd—yr hyn sydd anghywir. Rhoddir bathodyn i bob aelod, a phan fydd aelod marw, yn hytrach nag i'r cyfryw fyned yn eiddo arall, cynghorir ei gladdu gyda'r trancedig. Yn y tywyllwch yr hoffa y gymdeithas hon weithio hefyd, a mawr y gofal rhag i'r newyddiaduron gael eu hanes. Offrymant offeren reolaidd dros y marw, oblegyd credant yn y purdan ac yn holl ofergoeledd y Babaeth yn ei dyddiau isaf. Eneiniant y claf a'r hwn sydd yn marw, er mwyn i'r enaint ei waredu rhag y diafol, a bod yn foddion maddeuant iddo. Ceir aelodau o'r gymdeithas hon, a rhai cyffelyb iddi, yn guradiaid a chlerigwyr mewn plwyfi a ystyrir yn efengylaidd. Nis gwyddom pa le i ddisgwyl y bradwyr. Maent yma ac acw, fel yr ysbryd yn Hamlet, yn symud eu trigfau yn ol yr amgylchiad. Pa nifer o'r tylwyth sydd yng Nghymru, nis gallwn ddyfalu. Nis gwyddom a oes rhai o'r esgobion Cymreig mewn cyngrair â hwynt, ond, a barnu oddiwrth weithredoedd bradwrus, ni synem glywed fod Ismael ac Esau yn y cynllwyn. Pa ryfedd ? Ni ddylem fod yn rhy drwm ar Edom a'i ewythr; onid yw Archesgob Canterbury wedi cysegru eglwysi yn llawn defodau Pabaidd, rhydd ollyngdod oddiwrth addunedau, cymeradwyodd lawlyfr y gymdeithas uchod, yn yr hwn y dysgir "traws-sylweddiad," "addoliad y bara," a "gwrando offeren." Caniatäodd offeren dros y meirw yn St. Ablans, Holborn, ac mewn deg o eglwysi goddefodd yr un peth yn gyhoeddus. Cynelir offeren dros y meirw mewn naw o eglwysi yn Esgobaeth Llandaf Mae yr holl glerigwyr, ond un, a appwyntiwyd i fywiolaethau gan Esgob Llanelwy, yn arfer yr *Eastward position* wrth fwrdd y cymun. Rhifa y clerigwyr defodol yn Llandaf 178, ym Mangor 41, Llanelwy 66, a Thyddewi 69.

(Gwelir am y ffeithiau uchod a'u cyffelyb "An Indictment of the Bishops." Pris 1s. Cyhoeddedig gan y *Church Association*).

Yn awr, ar ol rhoddi braslun o ymadawiad difrifol clerigwyr Eglwys Loegr oddiwrth Brotestaniaeth at Babyddiaeth, mae gennym yn fyr i geisio deall ystyr hyn, ac yna i edrych beth yw y rhagolygon a'r feddyginiaeth.

### PA GYFRIF

a ellir ei roddi am y ffaith alaethus hon fod miloedd yn Lloegr yn gwrthod symledd yr efengyl ac yn dychwelyd at ddefodau, delwau, a thraddodiadau sydd yn groes i ddysgeidiaeth bendant yr Ysgrythyrau? Nid pwnc i'w benderfynu â gair prysur neu watwareg finiog ydyw hwn, ond gofyna ystyriaeth feddylgar.

Cynwysa rhengoedd y bradwyr ddau ddosbarth, yr arweinwyr a'r dilynwyr. Nid yw y rhaniad hwn yn cyfateb i'r rhaniad arall, yw urddasolion a chyffredinolion. Nid esgob oedd Pusey, eto arweiniodd esgobion mewn llwybrau ceimion. Nid yw arweinydd gwirioneddol yn fynych yn llenwi swydd. Edrychwn i ddechreu pa esboniad a ellir ei roddi ar waith

### Y DILYNWYR.

1. Credwn fod ugeiniau o ddefodwyr sydd felly yn unig am fod defodaeth yn ffasiynol yn awr. Buasent yr un mor selog dros y Diwygiad Protostanaidd dri chan mlynedd yn ol, neu dros Fahometaniaeth gynt pe buasent byw yn Arabia. Dilynwyr ydynt. Ganwyd hwynt i ymgrymu i rywun. Nis gallant sefyll yn syth. Clai ydynt bob amser yn llaw rhyw grochenydd.

2. Medd henafiaeth swyn anorchfygol i rai meddyliau, ac mae oedran y defodau Pabaidd yn apelio yn neilltuol at eu dychymyg. Gwir nad ydyw athrawiaethau nodweddiadol y Babaeth mor hen. Rhyw dair neu bedair canrif cyn y Diwygiad y rhoddodd yr Eglwys ei sel ar "Drawsylweddiad." Y nos y bradychwyd Ef yr ordeiniwyd swper yr Arglwydd, ac ni ddaeth cymun boreuol ar ympryd yn beth cyffredin am ganrifoedd. Diweddar yw addoliad Mair a'r Seintiau, a'r apel at Draddodiad yn gyfochrog â'r Ysgrythyrau. Condemniai Chrysostom yr arferiad o gyffesu i'r offeiriad. Er yr anghysondeb yma, mawr yw swyn hen ddefodau sydd heb fod yn agos can hyned a'r gwirionedd. Hefyd, dylid cofio fod Eglwys Rhufain yn wasgaredig dros y byd, ac wedi goroesi teyrnasoedd a brenhiniaethau a chwildroadau. Ymhob gwlad cyflawna yr un gwasanaeth yn yr un dull, ac mae y syniad o fod mewn cydymffurfiad â rhan mor fawr o Gristionogaeth yn dylanwadu yn gryf ar feddyliau sydd yn fwy byw i'r allanol na'r mewnol.

3. Rhydd anallu a diddymdra meddyliol llu o glerigwyr gyfrif am eu hymlyniad wrth ddefodau. Rhaid wrth allu ac astudiaeth i bregethu a dysgu, ond gall pob ynfytyn gyflawni defodau allanol—myned trwy gylch o gyflawniadau fel eiddo offeiriad o flaen yr allor. Ni ddibynna effeithiolrwydd ei waith ar na chymeriad, na dawn, na dysg. Dyma baradwys y meddyliau llesg a gwan. Gesyd y syniad offeiriadol fri mawr ar y gweinidog, ac O mor felus i'w awdurdod a

dylanwad! Pa syndod fod dynion yn neidio at rywbeth a'u gwisg â'r cyfryw urddas? Wrth ystyried hoffder rhai at wisgoedd amryliw, nis gallwn beidio teimlo mae gwŷr y gwniadur wedi camgymeryd eu galwedigaeth ydynt. Mewn masnachdai lle y gwneir ac y dyfeisir gwychder gwisgawl y dylasant fod, ac nid yn weinidogion eglwys Crist.

YR ARWEINWYR.

Ymhlith y rhai yma ceir ugeiniau o ddynion y gorfodir i ni eu parchu ar gyfrif eu cymeriadau pur a dyrchafedig, eu duwioldeb diamheuol, eu dawn a'u gallu mawr, a'u dysgeidiaeth eang, ac eto wele hwynt yn y dyddiau yma yn ddefodwyr calonnog. Beth a ddywedwn wrth y pethau hyn?

Nid ofnwn haeru nad ydynt un amser ymhlith y meddylwyr blaenaf. Nid hwy yw y dynion sydd yn darganfod gwirionedd ac yn ei esbonio. Cyn y Diwygiad Protestanaidd yr ydoedd yn wahanol. Ond am bob gŵr mawr a fedd y Babaeth neu sydd ymhlith y defodwyr, perthyn i'r ail radd y maent,—rhai a ddefnyddiant ac a gymhwysant yr egwyddorion a ddatguddiwyd neu a eglurwyd gan ereill, megys Newman, Pusey, Gladstone. "A hon yw y ddamnedigaeth, ddyfod goleuni i'r byd a charu o ddynion y tywyllwch yn fwy na'r goleuni." Pe buasai y dynion yma wedi bod yn ffyddlawn i'r goleuni oedd ganddynt ar y dechreu, gallasent fod wedi cyflawni gwrhydri ym myd y meddwl, ond gwerthasant eu genedigaeth fraint, aethant dan draed ofergoelion, ac aeth Gladstone yn was bach i Parnell ac yn ymbiliwr wrth droedfainc y Pab yn ei hen ddyddiau. "A hon yw y ddamnedigaeth"—cosb gwrthod goleuni. "Pan dybient eu bod yn ddoethion, hwy a aethant yn ffyliaid."

Eto. Dynion oeddynt a feddent argyhoeddiad dwfn a phoenus o bechod fel y mae yn dra phechadurus ger bron Duw, ond nis gallasant ddyrchafu i'r syniad am helaethrwydd gras Duw, ac i fwynhau rhyddid yr Efengyl. Ni ddarfu iddynt erioed sylweddoli hyd a lled, uchder a dyfnder, ystyr yr ymadrodd, "Efe a archollwyd am ein camweddau ni, efe a ddrylliwyd am ein hanwireddau ni, cosbedigaeth ein heddwch ni oedd arno ef, a thrwy ei gleisiau ef yr iachawyd ni." "Dawn Duw yw bywyd tragwyddol," ac nid peth i'w ennill trwy weithredoedd. Yr un ddadl ag oedd gynt rhwng Paul a'r Iddewon sydd heddyw rhwng Protestaniaid a Phabyddion neu ddefodwyr. Oblegyd diffyg amgyffred mai "lle yr amlhaodd pechod y rhagor amlhaodd gras," ceisia y dynion yma ddwyn pobl dan iau caethiwed i ddefodau beichus "yr hon nid allai ein tadau ni na ninnau ei dwyn" (Act. xv. 10). Nid trwy weithredoedd y ddeddf y cyfiawnheir dyn ger bron Duw, nid trwy bennyd, nid trwy weddïo bob awr o'r dydd a'r nos, nid trwy fynych gymuno, nid trwy wisgoedd amryw na golchiadau ac ympryd, a defodau fil. "Canys hwynt hwy heb wybod cyfiawnder Duw," medd Paul (Rhuf. x. 3, 4), ac yn ceisio gosod eu cyfiawnder eu hunain, nid ymostyngasant i gyfiawnder Duw. "Canys Crist yw diwedd y ddeddf, er cyfiawnder i bob un ar sydd yn credu." "Diwedd i ddeddf," medd Sanday yn ei esboniad, "nid y ddeddf Iddewig yn unig, ond diwedd i bob ymgais i gyrhaedd bywyd tragwyddol trwy ddeddf." Dyma y gwirionedd sylfaenol a wedir gan y defodwyr. Canlyniad ymarferol defodaeth ymhob oes yw hwn. "Y maent yn rhoi mawr serch arnoch, ond nid yn

dda, eithr chwennych y maent eich cau chwi allan, fel y rhoddoch fawr serch arnynt hwy" (Gal. iv. 17). Diwedd mawr serch yr offeiriaid a'r curadiaid, a'r chwïorydd ar werin Cymru yw eu harwain i gaethiwed, a'u dwyn i roddi mawr serch arnynt hwy.

Drachefn credwn fod a fynno y syniad am eglwys fel un corff gweledig ar hyd yr oesoedd, a'r athrawiaeth am yr "Olyniaeth Apostolaidd," lawer â defodaeth a Phabyddiaeth yr arweinwyr. Dyma sylfaen offeiriadaeth yr eglwys ar wahân i offeiriadaeth y credinwyr. Hawlia Eglwys Loegr ragorfraint fel eglwys. Gesyd pob amser ormod o bwys yn ol barn Protestaniaid, ar ryw rîn sydd ganddi na fedd unrhyw gorff arall. Beth yw hwnnw? Ordeiniad gan esgob? Pa rîn sydd yn hynny? Nid yw yn eu gwneud yn well pregethwyr, nac yn well dynion. Beth mae yn ei wneud? Rhaid felly mai galluogi ei gweinidogion i weinyddu y sacramentau yn fwy effeithiol nag y gwna gweinidogion heb dderbyn urddau esgobol. Dyma eu haeriad. Nis gellir profi rhagoroldeb sacramentau eglwysig ar rai ereill, ond credant hwy ynddynt. O ba le y daeth rhinwedd i esgobion Eglwys Loegr i ordeinio rhagor i Esgobion y Wesleyaid? Daeth, meddir, o'r ffaith eu bod wedi eu hordeinio gan esgobion ereill a dderbyniasant eu hurddau yn llinyn i lawr o ddyddiau yr apostolion. Nis gellir profi, ond credir hynny, ac ar sail y grediniaeth hon diystyrir eglwysi ereill. Dywed Newman, yn ei *Apologia*, fod un o'r enw y Parch. William James, cymrawd yng Ngholeg Oriel, yn 1823, wedi dysgu iddo athrawiaeth yr "Olyniaeth Apostolaidd" yn ystod tro o amgylch Gwern Christ Church. Nid aeth Newman byth yn ol i chwilio seiliau yr athrawiaeth hon. Derbyniodd a chredodd hi fel rhan o'r ddeddf foesol byth wedyn, ac eto dyma wreiddyn ei gamgymeriad. Gan fod Olyniaeth Apostolaidd yn bod, rhaid iddi wneuthur rhywbeth. Beth fydd hynny atolwg ond yr hyn a wna yn Eglwys Rhufain, sef gosod gallu goruwchnaturiol mewn offeiriad i droi y bara yn gorff Crist? Cyn hir gwelodd Newman nad oedd Eglwys Loegr yn yr Olyniaeth. Tueddid ef gan y ddau deimlad yma—ofn ei ddeall, ac ofn anffyddiaeth, a chanfyddiad nad oedd urddau Eglwys Loegr yn gyflawn—i ymuno â'r Babaeth. Ac wedi iddo ddechreu llyncu, daliodd ati nes y llyncodd y gyfundrefn yn ei chrynswth.

Mae o'r pwys mwyaf i burdeb y ffydd Brotestanaidd i ni ymryddhau o'r dychymyg disail am eglwys fel un corff gweledig, yn lle cydgasgliad o bawb sydd yn caru yr Arglwydd Iesu ymha le bynnag eu ceir. Nid oes un rhinwedd mewn ordeiniad. Mater o drefn yw yn unig. Ar wahân i hynny ni fedd gweinidog fwy o hawl i weinyddu yr ordinhadau o Fedydd a Swper yr Arglwydd nag unrhyw aelod arall. Priodol yw i eglwys benodi ei swyddogion, ond nid oes un rhîn yn y penodiad. Eiddo Crist yw dawn y weinidogaeth, ac efe a'i cyfranna yn ol ei ewyllys ei hun, weithiau trwy offerynoliaeth yr eglwys yn ordeinio ac weithiau heb yr un ordeiniad. "Y mae y gwynt yn chwythu lle y myno." Dibyna rhinwedd y Sacramentau ar Air Duw a gweddi ac nid ar y gweinyddwr yn y gradd lleiaf. Nid yw Crist yn gorfforol breseunol yn Swper yr Arglwydd, ond y mae yn bresennol i'r sawl sydd yn bwyta yn deilwng. Yn hynny mae'r fendith, ac nid mewn dim arall.

## Y RHAGOLYGON A'R FEDDYGINIAETH.

Galara a dwrdia Mr. Walsh bob yn ail am na byddai yr esgobion yn gwneuthur eu dyledswydd. Druain o honynt. Nis gallent wneuthur mwy nag y maent yn ei wneud, oblegyd, yn un peth, mae rhai o honynt yn y camwedd eu hunain, ac yn ail, mae eu gallu yn ol y gyfraith yn rhy gyfyng a drudfawr i fod yn effeithiol; ac yn drydedd, mae y cyffredin o'r Esgobion yn ddynion rhy weiniaid a rhy amddifaid o argyhoeddiad dwfn ar unrhyw bwnc ond eu safle eu hunain, i fentro wynebu yr ystorm a godai pe ceisiant symud yn y cyfeiriad a awgrymir. Nid yw awdwyr fel Mr. Walsh ac aelodau y *Church Association* wedi deall eto mai nid trwy nerth ac nid trwy lu, nid trwy awdurdod cyfraith, nid trwy rym deddf yn llaw esgob mae darostwng anwiredd fel eiddo brad yr offeiriaid yn Eglwys Loegr. Dyna ysbryd a dull Eglwys Rhufain. Mae cyfeiliornad fel hyn yn perthyn i gylch hollol wahanol i deyrnas deddf. Nis gall cyfraith fennu arno. Efe a chwardd am ben llu o seneddwyr a deddfwr, oblegyd nid yw ddarostyngedig iddynt ac nis gall chwaith. Cydnabyddwn na ddylai dynion fod yn aelodau o unrhyw gymdeithas sydd wedi ymdynghedu i chwildroi ei chyfansoddiad. Ar yr un pryd mae llawer i'w ddwedyd ar y pen yna hefyd. Gan eu bod yn tybio mai dysgeidiaeth y gwirionedd sydd ganddynt, a'u bod yn argyhoeddedig fod Eglwys Loegr wedi gadael y gwirionedd ond fod yn bosibl eu hadfer iddo trwy eu hymdrechion hwy, &c.,—cofiwn gallent wneuthur amddiffyniad rhagorol iddynt eu hunain yn y cyfeiriad hwn.

Gesyd rhai unig obaith gwaredigaeth mewn dadgysylltiad. Credwn mewn dadgysylltiad a dadwaddoliad; ïe yn wir, mae llawer mwy o reswm mewn Pab (yr hwn sydd offeiriad) a choleg y Cardinaliaid fel Pen a Llywodraethwyr Eglwys Crist nag sydd mewn Teyrn coronog a Chyfrin Gyngor tymorol fel yn Lloegr. Gan fod cyfraith wladol yn sicrhau cynnaliaeth clerigwyr, dylent gael profi ei mîn pan droseddant ei gorchymyn. Gwanychid grym y symudiad gan ddadgysylltiad; collai y parch a'r urddas a fedd yn rhinwedd ei gysylltiad â'r wladwriaeth. Dylai yr eglwys sefyll ar ei gwadnau ei hun. Dylai Eglwys Crist fod yn rhydd i lywodraethu ei hamgylchiadau. Ond er cydnabod hyn oll, ni wna cyfnewidiad allanol megys dadgysylltiad gyffwrdd â'r drwg mewnol—fwrw allan y surdoes Pabaidd o'r blawd, mwy nac y byddai newid tŷ a dillad yn effeithiol i ymlid ymaith wenwyn haint o waed dyn. Rhaid cael meddyginiaeth fwy treiddgar na gallu esgob na deddf seneddol a dadgysylltiad—dim llai na GAIR DUW a'i YSBRYD, trwy yr hwn y daeth y Diwygiad Protestanaidd yn y dyddiau gynt, trwy hwn yn unig y gellir bwrw allan y cyfeiliornad yn awr. Hwn sydd farwol i Babyddiaeth. Gŵyr Eglwys Rhufain hynny yn dda. Geilw y defodwyr y Bibl yn lyfr y Protestaniaid, cadwant ef o ddwylaw y bobl, cymhellant y Llyfr Gweddi Cyffredin yn hytrach na'r Bibl,* gosodant bwys ar gyffesu ac nid ar ddarllen y

* "Mae y Bibl heb nôd nac esboniad nid yn unig yn ddiddefnydd ond yn beryglus i foesoldeb a gwirionedd," medd y Parch. Baring Gould yn *Golden Gate*. Dyfynnir llawer o ymadroddion cyffelyb o gyhoeddiadau y Defodwyr am y Bibl (tud. 378—5), "Dyfais y diafol yw Cristionogaeth Fiblaidd," medd arall.

Gair, ar fynychu yr Eglwys ac nid ar geisio deall yr Ysgrythyrau. Dywed Canon Góre yn ei lyfr ar "Honiadau y Babaeth" ddarfod i'r Pabyddion yn Ffrainc gyhoeddi cyfieithiad Ffrancaeg o'r Testament Newydd pan ddechreuodd y pererindodau ofergoelus i Lourdes, a gwerthai wrth y miloedd, ond buan iawn yr ataliwyd ei werthiant dan yr esgus o fod y cyfieithiad yn anghywir, ac ni ymddangosodd cyfieithiad diwygiedig byth. Na, mae y Babaeth yn rhy gyfrwys i ollwng gelyn i mewn trwy'r pyrth. Ond mae gobaith am Loegr: dyma wlad sydd yn meddu rhyddid a Bibl agored. Daw llyfrau crefyddol allan o'r wasg yn genllif bob blwyddyn, ac mae i lawlyfrau ac esboniadau ledaeniad eang. Hyd yn hyn yr offeiriaid, ac nid corff y boblogaeth, sydd wedi eu llygad-dynnu. Mae gormod o gariad at ryddid yn mynwes Saeson iddynt byth fyned dan iau offeiriad, fel cenedl.

Y feddyginiaeth felly ydyw galw sylw eto at ddysgeidiaeth y Testament Newydd, archoffeiriadaeth Crist a'i iawn digonol, a'r rhyddhad ynddo oddiwrth ddeddf ordeiniadau, offeiriadaeth yr holl saint, syniadau Ysgrythyrol am eglwys ac ordeiniad, ac mae eiddo yr eglwys yw Paul a Chephas, ac Apolos, ac mai nid gweinidogion sydd yn gwneuthur eglwys yn gyflawn, ond mai eglwys sydd yn gosod gweinidogion, ac mai yn yr eglwys ei hun, sef yng nghynulliad yr aelodau sydd mewn oedran, y mae ffynonell pob awdurdod i ordeinio a gweini disgyblaeth a llywodraethu. EFENGYL FEDR LADD PABYDDIAETH, ac nid esgob na senedd.

Mae ymddangosiad y gyfrol hon, a'r cyffro a achosir ganddi, yn arwydd ragorol. Gwell na hyn yw fod ffrwyth dysgeidiaeth ddiweddar ym myned i wrthbrofi honiadau y Babaeth. Yn yr Almaen, ac yn Lloegr, mae dysgedigion yn dychwelyd i'r hen lwybrau at yr athrawiaethau efengylaidd. Nis gellir dymuno esboniadau mwy Protestanaidd eu golygiadau, a mwy dysgedig a galluog, na'r eiddo Westcott, Lightfoot, Sanday, a Headlam, Mayor Ellicott, Alford, Plummer, a Plumptre, ac ereill y gellid eu nodi—oll yn eglwyswyr, —ac yn dysgu cyfiawnhad trwy ffydd fel Paul a'r diwygwyr. Cyhoeddwyd yn ddiweddar draethawd byr, ond digymar, o waith y diweddar Dr. Hort ar yr eglwys, yn yr hwn y dengys nad oes gan esgobyddiaeth yr un sail Ysgrythyrol cadarnach na Henaduriaeth neu Annibyniaeth. Anhawdd prisio gwerth argraffiad Lightfoot o'r Tadau Apostolaidd yn ei berthynas â Phrotestaniaeth. Mae gwendid difrifol llyfr Canon Góre ar y weinidogaeth yn beth i ddiolch am dano, ac yn gaffaeliad sylweddol i fyddin y gwirionedd. Mae fod gŵr fel efe yn dadleu mor wan dros ei ochr yn profi na fedd yr ochr hono gadernid gwirionedd, onide buasai Canon Góre wedi dod hyd iddo. Ymddiriedwn yn y Gwirionedd. Byddwn bybyr iddo a chadarn drosto. Mae y gwirionedd fel melinau Duw yn gwneuthur ei waith yn araf deg, ond yn hynod drwyadl. "Nid trwy lu, ac nid trwy nerth, ond trwy fy ysbryd medd Arglwydd y Lluoedd."

R. H. MORGAN.

*Lluesty, Upper Bangor.*
*Rhag.* 15, 1898.

# Y SACRAMENTAU.

## I.

YR EGLWYS: EI SACRAMENTAU A'I GWEINIDOGAETH. *Darlith Davies am* 1897. *Gan* WILLIAM JAMES, B.A. *Wrexham: Hughes and Son.* 3s. 6ch.

### YMDDIDDAN RHWNG GWEINIDOG A DIACON.*

GWEINIDOG. Yr wyf yn deall eich bod wedi prynnu, ac wedi darllen yn fanwl, lyfr newydd Dr. James. Mae yn iawn i mi ei alw yn Ddr., canys y mae yn llawn deilyngu y titl. Mae yn llawenydd gennyf ddeall fod lleygwr fel chwi yn cymeryd dyddordeb yn y fath destyn, ac mewn llyfr sydd wedi ei ysgrifennu mor ysgolheigaidd. Beth ydych yn ei feddwl o'r llyfr?

DIACON. Wel, gan i chwi ofyn i mi, mi ddywedaf i chwi, mor bell ag y mae yn iawn i "leygwr" fel fi ddatgan barn ar waith gŵr o sefyllfa yr awdwr. Mae yn amlwg fod Dr. James yn feddyliwr craff, yn ŵr dysgedig, ei fod wedi darllen yn helaeth ar y testyn yn ei holl gysylltiadau, ei fod yn gallu ysgrifennu Cymraeg da ac eglur, ac yn arbennig ei fod yn un, y mae yn ymddangos, sydd yn hoff o'i bwnc; oblegyd dywed yn y Rhagymadrodd fod y pwnc wedi cymeryd llwyr feddiant arno. Wrth ddweyd ychydig o fy meddwl ar y llyfr, gan hynny, peidiwch a thybied fy mod yn honni cymhwysder i allu beirniadu y llyfr. Y cwbl a wnaf fydd sylwi ar rai pethau sydd wedi fy nharo i wrth ei ddarllen. Mae'n bur debyg na ddarfu i chwi, wrth fyned drosto, deimlo dim o'r anhawsderau ag y teimlais i. Caniatewch i mi yn y fan hon wneud un sylw cyffredinol. Pan yn darllen llyfr ar y fath destyn a hwn, gan wŷr fel chwi—hynny yw, rhai yn perthyn i'r swydd weinidogaethol fel chwi, ac wedi cael addysg athrofäol—byddaf yn methu peidio meddwl am y prydiau hynny y byddwn yn troi i mewn i lysoedd cyfreithiol ein gwlad. Byddai rhyw fater pwysig yn cael ei drin ynddynt yn dwyn perthynas agos iawn â hawliau neu ryddid personau neilltuol, feallai; ond ar ganol yr ymdriniaeth codai un o'r cyfreithwyr beth a elwid yn *point of law*. Agorai lyfrau ar ol llyfrau, darllenai ddarnau yma ac acw, cyfeirid sylw y barnwr at y difyniadau, a threulid oriau, weithiau, i ddadleu sut yr oedd y rhai hynny yn effeithio ar yr achos fyddai yn cael ei drin. Yr effaith fyddai, tywyllwch yn gordoi y meddwl "lleygol," ond bywiogrwydd a nwyfiant dyddorol ymysg y cyfreithwyr. Ar yr un pryd byddai ambell un, o feddwl tipyn yn ymchwilgar, yn teimlo pleser yn yr ymddadleu er nad oedd yn gyfreithiwr. "Pwynt o gyfraith" oedd yn cael ei ddadleu. Gallasai dyn cyffredin feddwl na fuasai dim yn eisieu, er mwyn cael allan beth oedd y gyfraith ar y mater, ond troi at y ddeddf seneddol a'i darllen; ond yr helynt oedd fod y barnwr yma,

* Teg ydyw crybwyll mai yr un personau ydyw Gweinidog a Diacon âg Ioan ac Ifan yn yr Ymddiddan ar lyfr y diweddar Dr. Hughes ar y "Weinidogaeth," a ymddangosodd yn y TRAETHODYDD am 1880.

mewn llys uchel, wedi esbonio y gyfraith mewn achos fel ar fel, a barnwr arall, mewn llys arall, fel ar fel mewn achos arall, ac yr oedd y dyfarniadau hyn yn *authorities*, fel y dywedir, yn awdurdodau ar beth oedd y gyfraith, fel na feiddiai y mân lysoedd fyned yn groes iddynt. Yr oedd yr "awdurdodau" hyn wedi ychwanegu mewn rhif, o bryd i bryd, fel ag i ffurfio cyfrolau, ac i beri fod llythyren syml y gyfraith yn cael ei chladdu o dan y cyfrolau hyn. Yr oedd y *legal decisions* yn cael cyfeirio atynt bob amser pan ddymunid gwybod beth oedd y gyfraith ar unrhyw fater, a pho fwyaf "unol" fyddai y dyfarniadau hyn, a "mwyaf cyson a diamwys" fyddent (a defnyddio geiriau Dr. James) mwyaf sicr fyddai y wybodaeth am wir ystyr y gyfraith.

G. Nid ydych yn meddwl ein bod ni fel y cyfreithwyr hyn pan y byddwn yn trin pynciau mawrion diwinyddol. Yr ydym ni yn gwneud ein hapêl olaf at y Gair ac at y Dystiolaeth.

D. Yr oeddwn i am alw sylw at y gwahaniaeth rhyngoch, pe buasech yn aros. Y cyffelybrwydd, pa fodd bynnag, i ddechreu. Gwn fod y Bibl gennych i apelio ato, a hawl gan bob dyn i wneud hynny, wrth gwrs, drosto ei hun, a'i ddyledswydd ydyw gofyn am oleuni yr Ysbryd arno; ond y mae yn ychwanegol at hynny i "gymeryd llais yr eglwys," a'r llais hwnnw yn "dyrchafu mewn gwerth i'r graddau y byddo yn unol, cyson, a diamwys, pa un ai mewn penderfyniadau cyngorau, ai mewn llenyddiaeth uniongred, ai ynte mewn traddodiad credadwy." Dyna fel y dywed y Dr. (tud. 53), [ac y mae yn dda gennyf finnau ei alw felly yn y modd mwyaf parchus, a bydd yn enw cyfleus arno wrth siarad am dano]. Dyma'r "awdurdodau" ag y mae yn "ddyledswydd ar bob dyn" i ymgynghori â hwynt cyn dod i benderfyniad sicr ar bwnc o gredo am lawer o bethau. Ond dyma'r gwahaniaeth rhyngoch chwi a'r cyfreithwyr; nid oes dim grym cyfraith yn eich *authorities* chwi, fel sydd yn awdurdodau y cyfreithwyr, a diolch am hynny. Yn awr, pan oeddech yn gofyn i mi beth oeddwn yn ei feddwl am lyfr y Dr., meddwl yr oeddwn ei fod wedi gwneud defnydd da a dysgedig iawn o'r awdurdodau hyn, wedi eu difynnu yn helaeth, nes y maent yn britho y tudalennau, fel nad yw gwaith yr awdwr yn fynych ond aralleiriad, mwy neu lai cryf, o'r "awdurdodau" a ddifynna.

G. Wel onid ydyw hynny yn help mawr i ddeall y pwnc a fyddo dan sylw?

D. Nid bob amser. Weithiau mae y mân wahaniaethau yn cael eu dwyn i mewn gan y Dr. yn y fath fodd fel y mae y pwnc yn cael ei dywyllu yn fwy na dim arall. Maent fel *nice points* y cyfreithiwr, heb feddu nemawr o ddyddordeb i'r darllennydd cyffredin, ac yr wyf yn ofni mai y *professionals* yn bennaf fydd yn cymeryd dyddordeb yn y ddadleuaeth.

G. Ond gadewch i mi ddweyd mai nid darllennydd cyffredin wyf yn eich ystyried chwi.

D. Peidiwch chwi a bod yn goeglyd yn awr. Ond mi allaf ddweyd cymaint a hyn, fod y Dr. wedi gallu creu dyddordeb hyd yn oed ynof fi ar rai o'r pwyntiau cywrain y mae yn eu trin. Y mae ceisio ei ddilyn yn fath o *intellectual recreation*, neu adloniant meddyliol, i ddyn; ac ond odid fod hynny, wedi y cyfan, yn ganmoliaeth uchel i'r llyfr, sef ei fod wedi deffro hyd yn oed un fel myfi i deimlo dyddordeb yn y pwynt-

iau cywrain a drinir yn y llyfr, yn enwedig y rhai ar y Sacramentau. Caniatewch i mi wneud un sylw cyffredinol arall. Chwi wyddoch am y cyffro sydd yn y deyrnas y dyddiau hyn gyda golwg ar gynnydd syniadau Pabaidd yn yr Eglwys Sefydledig. Ac nid dim yn rhy fuan. Hyderaf y bydd y cyffro ym myned rhagddo. Mae llyfr Walsh *The Secret History of the Oxford Movement*, wedi agor llygaid y wlad i ganfod i'r fath eithafion y gall y syniad offeiriadol arwain dynion sydd ymhob ystyr arall yn ddynion anrhydeddus a chrefyddol, a rhai o honynt yn grefyddol iawn. Mae y Rhagymadrodd i lyfr Dr. James yn dangos ei fod yn awyddus i wrthweithio syniadau dinystriol y blaid hon. Yn awr ni a wyddom mai nid ar unwaith y daeth y cyfeiliornadau hyn i mewn. Bu yr athrawiaeth Babaidd am draws-sylweddiad 800 mlynedd yn yr esgoreddfa. Yn y flwyddyn 844 onide ? y darfu i Pascacius Radbert ddwyn y cyfeiliornad hwn allan mewn ysgrifen. Gwrthwynebwyd ef yn egnïol gan lïaws o'r Tadau, ac er fod y cyfeiliornad, trwy y cwbl, yn cynnyddu, cymerodd 400 mlynedd ychwaneg, sef hyd y flwyddyn 1215, cyn i'r Eglwys Babaidd ddatgan mewn Cyngor yn ffafr yr athrawiaeth o draws-sylweddiad. Mae cyfeiliornadau, fel hyn, yn dechreu yn fychan ; ac y mae o bwys ceisio eu lladd yn yr eginyn. Wrth gofio, gan hynny, fel y mae y gwyriad lleiaf oddiwrth y symledd sydd yn hynodi dysgeidiaeth y Testament Newydd, ar bynciau llyfr Dr. James, yn esgor ar ganlyniadau mor niweidiol, a'i fod yntau mor awyddus i wrthweithio cyfeiliornadau y Babaeth a'r Uchel Eglwyswyr, yr wyf yn methu peidio gresynnu ei fod wedi myned ymhell, weithiau, o ran dull o ymadroddi, ac o drin athrawiaeth y Sacramentau mewn modd mor ysgolheigaidd, oddiwrth Gyffes Ffydd y Corff y mae yn perthyn iddo. Mae Erthyglau y Gyffes honno ar Fedydd a Swper yr Arglwydd yn rhy "deneu," yn rhy "wan," ac yn "anghyflawn," ganddo. Rhaid iddo gael iaith fwy "cyfoethog" a llawn i'w gosod allan, ac felly y mae yn ymddangos i mi mewn perygl o fyned yn rhy agos at y cyfeiliornadau y mae yn eu gwrthwynebu. Gwell gennyf fi hefyd fuasai iddo roddi llai o bwys ar gredoau Eglwysig.

G. Cofiwch fel y dywed y Dr. yn y Rhagymadrodd "ei fod yn awyddus i roddi i'r driniaeth ar y prif faterion gymeriad mor hanesyddol ag oedd yn bosibl."

D. Gwir, ond teimlo yr oeddwn i y gall fod perygl yn gorwedd o dan hyn, i ryw deimlad anymwybodol gael ei fagu fod y credoau hyn, yn eu "dadblygiad" i'r "graddau y byddont yn unol, cyson, a diamwys," a defnyddio geiriau y Dr., tud. 53—gael eu hystyried yn "awdurdodau" yn ystyr gyfreithiol y gair, fel y dywedais eisoes. Ar hyd lwybrau hanesiaeth, a dadblygiad yr athrawiaeth yn yr Eglwys, y mae y cyfeiliornwyr eu hunain—y Pabyddion a'r Uchel Eglwyswyr—yn caru cerdded. Gwell gennyf fi fyddai eu troi yn ol yn fwy uniongyrchol at yr ysgrifennwyr sanctaidd, y rhai sydd *yn* "awdurdodau" mewn gwirionedd. Ond gadewch i ni gael tipyn o ymddiddan ar ymdriniaeth y Dr. ar y Sacramentau.

G. Ai nid ydych am ddweyd dim ar y rhan gyntaf o'r llyfr, sef ar yr Eglwys ? Yr wyf yn gweled eich bod yn llawn o'r testyn, ac yr wyf am adael i chwi siarad y cyfan bron heno. Caf finnau y pleser o wrando.

D. Diolch. Bydd yn amheuthyn i chwi. Y rhan o'r llyfr ar y Sacramentau sydd fwyaf dyddorol gennyf, y rhannau ag yr oeddwn yn wir yn awyddus i gael eich barn chwi arnynt. Ond gan i chwi gyfeirio fy sylw at y rhan gyntaf, nis gallaf lai na dweyd nad wyf yn siwr fy mod yn deall y Dr. ar un pwnc ag y buaswn yn awyddus i gael golygiad clir arno, sef yr ymdriniaeth ar yr hyn a eilw yn "anffaeledigrwydd yr Eglwys." Mae cyfeiliornadau yr Eglwys Babaidd a'r Uchel Eglwyswyr yn cael eu dynoethi yn dost ganddo, ac yn sicr nid heb eisieu yn y dyddiau hyn. Ond y mae y Dr. yntau yn ceisio gosod i fyny ryw fath o athrawiaeth o "anffaeledigrwydd yr eglwys" ag sydd i mi yn anhawdd iawn ei ddeall. Haera *fod* yr Eglwys yn anffaeledig "mewn rhyw ystyr," ond ymha ystyr sydd i mi yn anhawdd iawn ei wneud allan.

G. Feallai fod eich anhawsder yn codi oddiar yr hyn a ddywed y Dr. ar tud. 71, ac nad ydych yn meddwl am dano; sef "fod elfen o wirionedd yn holl gyfeiliornadau y Babaeth, ac yn wir ymhob heresiau."

D. Ond, ymddengys i mi fod y Dr., yn ei awydd i ddeffinio y gwirionedd yn y cyfeiliornad, yn myned weithiau yn bur agos at y cyfeiliornad ei hunain. Mae yn dymchwelyd y cyfeiliornad yn deilchion, ond pan y mae yn adeiladu ei athrawiaeth ei hun, mae i mi yn dra thywyll; ac yn aml, wrth geisio cael allan yr "elfen o wirionedd" sydd yn y cyfeiliornad, y mae, wrth ddefnyddio geiriau y cyfeiliornwyr, weithiau yn myned, fel y dwedais, yn agos iawn i ffiniau y cyfeiliornadau hynny. Ar tud. 88 dywed "Y mae ystyr yn yr hon yr ydym yn credu yn ddiysgog mewn anffaeledigrwydd ynglŷn â materion ffydd ein crefydd," ac ar tud. 90 y mae yn ei alw ar yr enw "anffaeledigrwydd yr eglwys" wrth siarad am dano, ac y mae yn rhoddi lle mawr iddo. Ond beth ydyw? Mae y Dr. yn gosod y Bibl, a thrigiad yr Ysbryd yn yr Eglwys, fel *dau* beth sydd yn ei gyfansoddi, neu ei ddiogelu. Ond wrth yr eglwys y mae yn golygu, nid yr eglwys yn ei chynghorau â'i swyddogion, fel y gwna y Pabyddion, ond y credinwyr, y ffyddloniaid; a difynna yr adnod:—"Pan ddel, Efe a'ch tywys i bob gwirionedd" [Gwell cyfieithiad meddir fyddai, "i'r *holl* wirionedd."] Y cwestiwn y carwn i ei ddeall yw: A ydyw y Dr. yn dal fod preswyliad yr ysbryd yn datguddio i'r credinwyr wirioneddau nad ydynt yn y Gair, ynte yn unig yn goleuo eu meddyliau i ganfod y gwirioneddau sydd eisoes ynddo nad oeddent yn eu canfod o'r blaen? Pan y mae Crist yn dweyd, "Efe a'ch tywys i bob gwirionedd," dylid cofio ei fod yn yr adnod flaenorol yn dweyd fod ganddo lawer o bethau i'w dywedyd wrthynt nas gallent yr awr honno eu dwyn, ond y tywysai yr Ysbryd hwynt "i bob gwirionedd." Yr oedd yr Ysbryd i'w tywys i ganfod gwirioneddau *na ddatguddiwyd mohonynt o'r blaen.* Mae Calvin, wrth esbonio y geiriau, yn sylwi: "Fe *ddarfu* i'r Ysbryd eu tywys i'r holl wirionedd pan ysgrifenasant gynnwys eu hathrawiaeth. Pwy bynnag sydd yn tybied y dylid ychwanegu rhywbeth at eu hathrawiaeth, fel pe byddai yn amherffaith neu yn anorffenedig, y mae, nid yn unig yn cyhuddo yr apostolion o anonestrwydd, ond yn euog o gabledd yn erbyn yr Ysbryd." Ac yna y mae yn nodi y pethau y mae y Pabyddion wedi eu hychwanegu at y Gair ysgrifenedig. Yn awr, fy ngofyniad i yw, a ydyw y Dr. o'r un syniad a Chalvin, neu fel y

byddai Chillingworth yn dweyd, "The Bible only is the religion of Protestants?"

G. Ydyw yn ddiau, fel y dengys y difyniad a wna o *Institutes* Calvin. Pan yn ychwanegu yr Ysbryd Glân at y Bibl fel rhan o "etifeddiaeth yr Eglwys," nid yw yn meddwl mwy, mi gredaf, na bod dylanwadau Ysbryd y gwirionedd yn cynorthwyo y credinwyr i ddeall y gwirionedd. Wrth gwrs, mae pob dyn i ddefnyddio pob help, hyd yn oed "penderfyniadau Cynghorau" a thraddodiadau credadwy—tud. 53. Onid ydyw yn dweyd ar tud. 54 mai Gair Duw ydyw unig reol anffaeledig ffydd ac ufudd-dod?

D. Beth ynte ydyw ystyr y geiriau fod "llais yr eglwys yn dyrchafu mewn gwerth i'r graddau y byddo yn unol, cyson, a diamwys" (tud. 53)? Mae yn swnio i mi yn rhy debyg i athrawiaeth yr Uchel Eglwyswyr pan yn son am "gydsyniad yr Eglwys Gatholig," athrawiaeth ag y mae y Dr. yn gwneud sylwadau miniog iawn arni ar tud. 85 ac ymlaen.

G. Os ewch ymlaen cewch weled fod y Dr. yn esbonio ei olygiadau yn fwy clir (tud. 87—8). Ar ol condemnio barnau y Pabyddion am anffaeledigrwydd yr Eglwys, ymherson y Pab, a barnau yr Uchel Eglwyswyr, dywed ei fod yntau yn dal "anffaeledigrwydd yr eglwys," a hynny, ynglŷn â "materion crefyddol," ond i'r gair eglwys gael ei ddeall yn iawn, sef "y cydgrynhöad hwnnw o Gristionogion proffesedig" yr hwn a ddisgrifiasai o dan yr enw "yr Eglwys Weledig Gyffredinol."

D. Ydyw, ond y mae, gallaswn i dybied, wrth briodoli anffaeledigrwydd i'r Eglwys, er iddo gael ei ddisgrifio fel "cydgrynhoad o Gristionogion proffesedig" fel yn teimlo yn awyddus rhag i neb dybied ei fod ym myned yn agos i gyffiniau yr Uchel Eglwyswyr, yn ychwanegu: "Ein golygiad yw, fod pob anffaeledigrwydd perthynol i Gristionogaeth yn eiddo i bob gwir Gristion, neu o leiaf ei fod o fewn ei gyrraedd" (tud. 88). Rhaid i mi addef fy mod yn awyddus i ofyn, "Beth y mae hyn yn ei olygu?"

G. Wel, y mae y Dr. yn dod yn ol at ei haeriad blaenorol, ac yn ail ddweyd mai ei feddwl ydyw ei fod yn credu yn anffaeledigrwydd y Bibl ac——

D. Ië, ewch ymlaen, "ae"—beth?

G. Mi äf: "ac yr ydym yn credu addewid fawr Crist i'w ddisgyblion, yr anfonai Efe iddynt yr Ysbryd Glân, sef Ysbryd y Gwirionedd, i'w tywys hwy, sef yr holl ddisgyblion, i'r holl wirionedd.

D. A ydyw y Dr. yn dal, yr wyf yn gofyn eto, fod yr addewid hon yn gymhwysiadol i holl ddisgyblion Crist *yn awr*, a'u bod yn cael eu tywys yn anffaeledig i'r "holl wirionedd" mewn perthynas i "faterion ffydd ein crefydd?" oblegyd ynglŷn â'r materion hyn y mae y Dr. yn siarad.

G. Gallwn i dybied mai dyna ei feddwl, oblegyd y mae yn ychwanegu (tud. 88), "Mae anffaeledigrwydd yn y cylch o wybodaeth ysbrydol, beth bynnag yw ei gynnwys, yn eiddo i'r Eglwys trwy gyfrwng ei haelodau crediniol, canys iddynt hwy y mae yr addewid."

D. Da y dywed y Dr., "beth bynnag yw ei gynnwys." Eisieu gwybod hynny sydd arnaf. Mae yn amlwg fod y Dr. yn golygu mwy

nag y mae esboniad Calvin ar Ioan xvi. 13 y gelwais sylw ato o'r blaen, yn ei nodi. Gellid meddwl fod Calvin yn cyfyngu yr addewid i'r disgyblion yr oedd yn siarad â hwynt, a bod yr addewid wedi ei chyflawni pan orffenwyd y Gair ysgrifenedig, ond y mae gan y Dr. ryw "heblaw hynny" ag sydd yn sicrhau "anffaeledigrwydd ynglŷn â materion ffydd ein crefydd" i holl aelodau crediniol yr Eglwys.

G. Gellid meddwl fod y Dr. ymlaen yn cyfyngu yr anffaeledigrwydd hwn i'r "gwirionedd efengylaidd o ran pobpeth hanfodol i iachawdwriaeth," tud. 89.

D. Dichon hynny fod, ond y mae yn awgrymu, ac yn wir yn dweyd, mwy na hynny. Er ei fod yn y testyn fel pe yn proffesu dweyd ond yr un peth a Hodge a Salmon, yn y Nodiadau, y mae, i mi, rywfodd, yn awgrymu, os nad yn dweyd, mwy na hwy. Onid dymunol fyddai gwybod mewn geiriau eglur beth ydyw "materion ffydd ein crefydd," a'r "pethau hanfodol i iachawdwriaeth" ag y mae "anffaeledigrwydd" yn perthyn iddynt yn y "cylch o wybodaeth Ysgrythyrol" sydd yn perthyn i bob aelod crediniol? Mae arnaf flys enwi rhai o honynt i'r Dr., fel y mae efe, mewn iaith finiog, yn ei wneud wrth drin syniad yr Uchel Eglwyswyr am anffaeledigrwydd yr Eglwys. A ydyw yn cynwys natur ysbrydoliaeth y Bibl, natur yr iawn, tragwyddol gosb, neu yr hyn y mae y Dr. yn ei alw y "mater mawr o Swper yr Arglwydd, a phresennoldeb Crist ynddo?"

G. Dichon mai y cwbl y mae y Dr. yn ei feddwl, wedi'r cwbl, ydyw hyn:—Fod Crist trwy ei Ysbryd yn trigo yn ei Eglwys bob amser, ac, er mor lygredig ac isel y disgynnodd yr Eglwys yn yr oesoedd tywyll, fod rhai i'w cael ynddi bob amser oeddynt yn dal i fyny athrawiaethau hanfodol crefydd; na ddiffoddodd goleuni'r gwirionedd o'r eglwys yn yr amser tywyllaf.

D. Hwyrach hynny; ond yn fy myw nis gallaf gredu nad yw yn meddwl llawer mwy; ond pa faint mwy, nis gwn. Mae yn rhywbeth sydd mewn rhyw ystyr yn teilyngu cael ei alw yn "anffaeledigrwydd yr Eglwys." . . . Ond hwyrach mai gwell i mi droi i ymddiddan tipyn ar

## Y SACRAMENTAU.

Fe ŵyr pawb bellach nad yw y gair Sacrament yn un Ysgrythyrol, ac, fel y dywed ein hawdwr, y mae yn arwyddo yn llythyrennol peth cysegredig, ac y mae hefyd yn cael ei gymhwyso at lw milwrol. Yn yr ystyr cyntaf daeth yn gyfystyr â'r gair Groeg am ddirgelwch. Mae yn debyg mai yn yr ystyr o "ddirgelwch" y daeth y gair i gael ei gymhwyso at ordinhadau arwyddocäol yr Eglwys. Nid wyf yn hoff o'r gair, er fod iddo hanesiaeth canrifoedd wrth ei gefn. Fel y dywed y Proffeswr Williams o'r Bala, "Nid oes arnom angen nac awydd am un enw ond Bedydd am y naill ordinhad, a Swper yr Arglwydd am y llall. Mae yn hawdd i'r syniad o *ddirgelwch cyfriniol* sydd yn y gair gael ei gysylltu o angenrheidrwydd wrth yr ordinhadau hyn, nad yw y geiriau Ysgrythyrol yn ei gynnwys. Mae y Cymun Sanctaidd wedi pasio o fod yn Gymun Corff a Gwaed Crist i fod yn "Sacrament yr Allor," fel yr arferid ef gan Luther, yr allor yn dwyn i mewn y syniad am aberth, ac yna y gweinyddwr yn dod yn offeiriad."

*

G. Ond rhaid addef, fel y dywed yr un gŵr dysgedig yn ei lyfryn gwerthfawr ar y Sacramentau, gan fod y *ddwy* ordinhad yn ymddangos o ystyr ac amcan cyffelyb i'w gilydd, a gwahanol i, bob ordinhad arall, mai mantais yw cael enw cyffredin arnynt.

D. Gwir, ond fod cael un gair am y ddwy ordinhad yn debyg o gau allan rai pethau a ellir eu hystyried yn hanfodol i'r naill nad ydynt yn gymhwysiadol at y llall. Er engraifft, y mae Dr. Halley ar y Sacramentau yn gwneud gwahaniaeth hanfodol rhwng Bedydd a Swper yr Arglwydd yn eu hamcan ac yn eu deiliaid, fel y caf ddangos eto, ac yr wyf yn meddwl fod Dr. Dale o Birmingham, a chorff mawr o Gristionogion ereill, yn gwneud yr un peth; a byddai yn amhosibl, felly, tebygid, cael un gair i gymeryd i mewn bethau hanfodol y ddwy ordinhad. Ond fy mhrif wrthwynebiad i i'r gair ydyw ei fod yn cyfleu y syniad fod rhyw ddirgelwch yn perthyn i'r ordinhadau hyn nad yw o angenrheidrwydd yn yr enwau Ysgrythyrol. Os oes eisieu gwneud gwahaniaeth a gymeradwyid yn gyffredinol, byddai galw y ddwy yn ordinhadau arwyddocaol, fel y mae Dr. James yn gwneud weithiau, yn ddiberygl. Ond ofer i mi wrthwynebu y gair, mae'n debyg ei fod wedi gwreiddio a thyfu yn rhy ddwfn bellach i neb allu ei symud. Ond y mae hynny yn dangos fel y mae syniadau newyddion weithiau yn cael eu creu gan eiriau, fel, ar y llaw arall, y mae syniadau yn creu geiriau. Mae y Proffeswr Williams yn nodi fel y glynodd "yr ystyr o lw wrth y ddefod o fedyddio, a'r hyn a gynnwysai ymrwymiad ac ernes: yn fuan iawn wedi hynny edrychid ar yr ymrwymiad hwn, a'r ddefod a'i dilynai, yn rhywbeth a *dirgelwch ysbrydol* ynddo, yn rhywbeth *cyfriniol*." Fel hyn y mae cyfeiliornadau weithiau yn tyfu oddiwrth eiriau. Mae Dr. James yn rhoddi hanes dyddorol iawn am ddatblygiad athrawiaeth y Sacramentau, ac yn neilltuol am wahanol farnau y Diwygwyr Protestanaidd arnynt. Nid wyf am ddilyn y Dr. ar ol y gwahanol farnau a goleddid, y dadleuon mewn perthynas iddynt, a'r niwed mawr a wnaeth hynny i'r Diwygiad Protestanaidd. Yn wir, byddaf yn meddwl weithiau fod perygl i ni roddi gormod o bwys ar farnau hyd yn oed dynion fel Calvin, Luther, a Zwingli, er mor fawr oeddent fel goleuadau yn yr Eglwys.

G. Rhaid i chwi gofio, fy nghyfaill, fod yr Ysbryd Glân yn dylanwadu mewn modd anghyffredin yn yr Eglwys y pryd hwnnw, ac yn arbennig ar feddwl y Prif Ddiwygwyr, ac os ydym i gredu fod yr Ysbryd yn tywys i bob gwirionedd, yr oedd yn gwneud hynny mewn modd arbennig yn y Diwygiad mawr Protestanaidd.

D. Yr oedd yr apostolion o dan ddylanwad Ysbrydoliaeth Duw mewn modd mwy arbennig, ac eto nid oeddent uwchlaw gwendidau y natur ddynol. Gwyddom fel yr ymlynent wrth Iddewiaeth, ac mor amherffaith oedd eu syniadau am deyrnas ysbrydol Crist a dilëad yr hen oruchwyliaeth drwy y cwbl. Am yr hen dadau, yr ydym wedi arfer bellach roddi llai o bwys ar eu syniadau nag y byddid gynt. Y mae Dr. Cunningham, yn ei *Theology of the Reformation*, yn dangos fel y cynyddodd y syniad o fod rhyw "ddirgeledigaethau ofnadwy" yn perthyn i'r Sacramentau, ac yr arferid dull "chwyddedig ac eithafol" gan y tadau wrth son am danynt. Mae yn crybwyll yn arbennig am eiriau hynod Justin fel engraifft. Credaf ei bod yn lled debyg gyda'r

Diwygwyr Protestanaidd. Galwai Luther Zwingli a'i ganlynwyr yn Sacramentariaid, am nad oeddent yn gosod pwys digonol ar y Sacramentau, ac yn eu hesbonio ymaith; tra yr oedd Zwingli yn taflu y danodiad yn ol, ac yn dweyd fod yr enw yn fwy priodol i Luther a'i ganlynwyr, am eu bod yn gwneud y Sacramentau yn ddirgeledigaethau cyfriniol mewn modd nad oedd yr Ysgrythyrau yn ei gyfiawnhau. Am syniadau Calvin caf ddweyd fy meddwl pan ddown i siarad am Swper yr Arglwydd.

G. Yr ydych wedi pregethu yn o faith, rhaid addef, ond nid oeddwn yn dewis eich aflonyddu. Yr ydych wedi siarad yn lled ddiraddiol am y Diwygwyr Protestanaidd hefyd.

D. Diraddiol! Nid oedd dim ymhellach oddiwrth fy meddwl. Os ydych yn tybied fod yr hyn a ddwedais yn sawri o ddiraddiad, nid ydyw hynny ond yn dangos mor hawdd ydyw cyfleu syniad anghywir o'r hyn y mae dyn yn ei feddwl, pan y mae yn dadleu. Yn wir yr oedd fod y diwygwyr yn gorfod dadleu llawer wrth ddweyd eu syniadau, yn eu tueddu i fyned i eithafion. Bu adeg ar Luther, medd D' Aubigne, ag y buasai yn dda ganddo pe buasai rhywun yn gallu ei argyhoeddi nad oedd dim yn Swper yr Arglwydd ond arwyddion, ond yr oedd yr eithafion yr elai yr Ailfedyddwyr iddo yn ei yrru yntau i'r eithafion gwrthgyferbyniol. Yr un modd wrth weled Carlstadt a'i ganlynwyr yn dinistrio delwau yr eglwysi, troes Luther i amddiffyn delwau yn gyhoeddus! (D' Aubigne's *History of Reformation*, Cyf. 2, pen. 7). Fel hyn fe hyrddir dyn i wneud haeriadau eithafol a thywyll iawn hefyd weithiau. O ran hynny y mae Dr. James ei hun, fwy nag unwaith, yn son mor dueddol oedd y diwygwyr i fyned i eithafion oherwydd tuedd arall ynddynt. Wrth son am neilltuolrwydd meddyliol y tri diwygiwr enwog, Calvin, Luther, a Zwingli, a bod tuedd arbennig yn Luther at y cyfriniol *(mystical)* dywed (tud 131) "ac megys y ceir fod yr ysbryd hwnnw yn wastad yn arfer rhedeg ar y ffin megys âg ofergoeledd, ac yn hawdd ganddo lifo dros y terfyn, felly am ddiwygiwr mawr yr Almaen, efe a ddelid yn gaeth wrth y rhannau cyfriniol o fywyd a dysgeidiaeth y Babaeth, a hynny weithiau er gwaethaf y ffaith o fod cyfriniaeth ynddynt eisoes wedi dirywio ers talm i ofergoeledd eithafol." Y mae hefyd yn difynnu sylwadau rhagorol gan Cunningham a Browne i'r un cyfeiriad ar tud. 156. Byddai yn hawdd i mi nodi ffaith arall y dylid ei chofio wrth son am olygiadau y Diwygwyr Protestanaidd, sef y duedd naturiol oedd ynddynt i ymlynu wrth eu hen syniadau hyd nes y caent oleuni newydd. Ond yr wyf wedi siarad yn rhy hir yn y cyfeiriad hwn, er fod yr oll yn dal cysylltiad agos â'r mater sydd dan sylw gennym.

G. O na, yr wyf yn hollol gydolygu â chwi am y pethau a ddywedasoch. Yr wyf yn dechreu teimlo fy mod yn debyg o wneud gwrandawr da.

D. O'r goreu, mae gwrandawr da, meddwch chwi, yn gwneud pregethwr da.

G. Carwn "wrando" arnoch yn pregethu tipyn ar syniadau y Dr. ar fedydd. Yr ydym ni, y pregethwyr, yn teimlo yn aml yn ofnus i siarad allan yn eglur ar y pwnc, y mae yn un mor beryglus i gyffwrdd âg ef. Os meiddiwn ddweyd ein bod yn credu mai trochi oedd yr ar-

feriad cyffredin yn yr eglwys foreuol, a bod y Testament Newydd yn trin y pwnc yn gwbl ymron oddiar safle bedyddio rhai mewn oed, fel y gwnaeth y Proffeswr Williams, o'r Bala, cyfyd ein brodyr yn ein herbyn fel pe yn barod i'n llarpio, neu fe ymorfoledda y Bedyddwyr, gan luchio eu hetiau i fyny i'r awyr, er i ni, fel y Proffeswr a enwyd, ddweyd yn eglur ein bod yn credu mewn bedydd babanod mor gryf â Mr. Jones, Tonnau, yn ei lyfr galluog ar y pwnc, a bod gennym seiliau cryfion dros ein cred, a thros fedyddio plant. Nid oes dim awydd cryf ynof gan hynny i ddweyd nemawr ar y pwnc o fedydd. Mae pobl mor groen deneu ar y mater. Ond yr ydych chwi yn lleygwr, a byddai yn dda gennyf glywed eich barn ar yr hyn a ddywed y Dr. ar fedydd.

D. Os gwelwch y dda, gwell gennyf finnau beidio, nid am fod arnaf ofn tynnu neb yn fy mhen, oblegyd, fel y dywedasoch, yr wyf yn "lleygwr," ac felly yn fwy rhydd i ddweyd fy marn. Ar yr un pryd carwn wneud dau neu dri o sylwadau cyn gadael y penodau gwerthfawr sydd gan y Dr. ar Fedydd. Peidiwch chwi a dweyd fy mod yn pregethu os rhannaf hwynt i ddau neu dri phen.

1. Yr wyf yn cael, wrth ddarllen sylwadau y Dr. ar olygiadau y Diwygwyr Protestanaidd, eu bod yn gweled yn y Sacrament o fedydd, fel yn y Sacrament arall, ryw ddirgelwch cyfriniol anhawdd iawn ei ddeall. Yn wir, y mae gan y Dr. ei hun, a chan y Proffeswr o'r Bala, y rhywbeth "cudd a dirgel" hwnnw yn y bedydd nad wyf fi erioed wedi gallu ei ddirnad, ac, o ran hynny, nad ydynt hwythau yn gallu ei wneud yn eglur i'r *lay mind*. Un o'r *nice points* hynny ydyw y bum yn son am danynt Ond y mae y Dr., mi feddyliwn, yn deall y pwynt hefyd. Ar ol sylwi nad oedd yn hawdd dirnad yn fanwl beth oedd golygiadau Calvin ar fedydd, y mae yn difynnu ei eiriau o'r *Institutes*, ac yn rhoi math o aralleiriad o honynt, ac yna (tud. 177) dywed fod "golygiad Calvin *fel hyn* yn ei brif elfennau yn *dra syml*," ac yn rhydd o'r "caddug o ddyfaliadau cyfriniol" y mae yn sefyll ynddo yng nghyfundraeth Luther. Wedi hynny y mae yn nodi cyfundraeth "syml" Calvin fel hyn :—"Yn ol Calvin mae y bendithion ysbrydol a arwyddoceir *yn bresennol mor wirioneddol â'r arwydd o honynt.*" Myfi sydd yn pwysleisio, dealler. Beth y mae y Dr., tybed, yn ei feddwl yn y geiriau hyn ? Ymha ystyr y mae y "bendithion yn bresennol ?" A oes *yma* eto ryw fath o "*real presence ?*"

G. Darllenwch chwi y geiriau sydd yn gorffen y frawddeg, er eu bod megys rhwng cromfachau Dyma nhw :—Mae y bendithion a'r arwydd "yn bresennol yng ngair ac addewid Duw, sydd ynglŷn â'r Sacrament, ac o'r rhai y mae y Sacrament ei hun yn wystl seliedig" (tud. 178), ac y mae yn gorffen y frawddeg trwy ddweyd fod ffydd yn "uno y bendithion â'r arwydd â'u gilydd yn ysbrydol, yn ol gosodiad Duw, fel ag i gyflwyno y bendithion i'r cyfranogwr."

D Wel, beth ydych yn ei olygu ydyw meddwl y Dr. yn y geiriau hyn ? Mae bod ffydd yn uno y ddau â'u gilydd, sef y bendithion a'r arwydd, yn ddull tywyll iawn o ymadroddi, onid ydyw ?

G. Dyma feddwl y Dr., dybiwn i, mewn geiriau syml. Os bydd dyn yn credu yn wirioneddol pan yn cael ei fedyddio, fe fydd y bendithion a arwyddoceir yn y bedydd yn cael eu cyfrannu iddo ar y pryd yn ol gosodiad Duw.

D. Diolch i chwi. Os dyna'r meddwl, nid yw ond gwirionedd digon syml. Nid oes dim o'r "dirgelwch cyfriniol" hwnnw ynddo, ond prin yr wyf yn tybied y derbynia y Dr. eich esboniad chwi chwaith. Ond gadewch i mi ddod at yr ail ben oedd gennyf yn fy mhregeth.

2. Mae y Dr., yn ddiau, yn golygu fod plant yn cael eu bedyddio ar sail ffydd eu rhieni, ac felly na ddylid bedyddio plant neb ond plant credinwyr. Ond y mae un o'r pwyntiau cywrain ag y mae ysgolheigion bob amser yn hoff o'i dadlu yn codi yma, sef pa fodd i gysoni bedydd babanod â'r athrawiaeth sylfaenol am ffydd bersonol fel amod blaenorol derbyniad y bendithion.

G. Gadewch i mi ddweyd yn y fan hon fy mod yn synnu na fuasai y Dr. yn cyfeirio at ddadl Dr. Halley ar y "Sacramentau." Mae golygiad Halley yn ymddangos fel yn symud yr anhawsder sydd yn y cwestiwn y cyfeiriwch ato. Yn lle hynny y mae y Dr., fel y Proffeswr Williams, yn teimlo yn anhawdd iawn i ddod dros yr anhawsder. Cynllun y Dr., yn ei gysylltiad â phlant, ydyw rhoddi i ffydd gylch eangach o ddylanwad ac effeithiolrwydd, "yn codi yn y lle cyntaf o berthynas neilltuol y Cristionogion yn gyffredinol â'u gilydd fel aelodau o gorff Crist, ac yna o berthynas neilltuol a chyfriniol pob rhieni eu hunain, a'r Eglwys trwyddynt hwy a'u plant" (tud. 200). Mae Dr. Edwards yn ei "Draethodau Diwinyddol" yn rhoi yr un syniad mewn ymadroddion llawer eglurach, a heb son dim am "berthynas gyfriniol." Ond y mae Dr. James yn llai eglur na Dr. Edwards am ei fod wedi defnyddio ymadroddion Proffesor Lindsay, y rhai a rydd mewn nodiad ar waelod y ddalen. Mae yn y geiriau uchod ryw "ddiffyg tryloewder," chwedl Dr. O. Thomas, ag sydd yn boenus i lygad meddyliol egwan fel yr eiddof fi.

D. Ond yr oeddech yn son am syniad Dr. Halley ar fedydd fel un ag oedd yn symud llawer ar yr anhawsder ynglŷn â'r "pwynt cywrain" hwn.

G. O, ïe. Y mae y diweddar Dr. Dale, o Birmingham, yn ei *Manual of Christian Principles* (tud. 127), yn dodi i lawr yr un syniad fel hyn:—"Nid yw bedydd yn creu perthynas newydd rhwng Crist a'r un a fedyddir; y mae yn cadarnhau perthynas sydd yn bod eisoes. Nid oedd plentyn yn Iddew am ei fod wedi ei enwaedu; enwaedwyd ef am ei fod yn Iddew. Yr oedd yn perthyn i'r genedl etholedig trwy enedigaeth, ac enwaediad oedd arwydd neu sêl y cyfammod rhwng Jehovah a'r plentyn fel un o blant Abraham. Trwy enedigaeth yr ydym yn perthyn i'r hiliogaeth dros yr hon y bu Crist farw, ac ar ba un y mae yn teyrnasu; a bedydd ydyw arwydd neu sêl ein perthynas personol âg ef. Mae ei ystyr ddyfnaf yn gorwedd yn y ffaith nad ydyw, gyda golwg ar un mewn oed, yn ddatganiad o ffydd neu deimlad y bedyddiedig, na chyda golwg ar faban yn ddatganiad o ffydd y rhieni, ond yn y ddau amgylchiad ei fod yn ddatguddiad o awdurdod a gras Crist. Mae ystyr yr ordinhad, os yn bosibl, yn fwy eglur pan weinyddir hi ar faban na phan weinyddir hi ar un mewn oed. Gyda golwg ar un mewn oed, byddai yn groes i holl ysbryd y Ffydd Gristionogol i weinyddu bedydd heb gydsyniad rhydd yr un a fedyddid, ac y mae y ffaith fod y cydsyniad hwn yn angenrheidiol, hwyrach, wedi awgrymu syniad amhriodol am y ddefod. Ond gyda golwg ar faban,

nid oes dim i leihau ei grym na thywyllu ei hystyr." Rhywbeth yn gyffelyb yw syniad Dr. Halley. Welsoch chwi lyfr Dr. Halley?

D. Do, yr wyf wedi dod â'r ail gyfrol efo mi, gan fwriadu galw sylw at ei resymau dros ei olygiad. Y mae yn ymddangos i mi yn symud yr anhawsderau ynglŷn â'r pwynt sydd yn cael ei godi yn llyfr Dr. James, a'r Proffeswr o'r Bala.

G. Gwir; gwyddent am dano, wrth gwrs, ond y cwestiwn i'w ofyn yw, a ydyw yn unol â'r Ysgrythyrau? Ymddengys i mi fod y Testament Newydd bob amser yn rhagdybied proffes o ffydd cyn derbyn bedydd gan un mewn oed, a dyna yn ddiau farn y Dr. a'r Proffeswr.

D. Ond y mae Dr. Dale a Dr. Halley yn gwadu hynny, ac yn dal fod y rhai nad ydynt yn bedyddio plant neb ond credinwyr yn gosod terfynau ar orchymyn Crist, yn dwyn allan lawer o eithriadau iddi, ac yn crwydro ymhell oddiwrth lythyren y geiriau, "yr holl genhedloedd" yn y Comissiwn mawr. Pe buasai amser, carasem fyned dros ei brofion o ysgrythyroldeb ei syniad, a buasai yn dda gennyf pe buasai Dr. James wedi ymaflyd yn rhesymau Dr. Halley a Dr. Dale. Hyd yn ddiwedar, medd Dr. Dale, yr oedd y rhan fwyaf o Gynnulleidfäolwyr Seisnig yn dal na ddylid bedyddio neb ond credinwyr a'u plant, ond ystyriai fod y rhesymau dros y golygiad a nodais o'i eiddo yn ymddangos yn benderfynol. Rhai o'r rhesymau hynny ydynt (1) Nad oes, yn y comissiwn ei hun, ddim yn cyfyngu bedydd i gredinwyr, neu gredinwyr a'u plant. (2) Fod y sail ar ba un y gorffwys y gorchymyn i fedyddio yn cau allan bob cyfyngiad arno. (3) Nad oes, yn yr holl Destament Newydd, un gorchymyn yn culhau helaethder y comissiwn mawr. (4) Nad oes un engraifft yn y Testament Newydd lle y gwrthodir gweinyddu bedydd i unrhyw ymgeisydd hyd nes y byddo wedi gwneud proffes foddhäol o ffydd yng Nghrist.

G. Oes, y mae un engraifft arbennig. Ebe Phillip wrth yr eunych, "Os wyt ti yn credu â'th holl galon, fe a ellir" (sef dy fedyddio).

D. Mae llawer o amser er pan ddarllenasoch lyfr Dr. Halley, yr wyf yn gweled, oblegyd y mae efe yn dweyd nad yw y geiriau hyn yn y llawysgrifau goreu. Ac os trowch chwi at Alford cewch fod yr holl awdurdodau "yn rhy gryf yn erbyn caniatau dilysrwydd" y geiriau. A mwy, y mae yn ychwanegu fod yn bur debyg eu bod wedi eu dodi i mewn i ffitio ffurfiau gwasanaeth y bedydd, gan yr ystyrid yn rhyfedd i'r eunych gael ei fedyddio heb un math o gyffes flaenorol. Mae y Cyfieithiad Diwygiedig yn gadael y geiriau allan. Sylwch, nid wyf yn dadleu dros olygiad Dr. Halley, ond yn gresynnu nad yw Dr. James yn cyfeirio ato. Ond yr wyf yn awyddus iawn i gael ymddiddan ychydig ar y pwnc yr wyf yn teimlo y dyddordeb mwyaf ynddo. Gadawn bwnc y Bedydd gan hynny, a deuwn at

### SWPER YR ARGLWYDD.

G. O'r goreu. Chwi addefwch, mi wn, fod y penodau cyntaf o dan y pen hwn—yn cynnwys gwahanol farnau am natur yr ordinhad hon—yn feistrolgar iawn.

D. Gwnaf. Amlwg yw fod y Dr. wedi ddarllen yn helaeth; fod ganddo feddwl craff i ganfod mân wahaniaethau mewn athrawiaeth, a'i

fod wedi crynhoi barnau gwahanol y Diwygwyr yn eu llyfrau a'r credöau eglwysig gyda manylrwydd mawr. Pe na buasai fy hen gyfaill anwyl, y diweddar Dr. Owen Thomas, wedi gwneud hynny eisoes yn y TRAETHODYDD am 1845, buaswn yn dweyd fod Dr. James yn tra rhagori ar ddim y gwn i am dano yn ein hiaith ar y testyn yn yr ystyr hwn, ac y bydd llyfr y Dr. yn gaffaeliad mawr i'r Cymry; ac yn ddigon i gyfreithloni buddioldeb "Darlithiau Davies," pe na buasai un o'r cyfrolau gwerthfawr ereill wedi eu cyhoeddi. Ond y mae yn rhaid i mi ddweyd fod crynhodeb Dr. O. Thomas ar farnau y Tadau a'r Diwygwyr Protestanaidd yn fwy clir a chryno nag eiddo Dr. James, yn ol fy marn ostyngedig i. Mae yn y Dr., fel y dywed ef ei hun am Luther (tud. 131), duedd naturiol gref at y cyfriniol. Mwy cydnaws â'm chwaeth i ydyw awdwr sydd yn taflu goleuni, os bydd modd yn y byd, ar bwnc sydd ynddo ei hun yn un tywyll. Ond wrth ddilyn y Dr. byddaf yn teimlo fy hun yn cael fy arwain ymlaen o gam i gam, gan dybied fy mod yn dringo bryn gwybodaeth, ac yn cael fy hun yn rhywle uchel, mae'n wir, ond yn teimlo pensyfrdandod, a'r niwl yn ymgrynhoi o'm cwmpas, nes y mae y safle dyrchafedig a dybiaswn fuasai yn fantais i weled cylch eang o wirionedd, yn hytrach yn fy ngosod mewn lle nad oes ond tarth a niwl yn ymgrynhoi o'm cwmpas, ac na wn ar y ddaear pa le yr ydwyf yn sefyll.

G. Yr ydych wedi myned yn farddonol iawn, os nad yn "gyfriniol" eich hunan, gyfaill, ac y mae yn anhawdd eich ddilyn. Ond gan i chwi son am *mysticism*, y mae ein hawdwr ei hunan yn cydnabod fod tywyllwch mawr yn gorwedd o gwmpas barnau y Tadau am y Swper Sanctaidd. "Nid yw yn hawdd dweyd," meddai, "beth oedd golygiad y Tadau ar Swper yr Arglwydd, canys yn debyg fel gyda bedydd fe'u ceir o ran y modd y maent yn llefaru ymhell o fod yn gyson â'u gilydd, nac â hwy eu hunain, ac yn arfer iaith yn aml gyda rhyddid areithyddol na ellir llai na'i edmygu, ond nad yw yn ffafriol i fanylder meddyliol" (tud. 247). Dywed Dr. O. Thomas yr un modd, fod eu barnau yn "gymysglyd ac yn amhenderfynol." Beth oedd syniad Justin Ferthyr, meddai, "yr oedd yn anhawdd iawn dirnadu." Am Origen a Tertullian a Cyprian, "yr oeddent yn cysylltu rhyw rinwedd arbennig, dirgel, ac anealladwy iddynt hwy a ninnau â'r elfennau cysegredig." "Ond pan ddaeth y syniad i mewn (medd Dr. Thomas) fod corff a gwaed Crist yn bresennol, nid yn ysbrydol, ond mewn *rhyw ystyr arall* (sylwch ar eiriau y Dr.) yn Swper yr Arglwydd, nid ychydig oedd y goelgrefydd a ddaeth i mewn gyda'r dyb hon. Daeth yr athrawiaeth ffol o drawsylweddiad i mewn gyda hi. . . . Ond nid oedd neb o honynt yn ceisio esbonio natur y presennoldeb y sonient am dano." Yn awr yr wyf yn gorfod dweyd mai fel yr oedd yn anhawdd esbonio gwir syniadau y Tadau, ac fel y teimlir yn anhawdd hefyd ddeall yn iawn beth oedd golygiadau rhai o'r Diwygwyr Protestanaidd, yr wyf finnau yn teimlo, wrth geisio gwneud allan beth ydyw syniad Dr. James am natur y *real presence* y mae efe yn ei ddal. Mewn gair, A oes ynddo rywbeth *objective* yn gystal a *subjective*?

G. Yr ydych chwithau yn ceisio bod yn ysgolheigaidd, mi welaf, ond gadewch i ni droi at y llyfr. Nid ydyw siarad cyffredinol fel yna

yn profi dim. Wrth agor y testyn y mae y Dr. yn dweyd fel hyn, tud. 212, "Y prif gwestiwn o ddyddordeb ynglŷn â'r Sacrament o Swper yr Arglwydd yw yr un mewn perthynas i bresennoldeb Crist ynddi, ynghyd â'r gwerth a rydd hynny iddi, ar y naill law gyda golwg ar ddynion, ac ar y llaw arall gyda golwg ar Dduw." Gadewch i ni beidio anghofio mai dyma y cwestiwn. Gadawn y Tadau a'r Pabyddion, a gadewch i ni ddilyn y Dr. yn olrhain barnau y Diwygwyr Protestanaidd, gan fod hynny yn arwain at olygiadau y Dr. ei hun. Am syniad Luther, y mae yn anhawdd iawn ei wahaniaethu oddiwrth eiddo y Pabyddion. Yn ol ei syniad ef yr oedd presennoldeb corff a gwaed Crist yn y Sacrament, ac hyd yn oed yn yr elfennau; ynddynt, gyda hwynt, ac odditanynt (*in*, *cum*, *sub*). Mae yn ymddangos, yn ol Archesgob Caergaint, yn ei Siars yn ddiweddar, nad oes dim yn hyn yn groes i athrawiaeth Eglwys Loegr—hynny ydyw, fod yr Eglwys yn caniatau i athrawiaeth Luther gael ei dysgu! Mae esboniad Dr. James ar farn Luther am y "presennoldeb gwirioneddol" yn y cymun, yr anhawsderau yr oeddent yn arwain iddynt, a'r cyfeiliornadau am ddynoliaeth Crist, a phethau ereill, yn dda iawn. Ond gadewch i ni ddod at olygiad Zwingli a Chalvin, oblegyd rhwng neu gan un o'r ddau hyn gellid meddwl y mae y gwirionedd.

D. Beth oedd golygiad Zwingli?

G. Wel, fel yr ydych chwi wedi dweyd, y mae yn anhawdd gwybod hynny i sicrwydd, "Mae yr awdwyr goreu yn gwahaniaethu yn fawr gyda golwg arno," medd y Dr., "ond deallir yn gyffredin nad oedd Zwingli yn gwneud yr elfennau yn ddim ond arwyddion i bortreadu marwolaeth Crist, ac i wasanaethu fel cyfryngau coffadwriaethol o honi." Mae Principal Edwards, yn ei Esboniad penigamp ar yr Epistol at y Corinthiaid, tud. 254, yn desgrifio y *Zwinglian theory* fel un oedd yn dal "*That the Eucharist is nothing more than a commemoration, or at best a mere sign, not the means of fellowship with Christ.*" Disgrifiad cryno Dr. O. Thomas o farn Zwingli ydyw, "nad yw y bara a'r gwin yn y Cymun ond arwyddion o gorff Crist wedi ei ddryllio, a'i waed wedi ei dywallt, dros bechod, wedi eu hamcanu yn goffadwriaeth o'i farwolaeth, ac i gynorthwyo y meddwl i weithredu ffydd ynddo." Y mae Dr. D. Browne, yn y *Symposium of the Lord's Supper*, yn dadleu yn gryf nad oedd golygiadau Zwingli yn gwahaniaethu yn sylweddol oddiwrth eiddo Calvin, ac y mae y *British Weekly* yn ddiweddar wedi ysgrifennu erthygl alluog iawn i ddadleu bron i'r un perwyl, ond y mae wedi tynnu y *Christian World* i'w ben oherwydd hynny. Dywed Dr. O. Thomas mai "golygiad Zwingli ydyw yr un a dderbynir yn fwyaf cyffredin yn y dyddiau presennol gan Brotestaniaid pob gwlad oddieithr y Lutheriaid, ac y mae nifer mawr o honynt hwythau wedi dod i olygiad Calvin, a llawer o honynt i olygiad Zwingli." Y mae Harold Browne, yn ol y difyniad a welir ar tud. 148 o lyfr Dr. James, pan yn trin y ddwy Sacrament, yn dweyd fod y rhan fwyaf o Brotestaniaid tramor, oddigerth y Lutheriaid, yn derbyn syniadau Zwingli, fel y mae y rhan fwyaf o Ymneillduwyr yn ein mysg ein hunain. Teimlir yn gyffredin nad oes nemor o wahaniaeth, yn y pen draw, rhwng Zwingli a Chalvin, ac os oes gwahaniaeth yn bod, y mae yn ymddangos fod Dr. James yn tueddu mwy at olygiad Calvin,

os golygiad Calvin y mae yn ei feddwl ar tud. 277 wrth "y golygiad Calvinaidd," nag at olygiad Zwingli.

D. Mae golygiad y Methodistiaid Calfinaidd, fel y dywedais, yn un "tra chymhedrol, ac i fesur yn anghyflawn" gan y Dr. Y mae yn rhy "deneu," gellid meddwl, a defnyddio ei air am eu golygiad ar y Bedydd. Mae yn amlwg fod ar y Dr. eisieu athrawiaeth lawnach, ddyfnach, dewach, a mwy cyflawn ar Fedydd ac ar Swper yr Arglwydd nag athrawiaeth syml y Cyffes Ffydd. Mae golygiad Calvin ei hun, fe ellid meddwl, yn fwy wrth ei fodd. Ond a ydym yn siwr, wedi y cwbl, ein bod yn deall beth oedd golygiad Calvin? Nid wyf am honni nad yw Dr. James wedi cael allan, ac wedi dodi golygiadau Calvin yn gywir, ar Swper yr Arglwydd. Byddai yn hyfdra ynof i ddweyd hynny; ond y mae yn rhaid i mi gydnabod, er darllen ei *Institutes* ar y mater, a'i esboniad ar wahanol adnodau, fy mod yn teimlo yn bur gymylog gyda golwg ar ei farn am Swper yr Arglwydd. Tybid weithiau ei fod yn myned yn bur agos at Luther, ac ar brydiau ereill ei fod o'r un farn a Zwingli. Sylw Dr. Thomas am olygiadau Calvin ydyw, "ei fod o dan angenrheidrwydd i ddweyd fod ei olygiadau ar y pwnc yn ymddangos i rai yn hynod gymysglyd ac amhenderfynol. Barnant ei fod wedi ei arwain, naill ai gan weddillion yr hen gredo Pabaidd, ai gan yr awydd oedd arno ef, fel llawer ereill, am heddychu Protestaniaid â'u gilydd, *i ryw dywyllwch* ar y pwnc hwn, hollol anghydweddol â'r tryloewedd neilltuol hwnnw sydd yn hynodi ei feddwl ar bob peth arall." Ac ar ol rhoi difyniadau helaeth o weithiau Calvin, dywed Dr. Thomas:—"Dyma rai rhannau o waith Calvin ag y mae Bossuet a Dr. Conroyer yn honni oddiwrthynt fod ei syniadau am y cymun agos yn cytuno âg eiddo y Pabyddion!" Fel hyn yr ysgrifenna Dr. Cunningham (tud. 240) yn ei lyfr ar *Theology of the Reformation*,—ac yr wyf yn awyddus i chwi sylwi ar ei eiriau yn fanwl —am olygiadau Calvin: "We have no fault to find with the substance of Calvin's statements in regard to the Sacraments in general, or with respect to baptism, but *we cannot deny that he made an effort to bring out something like a real influence exerted by Christ's human nature upon the souls of believers in connection with the dispensation of the Lord's Supper*, an effort which of course was altogether unsuccessful, and resulted only *in what was about as unintelligible as Luther's consubstantiation.*" Yn awr, yr wyf yn ei ddweyd yn bwyllog, mai dyma'r gŵyn sydd gennyf fi yn erbyn golygiadau Dr. James ei hun ar y Swper, os ydwyf yn eu deall yn iawn, sef ei fod yn gwneud ymgais i geisio profi fod rhyw ddylanwad yn cael ei weithredu ar y cymunwyr *gan natur ddynol Crist*, syniad ag y dywed Cunningham sydd mor "annealladwy a chydsylweddiad Luther ei hun."

G. Rhaid i minnau addef, pan yn darllen golygiadau Calvin, fod rhyw niwl tew yn gordoi fy meddwl. Mae yn gwrthod syniad Luther fod corff Crist yn cael ei gynnwys yn y bara, gan fod hynny yn priodoli hollbresennoldeb i gorff Crist, yr hyn oedd yn groes i'w natur. Ond pan yn gosod i lawr ei olygiad ei hun, dywed fod "cnawd a gwaed Crist yn porthi ein heneidiau yr un fath ag y mae bara a gwin yn cynal ein bywyd corfforol, canys ni fyddai gymhwyster yn yr arwydd mwyach oddieithr fod ein heneidiau yn cael eu lluniaeth yng Nghrist,

yr hyn ni all fod heb fod Crist yn dod i *gyfuniad* â ni ac yn ein cynal trwy y weithred ar ein rhan o fwyta ei gnawd ac yfed ei waed." Dyna gyfieithiad y Dr. o eiriau Calvin. Beth tybed y mae yn ei olygu wrth ddweyd fod Crist yn dod i *gyfuniad* â ni ?

D. Hwyrach fod y nodiad Seisnig ar waelod y ddalen yn esbonio. "We admit that this is nothing else than the *eating* of *faith*, and that no other eating can be imagined." Y meddwl, gellid tybio, yw, fod yr enaid yn ymborthi ar Grist *trwy ffydd* yn unig.

G. Na, y mae yn dweyd mwy na hynny. Y mae yn son am fod ein heneidiau yn ymborthi ar gnawd Crist, ac y mae yn teimlo anhawsder i ddeall sut y gall corff Crist ein cyrraedd "o'r fath bellder lleol difesur" (tud. 269), sef deheulaw y Tad. Y mae wedi ymwrthod â syniad Luther am hollbresennoldeb *corff* Crist, ac felly nid oes ganddo ddim i'w ddweyd ond addef yr anhawsder, a dweyd y "dylem gofio fod gallu dirgel yr Ysbryd Glân tu hwnt i'n holl synwyrau ni," ac mai "ffol ydyw meddwl am fesur ei anfeidroldeb Ef wrth ein mesurau gwanaidd ein hunain. Nis gallwn, gan hynny, amgyffred sut y mae yn bod ; gadawer i ffydd ei ddirnad."

D. Beth oedd yn anhawdd ei amgyffred ?

G. Wel, rhaid i mi addef, nas gwelaf yma ond yr hyn a ddywed ef ei hun, sef "fod yr Ysbryd yn wirioneddol yn *uno* pethau ag y mae *eangderau yn eu hysgar*."

D. Ai dod â chorff Crist o'r nefoedd i lawr i'r cymun er mwyn i'r enaid allu ei fwyta trwy ffydd, ai dyna'r anhawsder y mae yn ei deimlo ? Os felly, nid wyf yn synnu. Ond y mae yn ymddangos fod Calvin yn credu yr hyn y mae ei eiriau yn ddweyd, gan ei fod yn galw arnom i wneud â'r athrawiaeth fel ein dysgir ni yn yr *Hyfforddwr* gyda golwg ar athrawiaeth y Drindod, sef edrych arni fel "dirgelwch mawr i'w gredu, ac nid i'w amgyffred." Fel yna yn wir y mae y Pabyddion yn galw arnom i wneud gyda golwg ar athrawiaeth traws-sylweddiad.

G. Y mae yn anhawdd credu fod Calvin yn edrych ar bresennoldeb Crist yn y Cymun yn y wedd yna hefyd. Ond gadewch i ni weled pa oleuni y mae Dr. James yn ei daflu ar yr athrawiaeth. Y mae yn pigo allan yr hyn a ystyrir ganddo yn hanfodol yn y golygiad Calfinaidd, ac yn nodi pethau ereill y dylid sylwi arnynt, ac yn dodi o'r neilldu olygiadau Zwingli a Luther, ac yn dweyd nad oedd yn teimlo un petrusder i addef mai prif ragoriaeth y golygiad Calfinaidd ar Swper yr Arglwydd ydoedd ei "gydgordiad sylweddol âg addysg gyffredinol y Testament Newydd." Y mae o bwys i ni gan hynny wybod beth ydyw syniad y Dr. ei hun ar bresennoldeb Crist yn y Swper Sanctaidd. Yr ydych chwi wedi darllen ei olygiadau yn fanylach na mi, mae'n ymddangos, a charwn gael eich barn chwi arnynt.

D. Ydwyf, yr ydwyf wedi darllen geiriau y Dr. yn fanwl. Pan gofiwyf fod y llyfr wedi ei ysgrifennu i wrthweithio syniadau yr Uchel Eglwyswyr, yr wyf yn teimlo yn lled siomedig. Mae Dr. Dale, yn ei Draethawd ar y *Real Presence*, yn rhoi desgrifiad o athrawiaeth un Ratramnus, tua mil o flynyddoedd yn ol, pan yn ysgrifennu yn erbyn traws-sylweddiad, a dywed nas gallai un Protestant ddymuno gwrthdystiad mwy eglur yn erbyn athrawiaeth defodwyr y dyddiau hyn. Llyfr Ratramnus a barodd i Ridley, yn 1545, wrthod yr athrawiaeth

Babaidd, ac yntau a enillodd Cranmer Ond y syndod yw, fel y sylwa Dr. Dale, fod Ratramnus ei hun, unwaith ac eilwaith, yn defnyddio geiriau nas gellid yn hawdd eu gwahaniaethu oddiwrth athrawiaeth traws sylweddiad. "Nothing is easier," ebe Dr. Dale, "than to mistake the rhetoric of religious emotion for the expression of dogmatic faith." Yn awr, nid oes gennyf finnau ond gobeithio mai felly y mae gyda Dr. James. Y mae yn defnyddio iaith am y Swper Sanctaidd, ac yn son am ryw gyfranogiad o *gorff dynol* y Gwaredwr, sydd yn llawn dirgelwch cyfriniol, iaith nas gall fy meddwl lleygol i wneud ond ychydig iawn o hono.

G. Cofiwch nad ydych i wrthod peth am fod dirgelwch yn perthyn iddo. Mae ein crefydd ni yn un oruwchnaturiol, a rhaid i chwi ddisgwyl dirgelwch.

D. Gwn hynny yn burion. Gwn fod y tywodyn lleiaf yn llawn o ddirgelwch, a bod y bywyd isaf, agosaf at fater, yn ddirgelwch mwy. Na, nid gwrthod peth am fod dirgelwch ynddo yr wyf. Goddefer i mi osod y peth yr wyf yn cwyno o'i herwydd yng ngeiriau Dr. Brown yn y *Symposium* y cyfeiriais ato eisoes. Meddai (tud. 48) :—When we ask what is *meant* by the "real presence" of Christ in the Supper, we get no intelligible answer. It will not do to say, as it is continually done, "We pretend not to explain *how* Christ is substantially present in the Eucharist; enough for us to believe the *fact*." For what we ask you to explain is, not the *manner* of Christ presence, but what you mean and understand by the *fact* of that presence, and you cannot tell us.

G. Ond y mae y Dr. *yn* dweyd wrthym beth y mae yn ei feddwl.

D. O'r goreu, gadewch i ni weled. Trown at tud. 277. Yno dywed y Dr.—— yr wyf yn gorfod talfyru; hyderaf na wnaf gam âg ef trwy hynny. Os ydym i gael golygiadau clir am y Swper Sanctaidd, y rhaid i ni roddi lle a dylanwad *llywodraethol* yn ein meddyliau i'r tri syniad canlynol, heb hynny ni dderbyniwn y "budd mwyaf neilltuol a phriodol" sydd i'w cael trwy yr ordinhad hon. Cymerwn y tri syniad hyn yn eu trefn :—1. Y syniad am Grist fel Duw-ddyn, neu y Gair ymgnawdoledig. Yn awr y cwestiwn yr wyf yn awyddus i fod yn glir arno cyn myned ymhellach yw, a ydyw Dr. James yn cymeradwyo syniad Calvin fod y cymunwr crediniol yn "cyfranogi o Grist yn gystal yn, ei *ddynoliaeth* ag yn ei Dduwdod, o'i Dduwdod trwy ei *ddyndod*," neu a ydyw yn credu, a defnyddio geiriau Dr. Cunningham wrth gyfeirio at olygiadau Calvin, yn y rhywbeth "cudd a dirgel" ac annesgrifiadawy hwnnw, sef "something like a real influence exerted by Christ's *human* nature on the souls of believers?" A ydyw Dr. James yn dysgu hyn? Peri i ddynion dybied fod Calvin yn dysgu hyn, medd Dr. Cunningham, y peth hwnnw ag sydd, meddai, mor annealladwy a chydsylweddiad Luther "ydyw y blotyn mwyaf ar lafur Calvin fel dysgawdwr cyhoeddus." Fy ngofyniad, cofiwch, yw, A ydyw Dr. James yn dysgu y peth annealladwy hwn? Os nad ydyw, yna nid wyf yn ei ddeall. Yn awr edrychwn sut y mae yn raddol yn gweithio ei ffordd i fyny at y syniad hwn : "Y syniad llywodraethol a ddylai fod gennym," meddai, "yn y Swper ydyw, yr Ymgnawdoliad." "Pa ddylanwadau gwaredigol a sancteiddiol bynnag a weithredir gan y Gwardwr heddyw, arferir hwynt trwy gyfrwng ei *ddynoliaeth*." Yn awr nid

oes neb a amheua am foment bwysigrwydd athrawiaeth yr ymgnawdoliad. Y mae Dr. Macleod Campbell, yn ei lyfr galluog ar yr Iawn, yn ei gwneud yn allwedd i esbonio *natur* yr Iawn. Ond y mae Dr. James yn rhoddi pwys ar yr ymgnawdoliad ynglŷn â Swper yr Arglwydd, nid i esbonio marwolaeth Crist fel iawn, ond i bwrpas arall. Ceisiwn ei ddilyn. Y mae yn trin ar yr enw "Mab y dyn," a'r pwys a roddai Crist ar yr enw. Rhydd esboniad—lled ddirdynnol, yn ol fy marn i,—ar y geiriau, "Pwy y mae dynion yn ddywedyd fy mod i Mab y dyn," ac yna dywed, ei fod yn "eithaf amlwg," "mai dyna un o'r meddyliau blaenaf, os nad y blaenaf i gyd, oedd ynddo pan yn sefydlu y Swper Sanctaidd." . . . "Yr ystyr y byddis yn gyffredin," meddai, "yn ei roddi i eiriau Crist ar y Swper ydyw eu bod i wneud hyn, sef bwyta o'r bara ac yfed o'r cwpan, er coffa am ei *farwolaeth* Ef." Wel, ïe, onite? Felly yr ydych wedi bod yn ein dysgu bob amser. Ië, tua "Gethsemane Ardd" a'r Groes y byddwch yn ceisio ein harwain er mwyn cael ymborth a maeth ysbrydol wrth y Bwrdd. Ond, druain oeddem, y mae yn ymddangos ein bod wedi bod yn cyfeiliorni hyd yn hyn. Yr hyn a ddymunai Crist wrth sefydlu y Swper oedd ein bod yn gwneud "coffa am dano Ef yn y cnawd." Dyma sydd i fod yn *bennaf* a *blaenaf* oll yn ein meddyliau wrth ei Fwrdd, "yr ymgnawdoliad, Iesu Grist wedi dyfod yn y cnawd, wedi ei ddryllio drosom yn y cnawd, *ac yn aros byth yn y cnawd,*" a sylwer, y mae "yr un peth yn parhau i fod yn wir am dano yn ei *fywyd nefol.*" "Pa ddylanwadau gwaredigol a sancteiddiol bynnag a weithredir gan y Gwaredwr heddyw, hwy a arferir ganddo fel *Duw-ddyn*, hynny yw, trwy gyfrwng ei ddynoliaeth" (tud. 278). Wrth gwrs, fel y sylwir, y mae ei farwolaeth yn dod i mewn yn yr ystyriaeth briodol am dano yn y cymun, ond ei ymgnawdoliad, a'i "fywyd nefol," Crist yn "aros byth yn y cnawd" sydd i gael y lle "llywodraethol" yn y meddwl. Nid oes neb wrth wneud cof am angeu y Gwaredwr yn iawn yn anghofio yr ymgnawdoliad, bid siwr, ond y marw wedi dod i'r cnawd a dybid bob amser gennym oedd y meddwl mawr yn y Swper, ond bellach——!

ELEAZER ROBERTS.

*Hoylake.*

---

## NODIADAU LLENYDDOL.

PREGETHAU. Gan y Parch. Lewis Edwards, D.D., Bala. Ysgrifennwyd wrth eu gwrando gan y Parch. O. Jones, M.A. Caernarfon: W. Gwenlyn Evans. 3s. 6ch. Cawr ymhob ystyr oedd Dr. Edwards—yr Hen Ddoc., fel y byddai ei edmygwyr mor hoff o'i alw. Yr oedd yn llawn urddas. Ac wrth weled fod y pregethau hyn yn cael eu cyhoeddi fel y traddodwyd hwy, heb dderbyn y cyffyrddiad terfynol gan ei law gelfydd ef ei hun, ofnem yn fawr y byddent yn ddiffygiol yn yr urddas a'r mawredd a roddai efe arnynt yn eu traddodiad. Wrth droi y dail yn frysiog, a disgyn yma ac acw ar rai o'r pregethau, teimlem fod ein hofnau yn cael eu cadarnhau. Llom a chyffredin, i'n teimlad, oedd yr iaith. Ni chanfyddem y fath arucheledd ag a

ddisgwyliem yn y syniadau. Ac nid derbyniol iawn gennym y cymhwysiadau parhaus sydd yn eu britho. Siomedig yn hytrach oedd ein cydnabyddiaeth gyntaf â hwy. Ac yr ydym yn crybwyll hyn rhag fod ereill wedi teimlo yn debyg. Ond ar ol ail ymgydnabyddiaeth, newidiodd ein syniadau am danynt yn fawr. Ceir yn eu mysg rai o'i brif bregethau, megys "Pethau Mawrion y Gyfraith," ac "Efe a'i dibrisiodd ei hun." Y mae yr olaf, ar "Athrawiaeth y Gwaghad," er yn fer, yn cynnwys hanfod ei olygiadau ar y pwnc pwysig hwn. Y mae yr ail bregeth, ar "Gweithiwch allan eich iachawdwriaeth eich hunain" yn un o'r pethau mwyaf cymhelliadol sydd yn bosibl meddwl am dano i ddwyn dynion at Grist, ac i ddeall ei syniadau neillduol Ef ar gredu ac ail-eni. Y mae y bedwaredd bregeth, ar "Grefydd —yn Weledig ac yn Anweledig," yn un o'r rhai prydferthaf. A'r bumed ar "Werth Crefydd"—I. wrth ystyried nas gall Angeu ddinystrio Crefydd; II. y bydd Crefydd yn dinystrio Angeu, yn un o'r rhai newyddaf a mwyaf cysurlawn yn y gyfrol. Ceir ynddi hefyd dair o bregethau angladdol, sef ar ol y Parch Henry Rees; ei gyfaill a'i gyd-efrydydd, y Parch. John Phillips; a'r Hen Fenjamin, yr hwn a ofalai mor ffyddlawn am yr hen Goleg a'r Llyfrgell yn y Bala. Testyn y ddiweddaf ydyw Act. xxi. 16: "A rhai o'r disgyblion o Cesarea a ddaeth gyda ni, gan ddwyn un Mnason o Cyprus, hen ddisgybl, gyda'r hwn y lletyem." Nid oeddym yn synnu dim ei fod yn dweyd yn ardderchog am Mr. Rees a Mr. Phillips—dau ŵr mor enwog; ond teimlem gryn ddyddordeb i wybod pa fodd y triniai gymeriad mor anhynod â'r Hen Fenjamin. Wrth reswm, gallasem wybod ymlaen llaw y buasai yn trin pob pwnc—a hwn yn eu plith—yn deilwng o Dr. Edwards. Ond yma nis gallwn lai na theimlo ei fod wedi rhagori hyd yn oed arno ei hun. Ber iawn ydyw y bregeth: ond y mae yn em pur o'r dechreu i'r diwedd. Y mae yr Hen Fenja yma yn gyflawn yn yr Hen Ddisgybl: ac nis gallasem ddymuno i'r hen law ddiddichell, gyda'i synwyr da, ei ddiniweidrwydd pur, ei barch diledrith i'r efrydwyr ieuainc gwyrddion, a'i hoffder dirodres o'r cynteddau, amgen anfarwoldeb daearol na'r bregeth odidog hon. Addefwn y carasem weithiau i'r Dr. ei hun gael y pregethau hyn dan ei ddwylaw am ychydig cyn eu gollwng i olwg y byd. Ar y llaw arall, gwell gennym eu cael fel y maent. Yr oedd Dr. Edwards yn feddyliwr mor addfed, yn medru traethu ei syniadau mewn iaith mor syml a phriodol, y rhai hynny wedi eu trwytho yn y fath grefyddolder ysbryd, ac mor llawn o synwyr, fel mai gwell gennym, o'r ddau, eu cael yn newydd o'r ymenydd yn union fel y traddodwyd hwy. Bydd cystal croesaw i'r Pregethau hyn ag i eiddo Charles Caerfyrddin.

University Sermons: Preached before the University of Glasgow 1873-1898. By John Caird, D.D , Ll.D., late Principal and Vice-Chancellor of the University of Glasgow. Glasgow: James MacLehose and Sons, Publishers to the University. 6s. Dichon y cyferfydd y darllennydd â rhai pethau yn y pregethau hyn nas gall eu cymeradwyo. Y mae yn sicr o gael ynddynt, ar bob tudalen, arwyddion o feddwl clir, treiddgar, addfed, ac annibynol. Cyffredin a sathredig ydyw y testynau, rhai y mae prif bregethwyr yr oesau wedi bod yn traethu eu syniadau arnynt. Ond y mae yr ymdriniaeth arnynt yma yn hollol newydd, ac yn rhwym o ddeffro meddylgarwch yn y darllennydd. Os nad yw yr awdwr yn rhedeg yn erbyn hen athrawiaethau sydd yn cael eu derbyn a'u cydnabod trwy yr oesoedd, eto myn eu gosod allan yn y wedd honno ymha un y maent yn ymddangos iddo ef ei hun. Ac yn gymaint a'i fod yn ysgolhaig gwych, yn efrydydd brwdfrydig, yn gydnabyddus hollol â phob agwedd ar feddwl ei oes, yn meddu ar farn ragorol, yn cydymdeimlo â gwyddoniaeth ac â chrefydd, yn Gristion duwiolfrydig, ac wedi cymeryd pob hamdden a thrafferth i berffeithio ei gyfansoddiadau, o ran iaith a ffurf, cyn eu gosod o flaen cynulleidfa wedi ei gwneud i fyny o hufen gwrandawyr ei genedl, y mae yn hawdd gweled y

rhaid i'r pregethau hyn gymeryd safle uchel iawn. Ac felly yn ddiau y maent. Beth yw crefydd? ydyw testyn y bregeth gyntaf. Ac os na fydd pawb yn foddhaol ar ei ateblad, y mae y bregeth yn sicr yn ymwneud â thestyn pwysig, a hynny yn y fath fodd nas gall lai na chynorthwyo y darllennydd yn fawr i ddyfod i benderfyniad pwyllog arno. Treia ei law ar gyfiawnhâd trwy ffydd; ni fynnem ddweyd gyda llawer o lwyddiant, ond y mae yn ymgais deg. Rhagorol ydyw y bregeth ar "Nid fy meddyliau i yw eich meddyliau chwi." Os nad yw ei olygiadau ar ail-enedigaeth yn uniongred, y maent yn newydd ac addysgiadol. Ond rhagora yr awdwr pan yn traethu ar destynau heb fod yn hollol ddiwinyddol, megys, A ydyw Edifeirwch byth yn amhosibl? Anfarwoldeb Corfforedig, Gwirionedd a Rhyddid, Perthynas Ysbrydol Natur â Dyn, Celf a Chrefydd, Y Tymhorol a'r Tragywyddol, Deddf Etifeddiaeth (*Heredity*) yn y Byd Ysbrydol, &c. Y mae cyfansoddiad y pregethau mor berffaith ag y gallai yr awdwr eu gwneud o ran iaith ac arddull, ac yn gynllunian yn yr ystyr hwn. Bu son mawr am y gyfrol flaenorol o bregethau a gyhoeddodd yr awdwr flynyddau yn ol, ac y mae yn ddi-ddadl y mŷn hon hefyd ei lle.

COFIANT CAPTEN HUGHES, Gellidara. Gan y Parch. John Jones, F.R G.S. (Aberkin), Pwllheli. Dolgellau: E. W. Evans 2s. 6ch. Cymeriad ardderchog oedd Capten Hughes, llawn synwyr, pwyll, a charedigrwydd: un o heddychol ffyddloniaid Israel. Cafodd oes faith; a threuliodd hi bron yn gwbl rhwng y môr a Lleyn. Amhosibl fuasai cael gwell testyn Bywgraffiad. Ni ddywedwn na wnaeth Mr Jones y goreu o hono dan yr amgylchiadau Daeth ag ef allan yn gynnar. Cynnwysa holl ffeithiau yr hanes, wedi eu gosod allan yn syml, diymhongar, a darllenadwy. Fel y mae, y mae yn llawn o gyffyrddiadau tyner, hapus, ac effeithiol iawn. Ond beth pe cymerasai yr awdwr galluog a medrus fwy o amser, gan gymeryd hamdden i grynhoi yr holl hen gymeriadau y gŵyr efe mor dda am danynt, yn Lleyn ac Eifionydd, a'u gosod yn gelfydd yn eu lle priodol o gwmpas Capten Hughes, i wneuthur un darlun da o honynt? Gymaint yn well fuasai.

EISTEDDFOD CAERLUDD: Rhestr Testynau Eisteddfod Gadeiriol 1899. W. H. Roberts, 10, Cecil Street, Charing Cross Road, London, W.C. 6ch. Program destlus a dyddorol ryfeddol: un o'r rhai glanaf a pherffeithiaf a welsom erioed. Fel hyn y dysgir seinio Eisteddfod yn Saesneg, "*i-stêthvod*," a Chaerludd, "*kire-leeth.*" Beth nesaf?

BRIWSION Y FORD GRON: Rhif. 4, Rhagfyr, 1898. Caerlleon: Edward Thomas, Caxton Buildings. 3c. "Bara cartref sydd gennym. Cychwynwyd Cymdeithas yn ddiweddar gyda'r amcan o ail-godi gwaith llaw Cymru —cael y droell ar droed eto, a'r gweu, a charem weled yr awydd yma am yr hyn sydd Gymreig yn ymledu fwy-fwy." Felly y dywedir ar y tudalen cyntaf, ac, o galon, ni a lon-gyfarchwn wedd, ac iaith, ac amcan y FORD. Braidd yn oedranus ydyw ei newyddion: Tachwedd 10fed, 1896!

AWDL AR AGER. Gan J. J., Ty'nybraich. Corris: Idris Press Co. 6ch. Testyn mor anfarddonol a dim a ddyfeisiwyd gan unrhyw Bwyllgor Eisteddfodol erioed. Awdl dda er hynny. Dyma ddwy linell ragorol o'r englyn cyntaf i gyd:

"Plentyn glân i dân a dŵr—yw'r ager."

. . . . . . . . .

"Dihafal gaethwas ydyw fel gweithiwr."

Mynnai Elis Wyn o Wyrfai mai hon oedd yr Awdl oreu, ond barnai yr Archdderwydd, Hwfa Mon, mai eiddo y Parch. W. Milton Aubrey, o Lanerchymedd, oedd y wobr, a chyd-farnodd Hiraethog â Hwfa.

# Y TRAETHODYDD.

## Y WEFUS BUR.

CANAF i'r Wefus Bur, y Wefus sanctaidd,
Sydd megys ffynnon geiriau pur, nefolaidd;
Cyffyrdded Ior ei Hun â gwefus awen
I'w dysgu i ganu odlau pur, diabsen—
Odlau diwenwyn, llawn o drydan byw,
Odlau wna godi'r byd yn nes at Dduw.

Y Wefus Bur! Gwyn fyd y dyn a'i medd:
Mae'n ffynnon o ddiddanwch pur a hedd;
Pwy ŵyr ei gwerth mewn byd sy'n halogedig?
Geill hon fendithio daear felldigedig,—
Geill wasgar hadau anfarwoldeb gwiw,
A throi'r anialwch gwyllt fel rhosyn Duw.

Rhoes Naf ar wefus dyn yn nechreu byd
Eiriau i redeg fel cenadau drud:
Geiriau i gynrychioli ei syniadau,
I gario dwfr o ffynnon ei deimladau;
Rhoes Iaith i dafod,—iaith mor bur â'r gwlith
Ynddi ei hunan; geiriau pur, dilyth—
Mor bur â meddwl heb ei 'staenio erioed,
Mor wŷn â chalon ieuanc, ddiwrnod oed.

O! fel y car'swn glywed geiriau mwyn
Adda wrth Efa, cyn i bechod ddwyn
Cysgod y fagddu arnynt. Dyna iaith
Esmwyth neithdarol ydoedd ar ei thaith—
Fel dïod duwiau: gair yn codi gwên
Ieuengol, dirf, heb arwydd mynd yn hen;
A'r wên yn codi gair i wenu eilwaith,—
Fel gwênau haul yn cadw t'wyllwch ymaith;
Iaith ydoedd honno gynt, a'r oll o'i geiriau
Fel llynnoedd dwfn yn llawn o ddydd-feddyliau;
Dim cysgod cwmwl i ddifwyno'u hedd,
Nac awel arw fyth i grychio'u gwedd;
Gallesid gweld y galon yn ei dyfnder—
A delw Duw o honi mewn ysplander
Yn ymddisgleirio i fyny! Hyfryd iaith!
Gwyn fyd na chlywsid hon gan ddaear faith!

Ai onid *miwsig* ydoedd—miwsig byw
Calonnau yn cyd-guro â chalon Duw ?

Ond daeth y fagddu i dywyllu'r nen ;
Aeth purdeb calon Adda o dan len,
A'r ddelw gollwyd ! Rhedai y cymylau
O'r dwfn i'r arwynebedd ; eu cysgodau
A welwyd ar y ddaear fel ysbrydion
Yn gwasgar ofn a dychryn ymhlith dynïon !
Dyna'r dirgelwch :—dwfr y ffynnon lân
Halogwyd gynt ; ac wele'r ffrydiau mân
Yn cario yr amhuredd ar eu tòn—
Dyna ddirywiad iaith y ddaear hon.

"O lawnder calon y llefara'r genau,"
Medd Iesu, Adnabyddwr y calonnau ;
O drysor da ei galon, dŵg "y da"
Ddaionus bethau gwir a'i llawenhâ ;
Ac yntau'r "drwg," yr unwedd, allan ddwg
I'w wae—o'i drysor aflan—bethau drwg ;
A gesglir grawnwin peraidd oddiar ddrain ?
Neu oddiar ysgall gwylltion ffigys cain ?
A eill gair aflan ddod o'r nefoedd lân ?
Neu air sancteiddiol wreiddio'n uffern dân ?

A ! wefus y rhagrithiwr ! os mai mwyn
Yw sŵn dy *eiriau*—bleiddiaid ynt yn nghrwyn
Defaid diniwed. Hwnt yn ngoleu'r Farn
Disgynnant—fel "y deg-ar-hugain darn"
Brynasant Iesu gynt—yn uffern ddu
Fel gwobrwy rhagrith i'w perchennog tru !
Ha ! bloeddia'r Gwir yn groyw âg un llef
Yn nghlyw y ddaear, uffern ddu, a'r nef :—
  Mai fel mae ei eiriau, felly mae dyn :
  Ei galon a'i wefus sydd fyth yn un !

O gyflym *Iaith !* Mae geiriau megys lluched
Yn rhedeg drwy y crëad,—O ! gyflymed !
Eiriau diorffwys. Fyth ar eu hadenydd.
Oes byd—"lle ni chlybuwyd eu lleferydd ?"

Ei llinyn byw a redodd i bob pwynt,
A'i geiriau chwim hyd eu heithafoedd hwynt ;
Onid cymylau cyflym ydynt hwy
Wedi myn'd allan—i ymarllwys mwy
Yn felldith neu yn fendith ar y ddaear,
I'w throi yn grasdir noeth neu'n Eden hawddgar ?

Faint yw *dylanwad* "gair"? B'le mae ei gysgod
Yn cyrraedd bellaf? A yw ef i ddarfod
Fel "cylchau" tafliad carreg yn y llyn?*
Neu, ynte, i bara byth yn allu syn
O fewn Cymdeithas,—gallu i ymdoni
Yn wenwyn neu yn fywyd newydd drwyddi?
Ha! Llygad Ior yn unig eill weld rhyfedd
Ddylanwad "gair" yn "mynd a chael gogonedd;"
Digon i ni yw gweld ei ddylanwadau
Yn hanes byd fel gwyrth yn "creu cyfnodau:"
Ei weld yn hudo lluoedd byd o dref,
Ei weld yn arwain llanc i Deyrnas Nef.

Mae gan y fall ei geiriau du ei hunan;
Rhegfeydd y diafol; llwon llawn o frwmstan;
Geiriau yn ffrwyth athrylith wyllt y pwll,
Yn sawru fythoedd o anwiredd mwll;
Maent fel hen lestri wedi colli'u ffurf—
"Llestri tŷ Dduw" yn cario damniol wirf!
Mae diafl-wrthuni arnynt; eu prydferthwch
Wedi diflannu o dan fythol hagrwch:
Hen eiriau celyd ydynt, geiriau trwm
Gan drawsedd; a disgynnant megys plwm;—
A disgyn wnant am byth gan drymed ydynt,
Gan suddo llu i ddinystr odditanynt!
Maent megys haint yn cerdded awyr byd,
Yn gwywo'i flodau ac yn deifio'i wrid;
Yn gweithio'i ffordd at galon wen moesoldeb,
Yn sugno'i bywyd—o blaid anuwioldeb;
Locustiaid uffern ydynt! erchyll bla,
Yn bwyta nerth y byd a'i "bethau da."

O henffych, Eiriau Pur! Gwyn yw eich gwisgoedd;
Yr y'ch mor fwyn â thyner lesni'r nefoedd;
Mor ysgafn yr hedfanwch uwch y llawr,
Fel colomenod yn ngoleuni'r wawr;
Mor ysgafn-dyner â goleuni'n disgyn
O'r nef i baentio gwyneb mwyn y rhosyn—
Efelly chwithau. 'R ydych yn drugarog
Fel natur deg ei hunan; fyth yn serchog
I wênu ar flodeuyn mewn byd garw
Yn "dechreu'i fyd"—ar ymyl hen Fôr Marw
Y bywyd hwn. Ha! mae eich gwenau chwi
Fel ennaint gwerthfawr iawn i natur gu
Ar fin ymagor. Gennych chwi mae'r gwlith
Eill ei hireiddio a'i chadw'n werddlas fyth;
Nid oes gerwinder yn eich natur fwyn
I ddamsang ar ledneisrwydd pur a swyn;

* Er nad yw hyn yn wyddonol gywir, eto fforddia eglureb i ni yma i bob pwrpas ymarferol.—J. T. J.

Mae ynoch allu i alw'r prydferth allan,
A goglais bywyd pur â'ch clychau arian ;
I ddeffro y teimladau mwyna' erioed
I symud megys gwanwyn yn y coed,
Gan wneud i adar ein naturiaeth gânu
Y cerddi hynny i'r byd wnant ei ddiddanu ;
Mae ynoch swyn eill ennill sylw byd
I wrando ar eich llafar grasol, drud ;
Gallu i ennill byd at haul Gwirionedd—
Sy'n Ffynnon loyw, bur, pob gras a mawredd.

O Wefus Bur ! wyt addurn glân Cymdeithas,
Yn ymbelydru fel gan Ddwyfol urddas ;
Anrhydedd mab wyt ti ; anhebgor merch ;
A phennaf arwydd sicr diwylliant derch ;
Y Wefus Bur ! mae clywed swn dy eiriau
Uwchben cymdeithas hadl, fel melus salmau
Yr Eös beraidd, unig, ar fy nghlust—
O ! fyd anuwiol ! gwrando ! gwrando ! Ust !
Paham y dysgi i'th dafod iaith y fall,—
Gwrando wrth ddrws y Wefus Bur, ddi-wall ;
Dyma ddysgeidiaeth lân : mae ei lleferydd
Yn llys y byd yn ei chyhuddo beunydd ;
Oferedd gwadu !—"adwaen" *hon* "y dyn"
Eill buro calon byd â'i Ras Ei Hun.

Ein Iesu ni ! Ffynnonell fawr pob purdeb :
Mae Ef a'i Air yn un er tragwyddoldeb ;
Ni chafodd twyll na phechod le'n Ei galon,
Ni ddaeth o'i Enau mwyn ond ffrydiau rhadlon ;
Efe sy'n gallu dysgu mewn awdurdod :
Mae cyfraith bur gwirionedd ar Ei dafod ;
Tywalltwyd gras ar Ei wefusau Ef—
A'i Eiriau glân yw hanfod Nef y Nef.

O Iesu mwyn ! rho imi Wefus bur ;
Dy Ras i'm mant fo yn ogoniant gwir ;
Fel gallwyf draethu mewn hyawdledd llawn
Am rin Dy gariad pur o fore i nawn ;
Ac yna, croesi gaf yr olaf dòn
A'th ENW'n *symud* ar fy ngwefus lon :
Mae gwin Dy Gariad Di i'r "rhai fo'n cysgu"—
Yn peri i'w gwefusau pur lefaru !

JOHN T. JOB.

## LLYFR HYMNAU NEWYDD Y METHODISTIAID.

RYW flwyddyn a hanner yn ol cyhoeddodd Methodistiaid Cymru gasgliad newydd o hymnau a thonau; ac ymhen llai na blwyddyn wedyn eithriad fyddai cael cynulleidfa heb dderbyn y llyfr. Y mae hynny yn destyn llawenydd i ni oll. Aros i hynny ddyfod i ben, yn wir, oedd oreu i ni, sy'n bwriadu defnyddio'r llyfr am flynyddau meithion, cyn traethu ein barn yn hollol rydd am dano. Ond bellach, gallwn wneud hynny gyda chydwybod dawel, ac heb beryglu cael ein cyhuddo o ddrwg amcanion. Am danaf fy hun, mi wn na fydd yn neb o'r pwyllgor a baratodd y llyfr ddim byd gwaeth tuag ataf na theimlad o dosturi. Fel y mae goreu'r modd, y mae gan bobl gall ffordd hwylus iawn i beidio cymeryd eu poeni'n ddianghenraid gan ddim a ddyweder gan rai sydd eto'n rhy wan i ddim ond beirniadu. Priodolant y cwbl i asbri bachgennaidd, yn codi o ddiffyg cynefindra âg anhawsterau'r gwaith. Gresyn fuasai dweyd gair i lesteirio llwyddiant y llyfr. Y mae llyfr hymnau fel pregethwr. Hawdd fyddai, trwy ei feirniadu ar gam adeg, fyned rhyngddo â chyflawniad ei waith. Yr ystyriaeth yma a'm cadwodd yn fud hyd yn hyn. Llawer o bethau da y sydd, ag y mae gennym ddwy safon i'w barnu hwy wrthynt. Y perffeithrwydd uchaf y gallesid ei ddisgwyl dan yr amgylchiadau, ydyw un; a graddau boddhaol c ddefnyddioldeb, ydyw'r llall. Y ddiweddaf a'r isaf o'r ddwy oedd i'w harfer pan na fyddai'r cwestiwn ond ynghylch defnyddio'r casgliad hwn, a rhoi pob cefnogaeth iddo y gallai aelod o'r Cyfundeb ei rhoddi; ond dyfod y mae'r adeg pryd y rhaid i lyfr hymnau, a llyfr hymnau da, fel pethau da ereill, ddioddef gwynebu'r ymholiad, Ai nis gallai fod yn llawer gwell?

Hanes difyr odiaeth fydd hanes llyfrau hymnau Cymru—hanes y llyfrau felly: oblegyd hanes yr emynnau a geir, hyd yr wyf yn cofio, yn llyfr Mr. Elvet Lewis. Hwnnw sydd bwysicaf, bid siwr; ond y mae hanes y llyfrau yn ddyddorol hefyd yn ei le. Fe roddes Mr. Levi bennod werthfawr a chryno ar y pwnc yn ddiweddar, wrth ysgrifennu yn y *Drysorfa* ar y gwahanol lyfrau hymnau a fu gan Fethodistiaid y De. Y mae gennyf gof plentyn am lyfr Roger Edwards; ac mor anawdd, onide, oedd dygymod â'r cyfnewidiadau a wnaed yn y llyfr a ddaeth yn ei le? yr hwn sydd yntau, bellach, wedi mynd yn hen—y llyfr a gyhoeddwyd yn 1869. Ond buan y cafodd y rhan fwyaf eu hargyhoeddi, pa faint bynnag o ragoriaethau oedd yn yr hen lyfr—ac yr oedd llawer—fod y newydd, ar y cyfan, wedi rhoi cam mawr ymlaen. Peth i'w ddisgwyl oedd hynny; oblegyd y mae gan bob casgliad newydd o hymnau fantais ddirfawr ar y rhai a fu o'i flaen, gan y gall yn hawdd gadw eu rhagoriaethau hwy, ac osgoi rhai o'u diffygion. Ymddengys i mi fod y chwarter canrif o brawf a gafwyd ar lyfr 1869 wedi cadarnhau y parch y dysgwyd i ni yn blant ei deimlo tuag ato. Nid oes, ers blynyddoedd, un math o ameuaeth gennyf fi, nad hwn, ar y cyfan, ydyw'r casgliad goreu o emynnau, nid yn unig gennym ni, Fethodistiaid, ond yn yr iaith Gymraeg. Y mae felly er gwaethaf

rhai diffygion pur bwysig, a pheth afrifed o fân ddiffygion. Yr oeddym ers blynyddau bellach wedi clywed mwy am y rheiny nag am ei rinweddau; ond trwy'r cwbl yr oedd pethau ynddo a'i gwnaent ef, i bob meddwl diragfarn, yn un o risiau uchaf cynnydd yn y gelfyddyd o wneud llyfr hymnau da.

Aeth y Methodistiaid at y gwaith o wneud y llyfr diweddaf oll a'r casgliad rhagorol hwn ganddynt; a'r cwestiwn yw, nid a ydyw'r llyfr newydd a wnawd yn un da. Y mae felly yn ddidadl. Fe gynnwys doreth yr emynnau goreu yn yr iaith. Y mae hynny'n ddigon i'w wneuthur yn un da. Ond y cwestiwn yw, a ydyw hwn yn ddigon gwell na'i ragflaenydd i fod yn werth y drafferth o'i wneud? Trafferth! ïe, y mae'n debyg, na fu pwyllgor erioed gonestach am gymeryd trafferth na'r un a wnaeth y casgliad hwn. Y mae ôl gwaith trwyadl, manwl, ar bob dalen. Fe brawf diffygion y gwaith hynny mor eglur a'r gamp sydd arno. Ni arbedwyd dim y ffordd honno i wneud y casgliad yn un da. A dalodd y drafferth yma, ynte, am dani ei hun? a roddwyd cam pwysig ymlaen, fel y gwnaeth rhai o'r cyfundebau Cymreig a Seisnig yn eu llyfrau diweddaraf? ac fel y gwnaethai y Methodistiaid Calfinaidd yn y llyfr o'r blaen? A chymeryd yn ganiataol, ynte, fod y llyfr o'r blaen yn un o'r rhai goreu yn yr iaith, digon, er mwyn arbed cwmpas, fydd cyferbynu y llyfr diweddaf yma â hwnnw.

Ni wâd neb nad oes gan y llyfr newydd ei ragoriaethau, a'r rheiny'n rhai anhawdd iawn eu cael. Rhagora'n fawr ar ei ragflaenydd o ran trefn. Dyna un o fannau gwan yr hen lyfr. Yr oedd ynddo dros ddau cant o emynnau o dan y pennawd cyffredinol "Profiadau'r Credadyn." Yr oedd yn eu mysg emynnau, neu bennillion a dweyd y lleiaf, ar braidd bob pwnc yn y *Gyffes Ffydd.* Y mae'r newydd o'r tu arall wedi ei rannu a'i adrannu, ei destynu a'i is-destynu, gyda'r gofal manylaf. Ac, i goroni'r cwbl, y mae cynifer Mynegai ar ei ddechreu, fel mai'r unig anhawster yw yr un a deimlir yn yr America gyda'r gwahanol lysoedd a'r gwahanol fyrddau, gwybod â pha un o honynt i ymofyn. Gellid meddwl fod y gelfyddyd ddyrys o ddosbarthu emynnau, yn ol eu materion, wedi ei dwyn i'r perffeithrwydd llwyraf yn ol y llyfr hwn.

Arwydd o ofal am drefn ydyw'r diwigiadau sydd yma ar y dull o rannu ambell i emyn rhy hir i fod yn un. Yr esiampl amlycaf o bosibl yw "O enw ardderchocaf." Rhennid yr emyn yn ddau yn yr hen lyfr; a dechreuai'r ail ran yn chwithig iawn gyda'r gair "Ac":—

"Ac yna adgyfododd."

Dwy ran oedd yn llyfr Roger Edwards, ond yr osgoid yr "ac" trwy newid ychydig, a hynny, am a wn i, yn ddigon maddeuol yn y fan yma. Yn lle "Ac yna adgyfododd," fel yr oedd y pennill gan Williams ei hun, cenid

"Fe adgyfododd Iesu.'

Cawn amgenach trefniant o lawer na'r un o'r ddau yn y llyfr presennol —torri'r emyn yn dair rhan, fel y disgyn yr "ac" yng nghanol yr ail ran. Yr oedd y ddyfais yma yn un syml, ac yn un hollol dêg.

Os oes lle i gwyno o gwbl ar bwnc o drefn, y gwyn fyddai, na buasid wedi efelychu amryw gasgliadau adnabyddus, a dodi'r dôn lle bynnag y bo'i heisieu hi gyda'r emyn, er mwyn i'r argraffiad cerddorol a'r argraffiad heb dônau ganlyn yr un cyfrif. Gwir y buasai raid felly rhoddi llawer llai o emynnau â thônau i mewn nag a roddwyd, gan y buasai rhai tônau yn digwydd seithwaith neu wyth feallai yng nghorff y llyfr. Ond y mae yn y llyfr goreu a welwyd eto ddigon o emynnau sâl, a thônau heb eu heisieu, i wneud llyfr llai yn eithaf goddefol. Ni wiw gobeithio am lyfr rhad i gynnwys pob tôn a phob emyn y buasai yn dda gan ddyn gael copi o honynt. Ond bai bychan iawn ydyw hwn.

Cymwynas amhrisiadwy a wnaeth y pwyllgor â'u henwad, oedd priodi emynnau â thônau, un o hoff feddyliau Ieuan Gwyllt. Y mae hyn eisoes wedi bod yn fendith mewn llawer cymydogaeth; a gobeithio y dilyn pob pencerdd yn o fuan esiampl yr ychydig hynny sydd yn arfer un o leiaf o'r tônau ar bob gwynebddalen. Dichon fod ambell i waith dôn dda wedi ei chyplysu â rhês o emynnau gwaelion, a thro arall ambell i emyn anffodus yn ei gymar. Ond os rhaid i ddyn droi ei gefn ar ambell i hen ffrynd, am nad yw y ffrynd hwnnw wedi priodi wrth ei fodd ef, y mae digonedd o briodasau hapus; ac y mae priodasau y llyfr yma, at eu gilydd, yn rhai hapus iawn. Ond yr wyf yn tresbasu ar dir y cerddorion nad oeddwn yn bwriadu myned led fy nhroed iddo, nes cael rhagor o ysgol.

Amhaethun mawr yw cael taflen awduron mor gyflawn a chywir. Cof gennyf fyned o honof yn wrthrych beirniadaeth lem gan gyfaill, oherwydd dilyn yn ddiniwed daflen y llyfr o'r blaen, a dweyd mewn ysgrifen, mai John Williams o Bantycelyn oedd awdwr "Pwy welaf o Edom yn dod." John Williams, St. Athan, Bro Morganwg, oedd yr awdwr, cyfaill a chymydog Thomas Williams, Bethesda y Fro. Tueddai taflen Ieuan Gwyllt at briodoli braidd bob emyn hŷn na dyddiau Williams, Pantycelyn, i Emwnt Prys, os byddai wedi ei ganu yn y mesur salm. Cywirwyd hynny hefyd yn y daflen newydd. Ellis Wynne bia "Myfi yw'r Adgyfodiad Mawr;" a Rolant Fychan bia'r cyfieithiad "Tyr'd Ysbryd Glân, tragwyddol Dduw. Yr unrhyw â'r Tad nefol," a "Thyr'd Ysbryd Glân i'n calonnau ni." Rhoddir awdwr neu hanes amryw emynnau a nodid yn anadnabyddus o'r blaen. Dafydd Sion, o Lanberis, ydoedd awdwr

"Mae Seion wan yn gruddfan dan y groes."

Ond os ydyw'r casgliad newydd yn meddu rhagoriaethau o'i gymharu â'r hen lyfr, y mae ynddo ddiffygion lawer, diffygion y buasai yn hawdd iawn eu hosgoi, diffygion rai y buasai yn haws eu gochel na syrthio iddynt. Os ydyw hwn o ran cywirdeb hanesyddol, o ran hwylusdod, ac o ran trefn, yn gam ymlaen, ofni yr ydys ei fod mewn rhyw bethau llawn pwysicach yn gam yn ol.

A ydyw ei gynnwys cystal, at ei gilydd, â'r hen lyfr? A ydyw yr emynnau newyddion sydd yn hwn yn ychwanegiad pwysig at ei werth? Cawn yma rai oedd wedi arfer bod mewn llyfrau, ac a adawsid allan o'r llyfr diweddaf, na wyr neb paham, megys "O na chawn i olwg hyfryd,"

"Mae enw Calfari,
Fu gynt yn wradwydd mawr."

"A raid i minnau drengu
O eisieu'r dyfroedd pur?
'Rwy' bron llewygu'n tramwy
Y dyrys anial dir.
Dwg fi i'r dyfroedd tawel
A'r porfeydd gleision mawr,
Lle mae y rhai lluddedig
Yn rhoi eu pennau i lawr."

Am amryw o'r rhai hyn nis gallwn fod yn rhy ddiolchgar. Y mae y pennill diweddaf a ddyfynnwyd o waith Dr. Watts, a chyfieithiad David Charles, yn esiampl o Dr. Watts yn ei fan goreu, ac wedi ei gyfieithu mor ystwyth a phe canesid ef am y tro cyntaf yn Gymraeg.

Eithr fe ganai Dr. Watts, weithiau, fel y gwnai Williams Pantycelyn, yn anhygoel o dlawd. I beth ar y ddaear yr oedd eisieu rhoi hwn i mewn, os nad i ddangos, trwy ei salwindeb, ogoniant yr emynnau gwych sydd o'i ddeutu?

"Gwel'd tyrfa yn addoli
Yr Arglwydd yn ei dŷ,
Yw'r olwg fwyaf hyfryd
O dan y nefoedd sy;
Cydganu wnant yn gyson,
A chydweddïo Duw,
A dysgu rhodio'r llwybyr
I fyned ato i fyw.

Ac yno bum yn fynych;
Ac eto âf yn llon;
Can's yno yn fy ngolwg,
Mae nefoedd fechan bron:
'Does fwyniant dan yr wybren
Nac un difyrrwch fydd
Yn ddigon i fy atal
Fwynhau y sanctaidd ddydd."

Y mae "Nefoedd fechan bron," yn niwedd odl yn ddigon i dorri caritor unrhyw bennill. Nis gwn ai ar y gwreiddiol ai ar y cyfieithiad y mae mwyaf o fai. A thra yr ydym ni gyda'r pwnc, a oedd eisieu cyfieithiad o "Lead, kindly light"—oddieithr cael o honom un da iawn? Ofnwn nad oes yr un felly eto; ac nid oes yr un dôn wedi ei chanu eto a wna ddim byd tebyg i degwch â'r emyn yn Saesoneg. Y mae Sandon yn dôn dda; ond nid yw o gwbl yn dwyn allan ysbryd yr emyn. Da iawn y gwnawd roi emynnau cyfiaith o'r Ellmynneg, megys "Ein nerth a'n cadarn dŵr yw Duw," "Y seren ddydd," "Clywch, deffrowch," a'r cyffelyb. Yr oedd y tonau'n werthfawr, ac nid oedd eiriau arnynt; ac yr oedd y cyfieithu, neu yr efelychu yn dda, ac weithiau yn dda odiaeth. Os oedd awydd am gael i mewn dôn neu dônau ar fesur "Lead, kindly light," gwell, am a wn i, fuasai pennu rhywun i ganu emyn ei hun ar gyfer hynny. Rheol, go ddiogel gyda chyfieithiadau yw, peidio derbyn un i gasgliad cynnulleidfaol os na fuasai'r cyfieithiad yn pasio hyd yn oed

fel emyn gwreiddiol ar ei deilyngdod ei hun. Y mae cyfieithiad Lewis Edwards o'r emyn

"Trwy ddirgel ffyrdd mae 'r uchel Ior"

yn dyfod i fyny'n berffaith â'r rheol hon. Felly emyn Cymraeg Alafon,

"Glân gerubiaid a seraphiaid."

Er nad yw ond cyfieithiad, mae'n anhawdd dweyd pa un oreu, ai'r gwreiddiol ai'r Cymraeg. Cymerwch bedair llinell yn engraifft :—

"Round the Lord in glory seated,
Cherubim and seraphim
Filled his temple and repeated
Each to each the alternate hymn."

"Glân gerubiaid a seraphiaid
Fyrdd o gylch yr orsedd fry,
Mewn olynol seiniau dibaid
Ganant fawl eu Harglwydd cu."

Ond ar y cyfan, er fod yma rai cyfieithiadau digymhar, y mae yma ormod o rai fel arall ; a goreu po leiaf o gyfieithu ailraddol, yn enwedig i iaith sydd mor gyfoethog o emynnau ei hunan a'r iaith Gymraeg.

Bai llenyddol go bwysig ydyw clytio hen emyn â llain newydd—pennill, dyweder, o waith awdwr diweddar. Y mae y Pwyllgor wedi gwneud cryn lawer o hyn. Y mae yn faddeuol, feallai, pan y llwyddir i wneud y pennill newydd yn null y gweddill o'r hymn. Y mae pennill Peter Williams, "Ofnadwy ydwyt ti a'th arch," yn Salm lxviii., yn o debyg i waith Emwnt Prys. Eithr cyfarfyddir yma âg emynnau a glytiwyd â llain heb fod o'r un lliw. Yn yr emyn a ganlyn y mae pennillion o gasgliad Roger Edwards yn bennillion a iâs o gynghanedd ynddynt. Dyna eu prif swyn. Dyna nod braint eu harddull. Ond fe chwanegwyd atynt bennill (mewn rhan) di-gynghanedd nes torri ar arddull yr emyn :—

"Mae baner dirwest ar y maes,
A phechod cas yn ffoi ;
Ac o du sobrwydd wele'n awr,
Mae'r frwydr fawr yn troi.

I lawr daw'r eilun yn ddibarch
Fel Dagon wrth arch Duw ;
Ac fe ddilëir cyn bo hir
Ei goffa o dir y byw."

Fe ymddangosodd gras ein Duw,
Gan ddwyn newyddion da
Am iachawdwriaeth fawr ei dawn
I fyd sy'n llawn o bla.

Pa un bynnag a ydyw y pennill olaf yn ychwanegu at werth cynnwys yr emyn ai peidio, nid yw wedi ei wneud ar yr un patrwm. Y mae y llyfr hwn, a bydd llyfrau a ddaw ar ei ol, yn ddyledus i Mr. Levi am emynnau plant, yn enwedig. Y mae "Fe elai plant at Iesu Grist" yn gysegredig eisoes mewn llawer o deuluoedd. Ond gwell ymhob modd

fuasai bod pennillion Mr. Levi wedi eu dodi i mewn fel emynnau ar wahân, yn lle eu cymeryd i drwsio hen emynnau. Cymerwn un o bennillion goreu'r awdwr; ac un da iawn ydyw :—

"Cof am y gwawd a'r dirmyg,
Y goron ddrain a'r cur,
Cof am y traed a'r dwylaw
Fu dan yr hoelion dur:
Cof am y gair gorffenwyd,
Ddolefodd ar y pren,
A'r lloches sy'n ei angeu
I'r euog guddio'i ben."

Dylai pennill fel yna fyw; ac fe fydd byw. Ni fydd yr un llyfr bellach yn gyflawn hebddo; ond yr anffawd oedd ei ddodi yn bedwerydd pennill o'r emyn adnabyddus "Cof am y cyfiawn Iesu;" ac y mae hwnnw yn gorffen yn daclus heb hwn.

"O anwyl Arglwydd Iesu
Boed grym dy gariad pur,
I dorri'm calon galed
Wrth gofio am dy gur."

Y mae pennill ychwanegol wedyn, er ei fod yn arddull y pennillion o'r blaen, ac yn gystal pennill a hwythau, yn ail ddechreu, ac felly yn torri ar unoliaeth yr emyn.

O'r emynnau newyddion, heblaw cyfieithiadau, ychydig sydd yn rhai da; ac ymddengys fel pe bai rhai o honynt i mewn yn unig am eu bod yn cyffwrdd â materion nad oedd emynnau arnynt. Yn wir ni synnai dyn ddim na fu hynny yn gryn bwnc gan y Pwyllgor; ac y mae yn bwnc a haeddai beth ystyriaeth, ond nid hanner cymaint ag a roddir iddo gan gasglwyr emynnau yn gyffredin. Y mae dewis emynnau yn debyg i ddewis blaenoriaid. Nid yw fod eisieu rhai yn ddigon o reswm dros ddewis rhai os na bydd deunydd. Y pwnc mawr ddylai fod, gwneud y detholiad goreu o'r emynnau sydd yn werthfawr ar eu teilyngdod noeth. Os bydd lle i ddadl ynghylch teilyngdod, gellir ystyried prinder emynnau ar fater yn help i dorri'r ddadl. Ond ail beth hollol, wrth gasglu llyfr hymnau, yw cael hymnau ar faterion neilltuol ac at wahanol achlysuron. Emynnau at achlysuron neilltuol yw'r rhai salaf ymhob llyfr. Y mae eithriadau; ond dyna'r rheol. Ac o'r emynnau at achlysuron neilltuol, y rhai goreu yw'r rhai a soniant leiaf am achlysuron. Y mae "Boed fy mywyd oll yn ddiolch" yn well salm o ddiolchgarwch am y cynhauaf na'r pennill hwnnw a ddibennai fel hyn :—

"Er iti ddifa peth o'r ŷd,
Ti roist y tatws i ni i gyd."

Bu golygwyr y llyfr yma yn nodedig o hapus mewn dewis emynnau diolch am y cynhauaf; a gogoniant y rheiny yw, nad oes nemawr o sôn am y cynhauaf dan ei enw yn y rhan fwyaf o honynt. Y mae un newydd yn eu mysg, gwerth ei grybwyll, emyn Gwyneddon, "Anfeidrol Dduw rhagluniaeth." Y mae yma hefyd emyn cenadol newydd o waith Mr. J. T. Job, "Eheda efengyl dragwyddol." Ond am doreth yr emynnau newyddion a ddaeth i mewn, nis gellir eu canmol gyda chydwybod ddi-rwystr.

Ond beth am y rhai newyddion y gallesid eu dodi i mewn? Fe eglurodd y Dr. Cynhafal Jones yn y *Drysorfa* paham nad oes yr un o Salmau Cân Hiraethog wedi ei dewis. Ymddengys i'r pwyllgor wneud pob ymdrech i gael cennad i argraffu rhai o honynt, a methu yn dêg a chael. Ond oni allesid cael ambell un dda iawn o blith Salmau Cân Nicander? Nid yw y llyfr hwnnw yn fy ngyrraedd; ond am a allaf fi gofio, buasai'r bedwar ugeinfed o'r rheiny'n deilwng iawn o le mewn unrhyw lyfr. Ond paham na buasai ychwaneg o Salmau Huw Myfyr i mewn? Un yn unig a roddwyd, a dim ond dau bennill o honno. Gwnaethai salm 105 ar ei hyd emyn ysgol Sul rhágorol; a hawdd fuasai dewis amryw ereill mor ragorol a hithau. Gan fod y llyfr mor ddieithr, fe'm temtir i godi rhai esiamplau.

SALM 18.

O Arglwydd, caraf di,
  Cadernid egwan ŵr;
Amddiffyn wyt i mi,
  Fy nghraig a'm huchel dŵr;
Yr Arglwydd canmoladwy fydd,
Pan alwyf arno i'm rhoi yn rhydd.

Pan oedd o'm cylch yn cau,
  Reffynnau uffern ddu,
Fy llef a glybu'n glau
  O'i demel sanctaidd fry;
Cynhyrfai'r ddaear ger ei fron,
A thân o'i enau ysai hon.

Gostyngai'r nefoedd fawr,
  Dan bwys ei gamre'n dod,
Mewn dig y sathrai i lawr
  Dywyllwch yn ei rod;
Marchogai'r cerub ar ei hynt,
Ehedai ar adenydd gwynt.

Mellt—saethau'i ddicter llym,
  Wnaent i'm gelynion ffoi,
A'i anadl yn ei grym;
  Ddinoethai'n ddiymdroi
Waelodion eitha'm carchar llaith,
A dwfn sylfeini'r ddaear faith.

Anfonodd oddi fry,
  A thynnodd fi i'r làn,
Yn fyw o'r dyfnder du
  Gwaredodd f'enaid gwan;
Myfi o'i gariad heddyw sydd
Mewn ëang le yn rhodio'n rhydd.

SALM 51.

O Dduw yn raslawn trugarha,
  Dilea fy anwiredd,
Oddiwrth fy mhechod golch fi'n ddwys,
  Mawr ydyw pwys fy nghamwedd.

Fy mhechod sydd ysgeler iawn,
  'Rwyf heddyw'n llawn gydnabod,
Yn d' erbyn di yr oedd y drwg,
  Nid yw dy ŵg yn ormod.

O'r groth llygredig ydwyf fi,
Ond ceri di wirionedd,
Dof fel yr eira'n wŷn drachefn
O'm golchi yn nhrefn trugaredd.

Par glywed llais efengyl fwyn,
Yr hon sy'n dwyn llawenydd
I esgyrn y pechadur gwan
A ddrylliwyd gan dy gerydd.

Nac edrych ar fy meiau mwy,
Dilea hwy'n dragywydd;
A chrea imi galon lân,
Diymod anian newydd.

Na fwrw fi o'th wydd er dim,
Dy Ysbryd im' dod eto;
Dychwel y cysur, a phob cam
Hael ysbryd a'm cynhalio.

Yr anwir ddysgaf yn dy ffyrdd,
Dy fawl i fyrdd fynegaf,
A chalon ddrylliog, tristwch trwm,
Gaiff fod fy offrwm pennaf.

Bydd dda wrth Seion i barhau,
Dyrchafa' i muriau mawrion;
Ac felly'n haberth ni â'n rhodd
A fydd wrth fodd dy galon.

Y mae y rhai hyn yn deilwng o oes aur emynnau Cymru. Gellid chwanegu ereill, megys Salm 80, 84, 89, 148, sy'n tra rhagori ar y cyffredin o hymnau yn y llyfrau mwyaf cymeradwy.

Dichon mai anheg fyddai synnu gormod fod cynifer o bennillion gwych, a rhai emynnau cyfain, oedd yn yr hen lyfr, allan o hwn. Gwir mai rhai gwaelion dros ben yw'r rhan fwyaf o'r rhai sydd allan; ond gallasai ugeiniau'n rhagor o rai cyn waeled a hwythau fyned allan gyda hwynt, a gadael digonedd o le i'r rhai da i gyd aros i mewn. Ni fuasai'r llyfr felly ddim mwy nag ydyw yn awr. Oni allesid cael lle i'r emyn "Am hynny pob creadur," neu ddetholion o hono? Yr oedd yn emyn diolchgarwch diail. Yr oedd ei gymhar yn yr hen lyfr, "Beth bynnag yw'r gwahaniaeth," er fod hwnnw'n dlotach o farddoniaeth, yn werthfawr fel emyn, ac yn un pur ddefnyddiol i bob cymundeb sy'n bedyddio babanod. Y mae'r cyfarchiad i blant bychain sydd yn y pennill olaf yn hynod o gyfaddas ar achlysur felly :—

"Parhewch hyd fyth i'w foli,
Dewiswch Ef yn rhan;
Er mwyn i chwi gynnyddu
Daeth Ef yn faban gwan."

Yn yr emyn "Dy fawr drugaredd, Arglwydd Ion," drachefn, paham y rhowd y pennillion oedd yn yr hen lyfr i gyd i mewn, ond y goreu? Debyg y cytunai y rhan fwyaf mai hwn yw y goreu, ac nid o ychydig chwaith :—

Cyflawn o frasder yw'r tŷ tau,
Lle llenwir hwythau hefyd,
Lle y cant ddiod gennyt, Ion,
O flasus afon bywyd.

Pennill diniwed ddigon yw'r nesaf ato,

"O estyn eto i barhau"—

ond ei fod wedi ei gysegru trwy hir arfer â'i ganu; ond er dirfawr syndod, y mae hwnnw i mewn, a'r pennill godidog oedd o'i flaen wedi ei fwrw allan.

Hyd yma y mae yr hen lyfr a'r newydd, o'u cymharu, yn sefyll yn lled wastad, y naill yn rhagori yma, a'r llall acw; ond y prif beth a wnaeth y llyfr newydd yn llai boddhaol casgliad, ar y cyfan, na'r hen, ydyw y chwiw a fu'n dra chyffredin unwaith, yr awydd am newid hymnau. Rhagoriaeth fawr y llyfr o'r blaen oedd, ei fod ef braidd yr unig lyfr Cymraeg oedd yn cymeryd arno roddi pob emyn fel y gadawsid ef gan ei awdwr. Anhawdd oedd cael gwybod i'r dim, ymhob man, beth oedd y ffurf gywir ar yr emyn. Ond golygwyr y llyfr hwnnw oedd yr unig gasglwyr hymnau a geisiodd gael gwybod. Fe feddylsai dyn na fuasai byth eisieu ailagor y cwestiwn o gyfnewid hymnau ar ol erthygl y Dr. Edwards, ac y buasai yr erthygl wedi penderfynu y pwnc i ddarllenwyr y TRAETHODYDD beth bynnag; eithr ymddengys fod rhai heb eu hargyhoeddi eto. Y mae yn achos gofid digymysg nad oes yr un llyfr hymnau Cymraeg yn y farchnad heddyw sy'n cynnyg rhoi yr hymnau fel y canwyd, neu fel y diwygiwyd hwy, gan eu hawduron. Llyfr hymnau wyf yn ddweyd; oblegyd fe geir rhai o'r emynnau yn gywir yng ngweithiau yr awduron eu hunain; eithr nid oes yr un casgliad o emynnau heddyw, hyd y gwn i, gan unrhyw enwad, y gellir rhoi fawr o goel arno fel adroddiad teg o'r modd y canodd yr hen emynyddion yr emynnau a gynhwysir ynddo.

Nid hynny, y mae'n wir, yw holl swydd llyfr hymnau. Nid bod yn drysorfa o hymnau ydyw ei unig wasanaeth, na'i brif wasanaeth, namyn bod yn llyfr i ganu o hono; ac yn enw yr amcan hwnnw 'yn ddiau y gwnaed llawer o'r cyfnewidiadau sydd yn hwn. Amcanwyd ystwytho y Salmau cân i'r diben yma. Eto ni ddylid colli golwg ar yr ail ddiben, gwneud y llyfr yn gasgliad da ymhob ystyr, heblaw ei wneud yn un buddiol at ddibenion y canu. Yn un peth, y mae yn llyfr sydd i fod yn llaw pawb. O honno ef, yn nesaf at y Bibl, feallai, y bydd plant Anghydffurfwyr yn dysgu mwyaf o'u gwybodaeth grefyddol; a thrwyddo ef, ond odid, yr ymgydnebydd plant Cymru gyntaf â'r byd llenyddol. Ni ddylid anghofio y pethau hyn wrth gyhoeddi llyfr sy'n debyg o lanw y fath le am flynyddoedd lawer. Pa niwed, gellid gofyn, a wna emyn wedi ei ddifwyno a'i ddirdynnu, ragor nag un a gyfatebo yn well i safonau llenyddol uchel a phur? Llawer ymhob rhyw fodd. Fe â yn safon chwaeth i'r rhai sydd heb fagu llawer o'r synwyr blinderus, aniddig, hwnnw; ac fe yrr y rhai na fedrant ei fwynhau, yn y ffurf gloff sydd arno, i natur ddrwg wrth geisio'i ganu, nes peri i bopeth tebyg i ysbryd addoli ffoi. Y mae emyn tramgwyddus o ran chwaeth, neu o ran rhywbeth arall, yn siwr o dynnu oddi wrth y llyfr. Naill ai fe gaiff lai o'i ganu; neu, os cenir ef, ni fydd yr effaith o'i ganu ddim i gyd yn dda.

Yn awr, wedi eu difwyno y mae toreth yr hymnau a newidiwyd yma fel ymhob man. Dywedai y Dr. Edwards fod naw o bob deg o honynt yn waeth yn lle'n well o'u newid. Fe fu'n rhy dirion o lawer

wrth y cyfnewidwyr. Gallasai fentro dweyd pedwar ar bymtheg o bob ugain. Ac am y rhai a feirniadai efe, eu hunig fai hwy, ar y cyfan, oedd cadw cyfnewidiadau a wnaethid gan ereill. Y mae golygwyr y llyfr hwn wedi ymdrafferthu i ddyfeisio cyfnewidiadau, a'r drafferth yn llawer gwaeth nag ofer. Ychydig o Salmau Emwnt Prys sy'n haws eu canu ar ol y driniaeth, llai fyth o emynnau ereill; ac y mae'r lliaws mawr yn anhraethol wannach o ran teilyngdod llenyddol, a chymhwyster i ddeffro ysbryd mawl, fel yr ydys yn colli mewn ysbryd ac addysg fwy nag a ennillir mewn ystwythder. Yn dra mynych yr ydys yn colli gwir beroriaeth y llinell, a'i chymhwyster i'w chanu, er mwyn ei hystumio hi i gyfarfod â rhyw enw o reol, a honno'n aml yn rheol na feddyliai'r un bardd da, chweithach emynnwr, am ei chadw.

Cyfnewidiadau bychain yn unig sy'n welliannau, ac ychydig iawn o rheiny. Y mae'n debyg y cytunid yn lled gyffredin, fod

"Pan ddwedent i dŷ'r Arglwydd awn,"

yn well nag

"I dŷ'r Arglwydd pan ddwedent awn."

Felly hefyd

"Yn nharanau mynydd Sinai
Des i gynta' i gwrdd â Duw,"

Yn lle

"Yn nharanau mynydd Sinai
Gyntaf des i gwrdd â Duw."

cawn

"Ei fywyd rhodd yn aberth yn eu lle,"

Yn lle

"Ei fywyd rhodd yn 'sglyfaeth yn eu lle."

Y mae hwn, debyg, yn un o'r amgylchiadau lle y gellir aberthu cywirdeb manwl er mwyn llyfndra a chwaeth. "Ysglyfaeth" sy'n cadw'r ddameg oreu; oblegyd dameg y bugail da ydyw; ond y mae "aberth" yn rhoi cystal diwinyddiaeth, a llawer difyrrach swn.

Eithr os diwygiwyd ambell i bennill, rhyw un yn yr ugain fel y dywedwyd, y mae'r driniaeth farbaraidd wedi tynnu llygaid aml un arall, ac wedi llwyr ddieneidio rhai. Y mae'r emyn sy'n cynnwys y llinell brydferth

"Minnau mewn myfyr, fel mewn hûn,"

wedi ei andwyo trwy ddodi yn lle hynny

"A mi mewn myfyr, fel mewn hûn."

Y mae miwsig y geiriau, a chryn ran o'u cymhwyster at ganu, wedi mynd, a hynny yn unig er mwyn cadw rhyw fymryn o reol, na chadwyd mo honni gan yr un emynnwr mawr yn Gymraeg nag yn Saesoneg erioed. O ran llyfndra a miwsig saif Dr. Watts yn o uchel ymysg y Saeson. Y mae yntau yn euog o dorri'r rheol a dorrodd Emwnt Prys yn y fan yna.

"Worthy the Lamb that died,' they cry,
To be exalted thus:
Worthy the Lamb, our lips reply,
For he was slain for us.

Jesus is worthy to receive
  Honour and power Divine;
And blessings more than we can give
  Be Lord for ever thine."

Dyna bedwar gwall yn ol y syniad cul hwn am reol mewn wyth llinell. Y gwir yw, nid ydyw camacen yn nechreu llinell ddim yn fai, oddieithr iddo ddigwydd yn fynych iawn. Yr oeddwn i bob amser yn meddwl, mai

"Dyddiau fy rhyddid rowd dan sêl
  Yn llyfyr mawr y nen."

oedd gogoniaut yr emyn "Tyr'd Arglwydd a'th addewid rad;" ond bu raid ei newid am yr un rheswm tybiedig a'r llall, a rhoi'r dywediad anystwyth yma yn ei le,

"Rhoed dyddiau fy rhyddhad dan sêl
  Yn llyfyr mawr y Nen."

Yr un ffunud y llwyr ddifwynwyd emyn rhagorol arall, "Y rhai o dan dy gysgod, Ion." Onid yw

"Lledant eu gwraidd mewn daear fras"

yn ddeg haws ei ganu, os hynny oedd mewn golwg, nag

"Ymled eu gwraidd mewn daear fras?"

Heblaw bwriad i ystwytho cymalau pennillion at ganu,—bwriad na chafodd ei gyflawni ond yn amherffaith iawn, pe buasai yn werth ei gyflawni,—y mae cywirdeb iaith a gramadeg wedi bod yn amcan gan y Pwyllgor; ond weithiau y medrasant ei gyrraedd; a phan y cyrhaeddwyd ef, gwnawd hynny y rhan amlaf trwy aberthu teimlad a phereidd-dra ymadrodd. Beth a all fod yn ddiflasach na'r newidiad bychan yn yr emyn

"O enw ardderchocaf?"

Yn niwedd y trydydd pennill y mae. Beth a allasai fod berffeithiach na hwn,

"Anfeidrol ddiystyrwch,
  Fe dalsai Mhrynwr mawr,
Y nefoedd fil o weithiau,
  A mil o weithiau'r llawr."

Ond "Talasai Mhrynwr mawr" a ddarllennir yma. Tynnwyd cywair y pennill i lawr ar y dyb, y mae'n debyg, fod "talasai" yn well gramadeg na "fe dalsai." Y mae yn salach gramadeg, ac yn salach barddoniaeth, ac yn salach popeth mewn gwirionedd. Yr ydys wedi newid

"Fy meiau trymion, luoedd maith,
A waeddodd tua'r nen,"

a ddarllen

"Fy meiau trymion, luoedd maith,
Waeddasant tua'r nen."

Barn yr awdurdodau uchaf yw, mai a waeddodd yw'r cywiraf o'r ddau, fel pwnc o ramadeg; ac nid oes lle i betruso pa un oreu o'r ddau o ran ystwythder a thlysni. Gallwn grybwyll ugeiniau o frycheu fel hyn; ond rhaid ymatal. Pe buasent yn ffrwyth damwain, buasai llai o le i gwyno; ond gan mai ffrwyth bwriad y Pwyllgor ydynt, nid oes bosibl eu hesgusodi.

Y mae holl ragfarn Fethodistaidd dyn yn eu herbyn. Y corff hwn oedd y cyntaf i geisio atal y newid a'r trwsio offerynnol yma ar waith hen awduron, sydd mor ddi-synwyr a'r ddefod a fyddai gan foneddigion, ryw oes neu ddwy yn ol, o roi paent ar hen wenscot derw. Erbyn hyn y mae'r hen dderw wedi dyfod eto i fri; a gwaith ŵyrion y gŵyr hynny yw crafu'r paent i ffwrdd.

Ac os nad yw rhagfarn Fethodistaidd yn arweinydd diogel, y mae'r tocio a'r trwsio yma yn un o'r rhwystrau allanol pennaf i undeb rhwng yr enwadau. Beth a bair i ddyn deimlo yn anghartrefol wrth gydaddoli âg enwad dieithr? Onid llyfr hymnau dieithr gymaint a dim, a'r emynnau wedi eu trwsio yn ol mympwyon y rhai a gasglodd y llyfr? Buasai llyfr hymnau, heb fod yn rhy fawr, a dderbynnid gan yr holl enwadau, a'i gael yn un da, yn un o'r cymwynasau mwyaf âg eglwysi Cymru; ac yn un o'r pethau tebycaf o'u tynnu yn nês at eu gilydd. Ond ni cheir byth mo hono tra bo pawb a wnelo lyfr newydd yn dodi ei nod marchnad ei hun ar braidd bob dalen o hono. Dylai ein sel ni am fwy o gydweithrediad rhwng y gwahanol enwadau, a hynny o sel enwadol sydd ynom, yn hyn o fater, daro'r un ffordd. Y mae y chwiw yma o awydd am newid gwisg ein caniadau crefyddol yn pechu yn erbyn y naill a'r llall. Y mae ein trosedd ni, Fethodistiaid, yn fwy diesgus, gan fod gennym, ar hyn o bwnc, amgenach traddodiadau na chyfundebau ereill. Cawsant hwy y blaen arnom mewn diwygiadau ereill, megys dodi hymnau a thônau yn yr un llyfr; eithr gyda golwg ar fynd yn ol at ffynhonnell wreiddiol yr emynnau, ein harweinwyr ni a fu'n arweinwyr Cymru oll; a dyma ni, eu plant hwy, wedi troi yn ol, a mynnu bod fel teuluoedd y gwledydd.

J. PULESTON JONES.

## HANES Y GROES YN Y BYD CENHEDLIG.

NIS gall un efrydydd—a'r Cristion o bawb—beidio teimlo rhyw awydd angerddol am wybod yr hyn a ellir o hanes y Groes, nid yn unig yn y Testament Newydd ac yn hanes yr Eglwys, ond hefyd yn hollol o'r tu allan i hyn. Os yn unig ysbryd yr hynafiaethwr a bâr hyn, hyfryd yw cofio nas condemniwyd erioed gan neb, hyd yn oed gan yr Iesu ei hun. Ac ychwaneg, diau y cydnebydd pawb yn rhwydd fod un fraint neilltuol o fewn cyrraedd yr hynafiaethwr yn unig, sef mai efe yn unig fedr aros gyda gwarthrudd y groes, a dangos i'w ddisgyblion beth oedd grym a gwerth y gair hwnnw o eiddo yr Iesu: "coded ei groes beunydd" (Luc ix. 23). Dyna fydd amcan yr ysgrif hon: gosod o flaen y darllennydd gymaint ag a wyddis o hanes y groes o'r tu allan i'r Testament Newydd ac o ddechreu ei hanes hyd y flwyddyn 70 A.D.

Tuag at wneuthur hyn yn weddol eglur a chyflawn, goddefer gair o eglurhâd. Un moddion o ddienyddio ydoedd y groes yn yr hen amser, ac un o amryw ereill; ac os ydym am gadw at y testyn, rhaid gofalu am beidio cymysgu hanes, er engraifft, megys y gwna Deon Farrar yn ei erthygl, yn y *Dictionary of Christian Antiquities* (Smith). Dywed ef: "Dengys yr amrywiol ffyrdd o ddesgrifio y croeshoeliad pa mor gyffredin ydoedd. Dywed traddodiad mai dyfais Semiramis yw y croesbren." Ac yna ychwanega lïaws o gyfeiriadau at weithiau gwahanol awduron Groeg a Lladin er dangos, yn ol ei syniad ef, pa mor gyffredinol y defnyddid y groes fel moddion cosbi. Defnyddid hi, medd ef, gan yr Aiphtiaid, y Persiaid, yr Assyriaid, y Scythiaid, yr Indiaid, a'r Germaniaid (yn yr hen amser); ac fel prawf o hyn enwa lïaws mawr o weithiau awduron Groeg ac eiddo *un* Lladin—ond gydag amheuaeth. Nis gellir yma fyned trwy yr holl gyfeiriadau hyn, ond fe ddengys un ffaith pa mor anghywir yw y golygiad hwn: at weithiau y Groegiaid y cyfeiria bob tro—ond un amheus, ac eto fe ŵyr pob Groegwr nad oedd gair yn yr iaith Roeg i olygu "croesbren," ac mai ystyr y gair a ddefnyddir amlaf yn y Testament Newydd yw "ystanc." Ychwaneg; fe anghofiodd y Deon dysgedig fod un casgliad arall yr un mor naturiol oddiwrth ei ffeithiau,—sef, yn lle tybio mai "amrywiol ffyrdd o ddisgrifio y croeshoeliad" ydoedd y rheswm tros ddefnyddio y gwahanol eiriau a noda, dyl'sai gofio nad oedd yn Groeg un gair o gwbl ag oedd yn golygu "croeshoeliad;" ac, os felly, nad oedd un sail oddiwrth yr enw hwnnw i ddweyd y gwyddai y Groegiaid ddim am y ffurf hono o ddienyddio. Yn lle dweyd fod y gwahanol ffyrdd o ddisgrifio croeshoelio yn ffaith yn hanes y Groegiaid, cywirach fuasai iddo ddweyd, yn gyntaf, na wyddent hwy y pryd hynny ddim am groeshoelio; ac, am hynny, nad oeddynt wedi creu gair i ddynodi "y groes" na "chroeshoeliad." Fel y dywedwyd, un engraifft yw hon. Yn gyffelyb i hyn yr hònnwyd gan lawer ereill fod gwahanol genhedloedd y byd yn gwybod yn dda am gosbi trwy groeshoelio Unig sail y cyfryw honiad yw y gair Groeg a ddefnyddir yn y Testament Newydd am "y groes." Eithr os dilynnir hanes hwnnw, daw yn eglur iawn nad ei ystyr yn oes euraidd y Groeg

ydoedd "croesbren" ond "ystanc," ac felly nad oes yr un sail tros fynnu fod un awdwr Groegaidd yn golygu yn amgen pan yn ei ddefnyddio. Daw hyn yn eglur wrth ddilyn hanes y groes, hyd y gwyddis, yn y drefn ganlynol:—

| | |
|---|---|
| A. YN YR HEN DESTAMENT. | D. YN NHIR GROEG. |
| B. YN CARTHAGE. | E. YN SYRIA. |
| C. YN RHUFAIN. | F. YMHLITH YR IDDEWON. |

## I. HANES Y GROES.

### A. *Yr Hen Destament.*

1. Nacäol yn unig yw gwerth tystiolaeth yr Hen Destament am hanes y groes. Nid oedd gan yr Hebreaid air yn golygu "croes," a diau na wyddent hwy ddim, yn eu hanes eu hunain o leiaf, am y cyfryw gosb. Meddent air am "grogi," ond nid yn ei ystyr ddiweddaraf, sef dienyddiad. Bu amser yn ein hanes ni pan y defnyddid y gair "crogi" yn yr ystyr syml o "hongian"—gair Cymraeg a ffurfiwyd o'r Saesoneg pan y dechreuwyd cyfyngu ystyr y gair "crogi." Cyfetyb y gair Hebraeg i'r gair hwnnw yn ei ystyr gyntaf. Er engraifft: "Y mae Efe yn *crogi* y ddaear ar ddiddym" (Job xxvi. 7); "Ar yr helyg y *crogasom* ein telynau" (Salm cxxxvii. 2); "A gymerasant o honi hoel i *grogi* offeryn arni" (Ezec. xv. 3; gwêl hefyd Can. Sol. iv. 4; Esai. xxii. 24; Ezec. xxvii. 10, 11). Gellir defnyddio yr un gair mewn ystyr ffigyrol: "A'th einioes a fydd y'nghrog gyferbyn â thi" (Deut. xxviii. 66).

Ceir yr un gair drachefn yn rhannau hynaf yr Hen Destament, lle y defnyddir ef yn ystyr ddiweddar y gair "crogi." Er engraifft: "Efe a *grogodd* frenin Ai ar bren hyd yr hwyr" (Josh. viii. 29; gwel hefyd x. 26); "*crogasant* uwchben y llyn yn Hebron" (2 Sam. iv. 12). Gwêl hefyd Deut. xxi. 22, 23; 2 Sam. xviii. 10, xxi. 13; Gen. xl. 19, 22, xli. 13.

Er mai y gair cyffredin am "grogi" y cyfeirir ato yma, eto têg yw cofio fod gan yr Hebreaid un gair arall a ddefnyddient i olygu "crogi," a cheir ef bum waith yn yr Hen Destament, sef yn Num. xxv. 4; 2 Sam. xxi. 6, 9, 13. Hyd y gellir gweled, ystyr agosaf y gair hwn yw "dadgymalu," gan nad pa ffordd y digwyddai hynny; ac, os felly, yna nid yw yn taflu un goleuni neilltuol ar y mater dan sylw. Hefyd unwaith cyfieithir un gair arall yn "grogi:" "Ahitophel. . . a ymgrogodd" (2 Sam. xvii. 23); ond ystyr agosaf hwn yw "ymdagodd" neu "dorri y gwddf" ("ddifa," Nahum ii. 13). I bob amcan ymarferol gellir gadael y geiriau hyn o'r neilltu. Ni thaflant un gradd o oleuni ar destyn ein hymchwiliad; ac felly cyfyngir ein sylw at y gair a nodwyd uchod.

Hwyrach y gofyna rhywun, Onid oedd gan yr Hebreaid air am "grogbren?" Yr ateb yw, hyd y gwyddis, *nad* oedd. Ystyr y gair a ddefnyddient yw "pren;" ac nid oedd ganddynt air amgenach. Hyd yn oed yn nyddiau diweddarach Hebraeg Arameaidd y Talmud, nid

oedd ganddynt amgen gair na "Gabalus" (cym. Varno ap. Non. ii. 373), ac ystyr hwnnw yw "rhoi pen ar;" a phan y ceisient yn fanwl ddisgrifio y groes dywedent "Shti ve-ereb" ("warp and woof"),—dau air nad oeddynt eu hunain yn golygu croes o gwbl. Yna, os nad oedd yr Hebreaid yn meddu gair i olygu "croes," y casgliad naturiol ac anocheladwy yw, un ai nas gwyddent ddim am dani, neu ynte nas defnyddid hi o gwbl yn eu plith hwy.

2. Oyn belled ag yr oedd crogi yn rhan o gyfraith y wlad, diau mai oddiwrth Deut. xxi. 22, 23, y gallwn gael y syniad cyflawnaf o'r lle a roddid iddo gan yr Hebreaid. Y prif osodiad yma yw "Na thriged ei gelain dros nos wrth y pren," h.y., "gelain" y gŵr a "grogid." Dyna oedd trefn y gyfraith: profi dyn yn euog o farwolaeth, ei roddi i farwolaeth, yna ei grogi ar bren. Gellid ei roddi i farwolaeth mewn un o ddwy ffordd,—trwy labyddio (Exod. viii. 26; Num. xiv. 10), neu trwy drywannu (Num. xxv. 7; Exod. xix. 13). Os y marw a grogid, prin y gellir ystyried hynny yn gosb iddo ef. O leiaf, er mwyn y byw yn unig yr atebai hyn unrhyw amcan. Teflid gwarth ar goffadwriaeth y cosbedig, a dysgai y byw trwy hyn fod melldith Duw yn aros arno. Eto sylwer, nid trwy grogi y dienyddid. Ni roddai yr Hebreaid y lle i'r crogbren ag a roddir iddo yn ein plith ni, nac ychwaith ymhlith yr Aiphtiaid (Gen. xl. 19, 22, xli 13). Iddynt hwy moddion ydoedd i ddangos gwarth ar y sawl oedd eisoes wedi ei ddienyddio, a hynny er lles y byw os edrychai ar y crogedig.

3 Nid ydys eto wedi dihysbyddu hanes y gair "crogi" yn yr Hen Destament. Ceir ef unwaith yn Ezra vi 11, a naw gwaith yn llyfr Esther, sef yn ii. 33, v. 14, vi. 4, vii. 9, 10, viii. 7, ix. 13, 14, 25. Yn Ezra saif "croger" am air Aramaeg, yn golygu "taro" (gwel Dan. ii. 34, 35), yr hwn, bid sicr, all olygu "taro" nes "difetha" (Y. dd), megys y *tarawyd* y ddelw fawr o haiarn a phridd ar ei thraed hyd nes ei malurio yn llwch ac felly ei *difetha* i bob amcan ymarferol. Sylwer ymhellach nad yw y gair "coed" yma yn golygu ond "trawst," ac felly na ddisgrifir yma pa fodd y "malurid," "tarewid," neu "difethid" dyn ar y pren, pa un ai trwy ei hoelio ai trwy ei rwymo (Cyf. Diw.). Un peth ddaw yn dra sicr: nid hoelio ar y *groes* sydd yma, er y gallai fod yn hoelio ar yr *ystanc*. Yn llyfr Esther ceir yr un gair ag sydd fynychaf yn yr Hen Destament am "grogi," ac felly nid yw yn taflu un goleuni pellach ar y mater. Un gair sydd yma ag y rhaid sylwi arno, ac y mae yn gyffredin i'r ddau lyfr hyn: yng nghyfraith yr Iddewon dienyddid dyn *cyn* ei grogi; eithr yma dienyddid *trwy* ei grogi. Beth all fod y rheswm am y gwahaniaeth hwn, nid atebai yma yr un diben i chwilio. Hwyrach y gallwn fod yn foddlon ar un gair: cosb cyfraith Persia y sonnir am dani yma, ac felly ni phrofir dim am gosb cyfraith yr Iddewon.

4. Dyna yw yr holl hanes am grogi a geir yn yr Hen Destament, a gellir ei grynhoi i'n pwrpas ni i hyn: Nid oes yma air o hanes y Groes, dim gair i ddangos y gwyddai yr Hebreaid am dani, ac felly dim gair i'n cynnorthwyo wrth chwilio am hanes y groes fel ffurf o gosbedigaeth.

Troer yn awr, ynte, at hanes y Phœniciaid neu'r Canaaneaid.

*

## B. *Yn Carthage.*

Yn iaith gysefin y wlad honno nid oes gennym air o'u hanes. Yn iaith Rhufain a Groeg ceir aml i gyfeiriad at y defnydd a wnaent o'r groes, ac yn ol eu tystiolaeth hwy mae pob lle i gredu mai o Carthage y dygwyd y croesbren i mewn i hanes y Rhufeiniaid a'r Groegiaid. Yn bennaf oll nodwn weithiau Polybius, y Groegwr (104—122 C.C.) fel yr un ag sydd yn cynnwys mwyaf o hanes hyn yn Carthage. Yn arbennig, cyfeirir at un ffaith: yn ystod y rhyfel rhwng Rhufain a Charthage (264—146 C.C.) cawn hanes am groeshoeliad gŵr o'r enw Spendius, pennaeth Tunis, ynghyd a hanner cant ereill, gan Hamilcar Barca, pennaeth Carthage. Hefyd dywed Justin ddau hanesyn hynod (1) Am groeshoeliad Cartulo, mab y Cadfridog Maleus (xviii. 7); a (2) ddarfod i ryw dad unwaith groeshoelio ei fab ei hun am y trosedd lleiaf, ond ddarfod i'r tad hwnnw ei hun, yn ddiweddarach ar ei fywyd, gyfarfod â'r un dyngod, oherwydd iddo droi yn wrthryfelwr (xviii. 7). Hyd y gwelir, nid oes yr un rheswm tros wrthod barn y prif haneswyr ar hyn o fater; ac yn ol honno, cosb gyffredin Carthage ydoedd "croeshoelio," ac yn arbennig felly am rai troseddau, megys gwrthryfela a'r cyffelyb. Yn wir gweinyddid hi bob amser ar gadfridogion anffodus mewn rhyfel (Polyb. i., 11, 24, &c).

Cydnebydd pawb mai tystiolaeth dieithriaid yw hyn oll. Er hynny, rhaid cofio mai haneswyr oeddynt, ac, a dweyd y lleiaf, fod iddynt ryw "liw cyn y gallent lifo" hanes y Phœniciaid gyda lliw mor goch. Hyd yn hyn ni ddaeth i'r golwg yr awgrym lleiaf eu bod wedi camysgrifennu hanes y Carthaginiaid. Pob ffaith wybyddus am danynt, ar hyn o bryd, a ddengys mai ymhlith y genedl hon y *dyfeisiwyd* y ffordd o gosbi trwy groeshoelio, ac mai oddiwrthynt hwy y ca'dd y Rhufeiniaid y wers i ddefnyddio y groes i gosbi troseddwyr. Daw hyn yn fwy i'r golwg wrth i ni ddilyn hanes y groes.

## C. *Yn Rhufain.*

Meddyliwyd unwaith fod gennym dystiolaeth am dani yn hanes Rhufain cyn ei chyffyrddiad â Charthage. Seilid y dybiaeth honno ar ran o un o areithiau Cicero (Pro. Rab, Perd. iv. § 13). Yn yr araeth honno cyrhaedda brwdfrydedd yr areithydd weithiau ei eithaf, ac fe dwymna gwaed dyn wrth ddarllen geiriau fel hyn:—"Y dienyddwr, y cap du, ac hyd yn oed enw y croesbren—yn bell y bo'nt nid yn unig oddiwrth gorff, ond hefyd oddiwrth feddwl, llygaid a chlustiau dineswyr Rhufeinig." Er mwyn areitheg cyfeiria Cicero sylw ei wrandawyr at hanes Tarquinius Supurbus (tua 500 C.C.), a sieryd am dano fel pe bai wedi defnyddio y groes. Ymddengys, pa fodd bynnag, fod yr hanesydd Pliny yn nês i'r gwir pan ddywed: "Mabwysiadodd Tarquinius y ffurf hon o ddangos gwarthrudd y marw er mwyn rhoddi terfyn ar yr hunanladdiad mynych a ddigwyddai ymhlith y dineswyr (Hist. Nat. 35 § 107). Yn ol y dystiolaeth hon, (1) Nid cosb o ddienyddiad ydoedd croeshoelio, ond o warthrudd ar yr hunanleiddiad, megys ymysg yr Hebreaid, ac (2) nid *croes*hoelio ydoedd, ond hoelio (?) wrth yr ystanc, megys ymysg y Dwyreinwyr. Sicr yw na chawn un

dystiolaeth sicr am y groes yn hanes Rhufain cyn y cyfnod pan y bu mewn rhyfel â Charthage (264—146 C.C). Am Scipio Africanus, gŵr a chwareuodd ran arbennig yn y rhyfel hon, dywed Valerius Maximus: "Cosbodd efe y Rhufeiniaid yn fwy na'r Lladiniaid a ddiangasant oddiwrtho at y gelyn; croeshoeliodd y naill . . . . . torrodd ben y llall gyda bwyell y dienyddwr" (ii 12). Dyma'r dystiolaeth gryfaf am hanes cyntaf croeshoelio ymhlith y Rhufeiniaid. Ar ol y cyfnod hwn daw croeshoelio yn ffurf arferol o gosbi yn eu plith, yn arbennig felly mewn rhyfeloedd cartrefol gyda'r caethion, e.g., y rhyfel yn Etruria 196 C.C. (Livy 33, 36), rhyfel Spartacus 72 C.C, pryd y dywed yr hanesydd ddarfod croeshoelio 6000 o garcharorion rhyfel ar ffordd Appian i Rhufain (App. B.C i. 120). Yn wir yn ystod y cyfnod hwn ceir mynych gyfeiriad gan y beirdd—Plautus (230—284 C.C.), Terence (195—159 C.C.), a Horace (65 C.C.—8 O.C)—at y gosb hon ag yr oedd wedi dod yn arferiad ei gweinyddu ar y caethion. Pallai gofod i ddifynnu o'u gweithiau ar hyn o bryd. Yn unig dalier sylw mai cosb y caethwas ydoedd hyd yn hyn. Ac yn fuan iawn daeth yn gosb mor gyffredin yn eu hanes fel ag i alw am ddeddf i'w rheoleiddio. Pa bryd y pasiwyd y ddeddf honno—Deddf Petronius, fel y'i gelwid—ni wyddis, ond tybir mai tua 32 C.C. Beth bynnag am hynny, eglur yw iddi wneud croeshoelio y caethion yn gosb gyfreithiol yn ol cyfraith Rhufain. Eto cosb y caethion ydoedd (Livy 22.23), nid y dineswyr (Cic. *Verr*. ii. 13), nac ychwaith y caethion a ryddhawyd o'u caethiwed (Cic. *Rab.* v). Medd Livy: "Yn ol pa un ai caeth ai rhydd a fyddai, felly y cosbid pob un" (iii. 18)). Yr un pryd, eglur yw nad oedd ond un cam ymlaen, ac yna gellid croeshoelio y dineswyr; a gwelir i hyn ddod yn ffaith o dan lywodraeth Tiberius Cæsar.

Yn y cyfamser daw y cyfeiriadau at y gosb hon yn llenyddiaeth Rhufain yn rhy lïosog hyd yn oed i'w nodi. Yr oedd Julius Cæsar—ar y pryd a'i lygaid ar Ymherodraeth,—Cicero y cyfreithiwr, a Seneca yr athronnydd, yn mynych brotestio yn erbyn yr ymgais i ddwyn y gosb hon i mewn i gyfraith Rhufain. Dewisai Julius yn hytrach dagu hyd yn oed môr-ladron cyn eu crogi ar y croesbren; condemnia Seneca y croesbren yn ddiarbed am mai ffordd anwaraidd o gosbi ydoedd; a geilw Cicero gyda'i holl nerth areithyddol ar i'w gydwladwyr fod yn araf iawn i fabwysiadu y ffurf greulon anfad hon o gosbi. Eithr erbyn amser Tiberius Cæsar (14—37 O.C.) daeth yr hyn a ofnid gan bob gwladgarwr i fod yn ffaith yn hanes cyfraith Rhufain. Yn lle alltudio y groes allan o hanes Rhufain, penderfynnodd yr ymherawdwr hwnnw ei gosod hi hefyd ar Rufeiniaid breiniol. Mynnai efe fod y ffordd arferol o gosbi erbyn hyn yn llawer rhy esmwyth, yn wir nad oedd dienyddio gyda'r cleddyf ond ffordd i osgoi poen; ac am hynny, er dychryn y Rhufeiniaid rhag troseddu trwy roi iddynt "esampl er daioni" (Livy *Epit.* 55), nis gallai yn well na'u croeshoelio. Rhydd Josephus un engraifft nodedig o weinyddiad y gosb hon gan Tiberius ar offeiriaid teml Isis yn Rhufain am eu trosedd anfad (A. XVIII. iii. 4). Wedi profi eu heuogrwydd, gorchmynnodd yn ddisyfyd ar iddynt oll, yng-hydag Ida eu morwyn, gael eu croeshoelio. Feallai nad yw hon ond un engraifft o lawer, ag yr oedd gan haneswyr Rhufeinig ormod o gywilydd eu hadrodd. Erbyn hyn yr oedd cosb gyfreithiol y caeth-

ion wedi cael ei gwneud yn gosb gyfreithiol ar Rufeiniaid breiniol.

Wrth ddarllen cyfeiriadau llenorion Rhufeinig ati, daw yn dra eglur i'r darllennydd mai dyma y ffurf isaf, fwyaf poenus a gwarthus o gosbi y gallai y Rhufeiniaid breiniol feddwl am dani, ac yn wir ei dychmygu. Yng ngweithiau Cicero, mynych y deuwn ar draws adrannau lle yr ymddengys yr areithydd wedi dihysbyddu ei eiriadur ardderchog a chyflawn wrth geisio dangos gwarth y groes i bob Rhufeinwr. Goddefer dwy frawddeg:—"Canys y mae nid yn unig y ffawd a'r dioddefaint o'r math hwn, eithr hefyd y cyflwr, y disgwyliad am, ac hyd yn oed enw, y croesbren, yn warth i'r Rhufeinwr, yn gystal a phob gŵr rhydd" (*pro Rab.* v). Ac eto:—"Gwarth yw rhwymo Rhufeinwr mewn carchar, pechod ysgeler yw ei fflangellu, a lloffruddiaeth o'r fath waethaf yw ei ddienyddio; ond beth ynte am ei groeshoelio?—y gosb greulonnaf a mwyaf dychrynllyd mewn bod. Mae yn amhosibl cael hyd yn oed gair cymwys i ddisgrifio y fath anfadwaith" (*in Verr.* lxvi). Dwy engraifft yw y rhai hyn,—a dim ond dwy allan o liaws. O fewn fy ngwybodaeth bach i ceir tua deg ar hugain o'r cyfryw,—a beth am y gweddill? Digon hyn ar hyn o bryd—diau y cytuna y darllennydd. Yn unig sylwer ar un ffaith yn hanes Rhufain yn oes yr ymherawdwr Tiberias—ac o fewn yr oes hon y digwyddai oes yr Iesu—fod croeshoelio erbyn hyn yn gosb gyfreithiol ar gaeth a rhydd, tramorwr neu Rufeinwr.

D. *Yn nhir Groeg.*

1. Fe dderfydd hanes gwerinlywodraeth y Groegiaid gyda'r flwyddyn 360 C.C. Wedi hynny dechreua llywodraeth y Macedoniaid ar y wlad. Felly fe ffurfia y flwyddyn honno fath o derfyn hanesiol i ni wrth chwilio i hanes y gair Groeg am "groesbren." Cyfeiriwyd eisoes at sylw Dr. Farrar ar hyn. Gwir fod gan y Groegiaid amryw eiriau ag oedd yn disgrifio eu cosb eithaf, ond nid oedd ganddynt un yn ystod cyfnod cyntaf eu hanes ag oedd yn golygu "croesbren." Ystyr briodol hwnnw ydoedd "ystanc," a thardda'r ddau o'r un gwreiddyn—ystanc, pa un bynnag ai i roddi dyn i farwolaeth arno, ai i ffurfio gwrthglawdd o gylch tref warchaëdig (Od. xiv. 11; Hdt. v. 16). Nid oes le i amheuaeth ar hyn. Cyn belled ag y mae hanes y gair ei hun yn myned yn oes euraidd y Groeg, sicr yw nad oedd yn golygu croesbren.

2. Nid oes gair o hanes y croesbren i'w gael yn hanes y Groegiaid eu hunain. Pob engraifft o hynny, ag y tybiwyd ei bod yn engraifft, y maent oll—o leiaf hyd y gellais i weled—yn dweyd mai rhyw dramorwr a aeth tan y cyfryw gosb, er engraifft, Artayctes (Hdt. ix. 120), Inarus (Thuc. i. 110). Am lawer o honynt, croeshoelio *ar ol* dienyddio geir ynddynt, er engraifft, Polycrates, Histiaeus, Lernidas (Hdt. iii. 125, vi. 30, vii. 238). Hwyrach nas gellir gwadu y gallai fod Groegiaid y cyfnod cyntaf yn gwybod rhywbeth am gosb o'r fath (cymh. Plato *Gorg.* 473C; *Rep.* ii. 362A), ie cosb o ddefnyddio hoelion (Demosth. *c. Mid* 549 §105) i hoelio dyn ar bren. Eto "ystanc" ydoedd, ac nid croesbren. Nid oedd gan y Groegwr air yn golygu croesbren; nid arferid hi ganddo fel moddion cosbi; a dengys Mahaffy fod y Groegiaid

eu hunain yn gwbl wrthwynebol i bob arferiad anfad o'r fath hwn (*Social Life in Greece*, 238).

3. Pan ddechreuodd y Groegiaid ysgrifennu hanes Carthage, defnyddiasant eu gair am "ystanc" i olygu y "croesbren." Dyna y gair a ddefnyddia Polybius a Diodorus Siculus. Yn ynys Sicily, yn ystod teyrnasiad Dionysius (406—367 C.C.) y deuir gyntaf ar draws hanes y croesbren yn cael ei ddefnyddio gan Roegwr i groeshoelio Groegwyr (Diod. Sic. xiv. 53), a hawdd gennyf gredu sylw Wayte yn y *Dict. of G. & R. Ant.*—sef, na buasai hyd yn oed Dionysius yn croeshoelio Groegwyr oddieithr tan ddylanwad cigyddlyd trigolion Carthage. Sicr yw fod y cysylltiad agosaf yn bod y pryd hwnnw rhwng Sicily a Carthage. Prin iawn yw tystiolaeth hanes i'n pwrpas presennol, ond diau nas gellir gwrthwynebu y dybiaeth naturiol ag sydd yn ymwthio yn fwy-fwy i'n sylw yma, sef mai o Carthage, trwy Sicily, y daeth y groes i hanes y Groegiaid, yn yr ail gyfnod a nodwyd uchod, h.y. ar ol y flwyddyn 360 C.C.

Rhyfeddol ychydig o gyfeiriadau geir ati yn hanes yr ail gyfnod, ac y maent oll yn cyfeirio y tu allan i wlad Groeg ei hun. Mae yn bosibl, os nad tebygol, i Alexander Fawr groeshoelio dwyfil o drigolion Tyrus yn Syria; ond dibynna hynny yn gyfangwbl ar un dybiaeth, sef fod yr hanesydd Rhufeinig, Q. Curtius (iv. 4) yn cyfieithu yn weddol gywir eiriau Diod. Siculus. Rhaid i bawb gydnabod fod lle i amheuaeth ar hyn, a myn Esgob Thirlwall fod Curtius wedi methu cyfieithu. Bid a fynno, dywed Diod. Siculus ei hun ddarfod i Alexander groeshoelio Musicanus, pennaeth Indiaidd (xvii. 102; Arrian vi. 17); ddarfod i Perdiccas, ei gadfridog, groeshoelio Ariarathes o Cappadocia (xviii. 16). A dywed Cicero ddarfod i Lysimachus fygwth Theodorus yr athronydd gyda'r un gosb (*Tusc* i. 13; Seneca *De tranq. an.* xiv. 63). Hyn oll a wyddis o hanes croeshoelio yn ail gyfnod hanes y Groegiaid. Ond sylwer: nid oes eto le i dybied fod croeshoelio yn rhan o, nac yn perthyn i, gyfraith y Groegiaid, hyd yn oed tan Alexander Fawr. Yn ei hanes ef, mewn gwledydd tramor a than amgylchiadau anghyffredin yn unig, y cyfeirir ati.

Mewn gair, i symio i fynny hanes y Groegiaid, yng nghyfnod diweddar eu hanes yn unig y gellir dweyd eu bod yn gwybod am y groes fel moddion cosb; a phrin y gellir dweyd eu bod erioed wedi ei defnyddio i'r amcan hwnnw; a phan y defnyddient hi, peth hollol y tu allan i'w cyfraith ydoedd.

## E. *Yn Syria.*

Feallai nad oes un rheswm arbennig o neilltuol tros y pennawd hwn; ond y mae yn werth croniclo un ffaith. Tra bu Alexander Fawr byw, yr oedd Syria yn rhan o'i deyrnas. Ar ol ei farw ef (323 C.C.) ffurfiai Syria wlad ar ei phen ei hun o dan lywodraeth yr Antiochiaid. Y mae yn werth sylwi (1) mai i'r wlad hon y diangodd Hannibal ar ol gorthrechu Carthage gan y Rhufeiniaid (200 C.C.), ac (2) ddarfod i Scipio Africanus, gorchfygwr Carthage, dalu ymweliad â'r wlad hon er gwasanaethu o dan ei frawd Lucius yn y rhyfel a ddygid ymlaen gan y Rhufeiniaid yn erbyn Antiochus Fawr (190 C.C.). Un o'r Carthagin-

iaid oedd Hannibal, ac fe wyddai yn dda am y gosb o groeshoelio, a diau iddo ef ei hun yn fynych ei gweinyddu (cymh. Livy. xxii. 13). Cofier hefyd mai y Scipio hwn yw y cyntaf ag y mae gennym hanes am dano yn croeshoelio Rhufeiniaid. Ar wahân i'r ffeithiau yn hanes Alexander Fawr, pe na bai gennym ond hanes ymweliad y ddau hyn, hawdd y gallesid gweled pa fodd y gallasai y gosb hon gael ei dwyn o Carthage i Syria.

### G. *Ymhlith yr Iddewon.*

O Syria i Ganaan nid oedd ond megys cam, a hawdd gweled, ar ol profi hanes y groes yn y naill le, nad oedd rhyw lawer o angen profi ei hanes yn y llall. Ceir yr hanes cyntaf am y groes ymysg yr Iddewon, cyn dyfodiad y Rhufeiniaid arnynt, yn ystod teyrnasiad Alexander Jannaeus (104—78 C.C.). Rhoddir yr un hanes gan Josephus mewn dau le, sef *Hen. XIII*, xiv. 2, a *Rhyfeloedd* I iv. 6; ac ymddengys yn ei adrodd mewn syndod a dychryn. Un o'r gweithredoedd mwyaf anwaraidd yn yr holl fyd—dyna fel y'i disgrifia, ac yn sicr felly yr ydoedd. Canys croeshoeliasai Alexander 800 o ddynion ar unwaith, a thorrodd yddfau eu gwragedd a'u plant yn eu gŵydd, tra yr oedd ef ei hun yn ymloddestu gyda'i ordderchwragedd o flaen llygaid holl drigolion Jerusalem. Dyna yr unig hanes am groeshoelio a geir ymhlith yr Iddewon cyn dyfodiad y Rhufeiniaid i'w plith (63 C.C.), ac eglur ddengys hyn, mai nid y Rhufeiniaid a ddygasant y croesbren gyntaf i hanes yr Iddewon.

Eto, ar ol eu darostwng gan y Rhufeiniaid daw hanes y croesbren yn ddigwyddiad mynych yn eu plith, hyd yn oed a thybio fod Josephus yn ysgrifennu eu hanes yn weddol gyflawn. Heb ond yn fyr enwi yr engreifftiau, aent a chryn lawer o le; eithr goddefer hynny yn fyr. Gan Varus croeshoeliwyd 2000 ar unwaith (6 O.C.); gan Tiberius Alexander, nai Philo yr athronydd, dau (48 O.C.); gan Quadratus, yr oll a ddaliasai yn fyw, ac y mae lle i gredu eu bod yn gryn nifer (50 O.C.); gan Felix, tyrfa fawr (52—60 O.C.); gan Florus, tua 3600, gan gynnwys gwragedd a phlant (64 O.C.); a chan Titus, ar adeg dinystr Jerusalem (70 O.C.), mwy o nifer nag y gellid cael digon o goed i wneud croesau iddynt—yn wir, cymaint fel yr oedd calon Titus ei hun yn llosgi wrth edrych arnynt (Jos. *Rhyf. V.* vi. 1).

Dyna gipdrem ar hanes y croesbren o'r dechreu. Ceisid nodi y cwbl a wyddis am dano gyda gradd o sicrwydd. Hyd yn hyn ni ddaeth un goleuni ychwanegol. Yn yr hanes hwn fe ddylem sylwi yn arbennig ar un ffaith: Yn ystod teyrnasiad Tiberius Cæsar (14—37 O.C.) y syrthiai adeg bywyd cyhoeddus Iesu Grist; ac yn ystod ei deyrnasiad ef daethai y gosb o groeshoelio yn un gyfreithiol ar bawb, dineswyr Rhufeinig a'r caethion—heb wahaniaeth yn hyn o beth, cosb eithaf cyfraith Rhufain ydoedd croeshoelio. Nis gellir o gwbl ddeall hanes Pilat yn croeshoelio yr Iesu heb gadw'r ffaith hon mewn golwg; ond, a chofio hon, daw hynny yn hawdd.

## II. Y FFORDD O GROESHOELIO.

Ni bydd yr hanes hwn yn gyflawn heb sylwi ar fanylion y ffordd o groeshoelio, gan gyfyngu sylw ar hyn o bryd at y rhai sydd i'w cael yn

llenyddiaeth Rhufain yn unig. Ymrestra y rhai hyn yn ddau ddosbarth: ar un llaw, disgrifir gwarthrudd a dirmyg y groes; ac ar y llaw arall, y ffordd arferol o groeshoelio.

A. Fel y dywedwyd, cosb y caethion ydoedd hon ar y cyntaf, ac y mae iaith y Rhufeiniaid wedi ei dihysbyddu yn yr ymdrech i ddisgrifio poen, dioddefaint, euogrwydd, a gwarthrudd y croeshoeliedig (Gibbon. ii. 153). Yr oedd y croesbren yn ddychryn i bawb, a'i warthrudd yn ddiarhebol (Cic. *in Verr.* v. 60; *pro Rab.* v.). Ennillasai iddo ei hun yr enw adnabyddus o "goeden yr anffortunus" (Livy i. 26; Sen. *Ep.* 101). Ceir darlun o hyn yn hanes bradychiad y Capitol. Ar y pryd yr oedd yno gŵn a gwyddau yn y fan; gwaith y cŵn oedd gwylio a datguddio dyfodiad y gelyn trwy gyfarth, ond ni wnaethant hynny y noson y daeth y gelyn yno, eithr gwnaeth y gwyddau; o ganlyniad, daeth yn arfer flynyddol i groeshoelio ci rhwng teml Iuventus a'r eiddo Summani (Plin. xxix. 4), ac yr oedd yr arfer hon yn ddarlun i'r Rhufeinwr o warth y groes. Dyma'r gosb y gwelodd Tiberius Cæsar yn dda ei rhoddi ar bob troseddwr, pa un bynnag ai caeth ai rhydd, ai barbariad ai Rhufeinwr.

B. Wedi condemnio dyn i'r groes, yn gyntaf fflangellid ef yn y llys, ac wedi hynny pryd bynnag y tybiai y croeshoelwyr fod angen yn ystod y daith o'r llys i'r man y croeshoelid ef (Livy. xxxiii. 36); a mynych y digwyddai marw y condemniedig o dan y fflangell cyn cyrraedd y dienyddle (Plut. *Sera. Vind.* ix.).

Yr oedd y groes yn cynnwys dwy ran—yr ystanc a'r croesbren. Codid yr ystanc fel rheol o'r tu allan i'r porth a elwid Porto Esquilina, a chymerid y croesbren i'r llys lle y bernid y condemniedig. Yr oedd y daith o'r llys i'r dienyddle i fod yn "esiampl er daioni" i'r trigolion yn gystal a dioddef i'r carcharor, ac felly trefnid yr orymdaith yn ol y gyfraith. Wedi ysgrifennu achos y gosb ar y *Titulus*, cerrid hwnnw o flaen y condemniedig gan un o'r croeshoelwyr (Suet. *Domit.* x.), yn y fath fodd fel y gallai pawb ei weled a'i ddarllen. Dilynnid ef gan y condemniedig, gyda'i ddwylaw wedi eu rhwymo wrth y croesbren ar ei wàr. Yn ystod y daith, bid sicr, byddai y condemniedig yn wrthrych pob math o wawd a dirmyg y *crowd* o edrychwyr, ac feallai yn dioddef oddiwrth fynych fflangell y croeshoeliwr.

Yr oedd dau farc yn dynodi ystanc y groes, sef (1) mortais i hoelio y croesbren ynddo, a (2) dernyn o bren fel eisteddle i'r corff ar yr ystanc, fel na bo holl bwysau y corff ar yr hoelion. Oni buasai am yr eisteddle, rhwygasid y dwylaw â'r hoelion gan bwysau y corff arnynt, a syrthiasai y croeshoeliedig yn fuan i'r llawr. Wedi cyrraedd y dienyddle dyma'r gwaith oedd i'w wneud: (1) hoelio y croesbren wrth yr ystanc, (2) y dwylaw wrth y croesbren, ac (3) fel rheol y traed wrth yr ystanc. Gellid gwneud hyn mewn mwy nag un ffordd. Cofier fod dwylaw y condemniedig eisoes wedi eu rhwymo wrth y croesbren, ac mai uchder yr ystanc oedd tua hyd dyn cyffredin. Y ffordd arferol oedd gosod y condemniedig i eistedd ar yr eisteddle oedd wrth yr ystanc, ac yna hoelio yn y drefn a nodir uchod. Yr unig wahaniaeth ar hyn allasai fod fyddai (1) hoelio y dwylaw wrth y croesbren, trwy roddi y truan ar wastad ei gefn ar lawr, yna (2) codi y naill a'r llall a'u gosod yn eu lle ar y groes, (3) hoelio y croesbren, (4) hoelio neu

rwymo y traed, ac os hoelio, yna un ai hoelen ymhob troed neu ynte un hoelen trwy y ddau wedi eu croesi. Wedi y croeshoelio, nid oedd y croeshoeliedig, fel rheol, yn uwch nag y gallai dyn gyrraedd ei enau â'i law, h.y., yr oedd y groes ychydig yn dalach na'r dyn (Appul. *De As. Aur*. iii. 17), neu, fel eithriad, tua throedfedd yn hŵy na hyd dyn cyffredin (Suet. *Galba* ix.).

Nis gellir aros yn awr i ddweyd yr hyn a wyddis am boenau arteithiol y croeshoeliedig, heb son am y dirmyg a'r gwaradwydd a deflid arno gan yr edrychwyr. Trefnai cyfraith Rhufain fod i un neu ychwaneg o'r milwyr aros yn y fan i wylio y croeshoeliedig am beth amser, o leiaf am un diwrnod, ac fel rheol am fwy na hynny. Amcan cyntaf y gwylio oedd atal pawb, cyfaill neu elyn, rhag ymyrryd â'r croeshoeliedig. Yr unig derfyn i amser y gwylio, hyd y gwyddis, ydoedd marw y croeshoeliedig. Weithiau gallai y milwyr gyflymu ei farwolaeth trwy ei drywanu (Cic. *Phil.* xiii 12); dro arall ni byddai angen hynny. Wedi marw y croeshoeliedig, gadewid ef gan y milwyr yn hoeliedig wrth y groes i fod yn ymborth i ba aderyn aflan neu fwystfil bynnag a ddewisai ymborthi arno. O'r holl adar, y fwlltur a geid amlaf yn mwynhau ei hun fel hyn (Iuv. *Sat.* xiv. 77). Cyn belled ag yr oedd deddf Rhufain yn myned, dyna ddiwedd y croeshoeliedig.

Gobeithiwn fod hyn o hanes y Groes yn ddigon o ragarweiniad i bob myfyriwr ystyriol allu gwerthfawrogi cyfeiriad yr Iesu, a dirnad i ryw raddau pa sut y gallai yr Iesu ddefnyddio y groes fel arwyddair o egwyddor bur ei fywyd ei Hun, a'r bywyd yr oedd Efe am i'w wir ddisgyblion ei ddilyn. Bid sicr, nid yw yr hanes hwn yn gyflawn; ceir llawer iawn ychwaneg o gyfeiriadau yn llenyddiaeth Rhufain nag y gallwyd eu dwyn i mewn i'r ysgrif hon. Eto credaf mai addurniadau ac nid hanfodion yr hanes ydynt, o leiaf cymaint o honynt ag y gellais eu gweled. Am hynny gadewir yr amlinelliad hwn fel y mae, gan edrych ymlaen at yr amser pan y bydd hyn oll wedi ei gyflawn orphen.

WILLIAM GLYNNE.

*Manchester.*

---

## GOHEBIAETH Y PARCHEDIG THOMAS CHARLES, B.A., O'R BALA.

### I.

[ISOD fe geir detholiad o lythyrau ysgrifenwyd at a chan Mr. Charles o'r Bala. Eiddo Principal Edwards, Bala, ydynt, a thrwy ei ganiatâd ef y cyhoeddir hwynt. Ysgrifenwyd y rhai cyntaf o honynt gan Mr. Thomas Jones, curad Creaton, ger Northampton, ac un o gyfeillion Mr. Charles. Yr oedd Thomas Jones yn y dosbarth hwnnw o glerigwyr Efengylaidd a erlidiwyd gymaint oddeutu dechreu y ganrif hon. Fel y gwelir oddiwrth ei lythyrau, llafuriodd lawer ar ran ei

gydgenedl, yn enwedig i'w chyflenwi â llenyddiaeth, ac, yn fwyaf neilltuol, i roddi iddi yr Ysgrythyrau yn ei hiaith ei hun. Yr oedd yn dra theyrngarol i'r Eglwys Sefydledig, fel na fynnai ymadael o honi ar un cyfrif, er y cyfiawnhäi Mr. Charles yn y cwrs a gymerai ef, cyn iddo gymeryd y llaw flaenaf yn y mater o ordeinio ymhlith y Methodistiaid yn 1811. Y mae'n yn taflu cryn oleuni ar gyflwr y wlad yn y blynyddoedd hynny ac yn portreadu yn ffyddlon y dylanwadau oeddynt yn ymweithio mor gryf ar y pryd, yn Lloegr ac yng Nghymru, yn y cyfeiriad o wneud crefydd yn fwy ysbrydol, a'r anhawsterau mawrion oeddynt ar y ffordd i hynny].

THOMAS JONES TO THOMAS CHARLES.

*Creaton, June* 5, 1794.

My Dear Friend,

I thank you most cordially for finishing my accounts with Titus Evans. To see a receipt in full was what I long ardently wished to see. As for the copies that he printed for himself, he must reason with my Master about them. I have nothing to say to him. Riddance from such a man upon any terms was all I desired. And now I thank God I have done with him.

You have had a great deal of trouble about my publications, for which I most heartily thank you, and I don't so much as wish you to give yourself any further trouble; for I expect you have been so kind as to close my account with Mr. Eddowes also. The two receipts show that my printer's bills amounted to two hundred guineas or thereabouts; and I have received next to nothing, besides what you were so good as to collect for me; and what I have given away. But I am easy seeing the bills are paid.

Now you are at perfect liberty to do what you please with the remaining copies. If you think it expedient, you may reduce the price or even give them all away, or should you not approve of this, you may give any number away to any of the preachers who may be in straight circumstances. Whatever you do with them I shall never say you have done wrong. I only wish them to be spread in the country, and be made a blessing.

I am greatly obliged to you for the brief account you furnished me of the work of God amongst you. Oh, that it may spread far and wide, and may the sacred flame break out here among us. We are lifeless enough in England. Many indeed seem to have the supports of true religion, yet very few enter into the joy and comforts of the Holy Ghost;

[*Cyfieithiad*.]

THOMAS JONES AT THOMAS CHARLES.

*Creaton, Mehefin* 5, 1794.

Fy Anwyl Gyfaill,

Yr wyf yn diolch yn gynhes i chwi am derfynu fy nghyfrif gyda Titus Evans. Gweled *receipt* llawn a ddymunais yn fawr ers talm.

Am y copiau a argraffodd iddo ei hun, rhyngddo ef a'm Meistr am hynny. Nid oes gennyf ddim i'w ddweyd wrtho. Gwaredigaeth oddiwrth y fath ddyn ar unrhyw delerau a ddymunais. Ac yn awr yr wyf yn diolch i Dduw fy mod wedi gorffen gydag ef.

Cawsoch lawer o drafferth ynglŷn â'm cyhoeddiadau. Am hynny diolch calonnog i chwi, ac nid wyf gymaint a dymuno i chwi roddi ychwaneg o drafferth i chwi eich hun, gan fy mod yn disgwyl eich bod wedi bod mor garedig a gorffen fy nghyfrif â Mr. Eddowes hefyd. Y mae y ddau *receipt* yn danggos fod fy *mil* argraffu yn ddau can' gini, neu oddeutu,—ac nid wyf wedi derbyn y nesaf peth i ddim, oddigerth yr hyn y buoch chwi mor dda a'i gasglu drosof,—a hynny a roddais i ffordd. Ond yr wyf yn dawel, gan fod y biliau wedi eu talu.

Yn awr, yr ydych at eich rhyddid i wneud unrhyw ddefnydd a fynnoch o'r copïau sydd yn ol. Os barnwch hynny yn ddoeth, gallwch ostwng y pris, neu eu rhoddi ymaith yn rhad. Neu, os nad ydych yn cymeradwyo hynny, rhoddwch unrhyw nifer a ddewisoch i'r pregethwyr hynny ydynt mewn amgylchiadau cyfyng. Pa beth bynnag a wnewch â hwynt, ni ddwedaf eich bod wedi gwneud o'ch lle. Yr oll a ddymunaf yw, iddynt gael eu lledaenu dros y wlad, a'u gwneud yn fendith.

Yr wyf yn ddiolchgar i chwi am y byr hanes a roddasoch am waith Duw yn eich plith. Lledaened ymhell ac yn agos, a thored allan yn fflam sanctaidd yn Lloegr. Yr ydym yn ddigon difywyd yma. Y mae llawer yma, y mae yn wir, yn mwynhau cynysgaeth gwir grefydd, ond ychydig sydd wedi dod i feddiant o lawenydd a

but the poor Welsh eat and drink abundantly. The truth warms them. I wish earnestly to visit you, but cannot at present, tho' hardly able to do anything at home.

The short account you have some time ago given of the revival in Wales, has produced good effects in this country. I wish some of you would undertake to publish a larger account. What means more likely to stir up those who slumber in Zion, and to rouse a careless generation, than to hear of the wonderful works of God wrought by the everlasting Gospel with the Holy Ghost sent down from heaven?

If none of you choose to do this, only furnish me with materials, and I shall with pleasure methodise them in the best manner for the use of the English, in a simple narrative. I certainly would rather see it done by somebody on the spot, and more capable of the undertaking. A sixpenny pamphlet would be quite large enough. It would be premature to fix upon any plan till the business is first determined upon, only it would be necessary to give a pretty large account of the schools, and the manner the work broke out, how it spread, the doctrines taught,—the efforts and fruits, and some account of the preachers, discipline, Monthly Meetings, Associations, &c., &c.,

Your friend and servant,

THOMAS JONES.

chysur yr Ysbryd Glân, ond y mae y Cymry tlodion yn bwyta ac yn yfed yn helaeth. Y mae y gwirionedd yn eu cynhesu. Yr wyf yn dymuno yn fawr ymweled â chwi, ond nis gallaf, er nad wyf yn gallu gwneud ond ychydig gartref.

Y mae yr hanes byr a roddasoch ychydig amser yn ol o'r diwygiad yng Nghymru wedi cynhyrchu effeithiau daionus yn y wlad hon. Carwn i rai o honoch gyhoeddi hanes helaethach. Pa foddion fyddai yn fwy tebygol o ddeffroi y rhai a hunant yn Seion, ac o gyffroi cenhedlaeth ddiofal, na chlywed am weithredoedd rhyfeddol Duw drwy yr Efengyl dragwyddol, gyda'r Ysbryd Glân wedi Ei ddanfon i lawr o'r nef?

Os nad oes un o honoch yn dewis gwneud hyn,—rhoddwch chwi ddefnyddiau i mi, a threfnaf finnau hwynt, gyda'r hyfrydwch mwyaf, i wasanaeth y Saeson, mewn hanes syml. Byddai yn well gennyf ei weled yn cael ei wneud gan rywun yn y fan, a mwy cymhwys i'r gwaith. Traethodyn chwe' cheiniog fyddai yn ddigon. Byddai yn rhy gynnar i benderfynnu ar unrhyw gynllun cyn i'r peth gael ei drefnu i ddechreu, ond byddai yn angenrheidiol rhoddi cyfran lled helaeth i'r ysgolion, i'r modd y torrodd y gwaith allan, ac y lledaenodd, i'r athrawiaethau ddysgir, yr ymdrechion a'u ffrwythau, ac i'r pregethwyr, i ddisgyblaeth, i'r Cyfarfodydd Misol, y Cymdeithasfaoedd, ac felly yn y blaen.

Eich cyfaill a'ch gwasanaethwr,

THOMAS JONES.

## II.

THOMAS JONES TO THOMAS CHARLES.

*Creaton, Aug.* 4, 1800.

My dear Friend,

So far as it is in my power to oblige you, I hope always to stand ready. You desire an *immediate reply* to your observations on the affairs at Chester. But what can I say? I wish it were in my power to say everything agreeable to your wishes on the subject. It would gratify my feelings very much to visit dear Oliver's* people once a year; but with my present engagements it is *utterly impossible*. It is indeed with difficulty I could procure a supply for my church this summer for two Sun-

* Philip Oliver o Gaer.

THOMAS JONES AT THOMAS CHARLES.

*Creaton, Awst 4ydd,* 1800.

Fy Anwyl Gyfaill,

Mor bell ag y mae yn fy ngallu i wneuthur cymwynas a chwi, yr wyf bob amser yn sefyll yn barod i wneud. Dymunwch atebiad buan i'ch sylwadau ar gyflwr pethau yng Nghaer. Ond pa beth a allaf ddweyd? Carwn pe buaswn yn alluog i ddweyd pob peth sydd yn gydweddol â'ch dymuniadau ar y mater. Buasai yn boddhau fy nheimladau yn fawr i ymweled â phobl Oliver* druan unwaith mewn blwyddyn,—ond gyda'm hymrwymiadau presennol y mae yn hollol amhosibl. Gydag an-

*Phylip Oliver.

days only, while I went to Lincolnshire to visit an old friend that resides in that country, – a country that lies in darkness and in the shadow of death, and stands almost as much in need of missionaries as the Islands of the South Sea, Coromandel or Malabar.

Whether it is best to fix one minister at Chester or to have a continual round of changes is a point that I am not competent to decide. It is natural to expect that you and I are not likely to view this point exactly in the same light, owing to the different spheres we move in. But I can say from my heart, God direct you. Then you are sure to do right, whatever our short sighted views may be. To find eight or more Ministers to supply that place will be attended with considerable difficulty; for the complexion of the times requires that Parish Ministers should be regular, or give up their places, which few of them are disposed to do from a conviction that they would do wrong, when they have work enough where they are. Such is my own case.

I think it right to inform you that Mr. Robert Pugh, of Shropshire, is left one of the trustees under his late brother John's will for Mr. James's money. As far as I understand he and Mr. Atkinson, of Leeds, have *full* powers to dispose of them as they *judge* best, without being confined to any particular object. Mr. John *Pugh* had thought of the Welsh *Schools* among other things. The money *being* in the funds, which were then low, nothing was done. And our friend Robert is slow in acting, and wants spurring up. I have applied to him on the subject lately, and wish you to do so without taking notice of me at all on the subject. Be importunate, and perhaps the sooner the better, before another object is taken in hand. The money is considerable.

I shall be glad to see your catechism, but I don't expect my parcel from Chester till the Magazine is out. Could you send it (the Catechism) sooner by one of the drovers? When I see it I shall be able to say more respecting it.

hawster y gellais gael un i lenwi fy lle yn fy eglwys am ddau Sul yn yr haf, tra y bûm ar ymweliad â chyfaill sydd yn byw yn Swydd Lincoln,—gwlad sydd yn gorwedd mewn tywyllwch ac yng nghysgod angeu, ac yn sefyll gymaint mewn angen am genhadwyr ac Ynysoedd Môr y Dê, neu Coromandel a Malabar.

Pa un ai gwell fyddai gosod un gweinidog yng Nghaer ai cael cyfres o gyfnewidiadau parhaus sydd fater nad wyf yn alluog i'w benderfynnu. Y mae yn naturiol disgwyl na wnewch chwi a minnau weled y peth yn hollol yn yr un goleuni, oherwydd ein bod yn symud mewn gwahanol gylchoedd. Ond hyn a allaf ddweyd o'm calon, cyfeiried Duw chwi! Yna byddwch yn sicr o wneud yn iawn, pa olygiadau bynnag a gymerwn ni. Bydd y gwaith o gael wyth neu ychwaneg o weinidogion i lenwi y lle hwn yn cael ei amgylchynu a chryn anhawster, canys y mae gwedd yr amserau yn gofyn fod gweinidogion plwyfol yn gyson, neu roddi eu lleoedd i fyny, yr hyn nid oes ond ychydig yn barod i'w wneud, oddiar argyhoeddiad y buasent yn gwneud lle, pan y mae ganddynt ddigon o waith i'w wneud yn y lleoedd y maent. Felly y mae fy achos i.

Tybiwyf mai priodol eich hysbysu fod Mr. Robert Pugh, o Swydd Amwythig, wedi ei adael yn un o ymddiriedolwyr arian Mr. James, dan ewyllys ei ddiweddar frawd John. Mor bell ag yr wyf yn deall, y mae ganddo ef, ynghyd a Mr. Atkinson, o Leeds, awdurdod llawn i ddefnyddio yr arian fel y barnont yn oreu, heb gael eu cyfyngu i unrhyw bwrpas neilltuol. Yr oedd Mr. John Pugh wedi meddwl am yr Ysgolion Cymreig, ym mhlith pethau ereill. Gan fod yr arian yn y *Funds*, a'r rhai hynny yn isel, ni wnaed dim. Ac y mae ein cyfaill Robert yn araf i symud, ac y mae arno angen ei symbylu. Yr wyf wedi ymofyn âg ef ar y mater yn ddiweddar, a charwn i chwithau wneuthur yr un modd, heb gymeryd unrhyw sylw o gwbl o honof fi yn y peth. Byddwch daer; a goreu po gyntaf cyn y cymerir gwrthrych arall mewn llaw. Y mae yr arian yn gryn swm.

Bydd yn dda gennyf weled eich Holwyddoreg, ond nid wyf yn disgwyl fy sypyn o Gaer hyd nes y daw y cylchgrawn allan. Oni ellwch ei ddanfon (yr Holwyddoreg) gyda un o'r gyrrwyr? Pan y gwelaf ef, gallaf ddweyd mwy am dano.

Tell the good old woman that I pray for a blessing on all her fingers if she saves your thumb.

I thank you for the pleasing news you gave me of poor Richards, to whom I have often preached.

Give my love to Mrs. Charles, and thanks for paying for the cloth.

I remain faithfully and affectionately,

Yours in the Gospel of Jesus,

THOS. JONES.

Dywedwch wrth yr hen wreigen dda fy mod yn gweddïo am fendith ar ei bysedd oll, os achuba hi eich bawd.

Diolch i chwi am y newyddion cysurlawn a anfonasoch am Richards druan, i'r hwn y pregethais lawer tro.

Cyflwynwch fy serch i Mrs. Charles, a diolch am dalu am y brethyn.

Ydwyf, yn ffyddlawn a serchog,

Yr eiddoch yn Efengyl yr Iesu,

THOS. JONES.

## III.

THOS. JONES TO THOMAS CHARLES.

*Creaton,*
*Nov. 3rd*, 1800.

My dear friend,

Last Wednesday evening your kind letter of the 4th October came to hand, which gave me great comfort indeed, finding that your hand is likely to do well; for I can assure you that I suffered much for you, especially since a friend informed me that it was probable you must suffer amputation, I thank God to hear of far better prospect. We had rather go to heaven without loosing a limb.

You were so kind as to send me Christmas Evans's production, which I have perused in a hasty manner. Did you ever see such a dashing swaggerer before? Nothing stands before him, no, nothing, neither plain truths, nor scripture proofs, they all fall and crumble to dust at the first touch of his magic wand. And I daresay that what he advances will be considered by his deluded adherents as a fair and final overthro' of all that has been advanced in favour of Infant Baptism; and some others of his readers, for want of capacity to discern between reasoning and blustering, will feel themselves embarrassed and will not know how to decide; nor do I know how it is possible to convince and establish people till they possess some judgment to discriminate between an argument and a mere flourish. This is the difficulty, the subject itself has none in my mind.

THOMAS JONES AT THOMAS CHARLES.

*Creaton,*
*Tachwedd* 3ydd, 1800

Fy anwyl gyfaill,

Nos Fercher diweddaf daeth eich llythyr caredig, dyddiedig y 4ydd o Hydref, i'm llaw, yr hwn a roddodd i mi gysur mawr mewn gwirionedd; gan y deallaf fod eich llaw yn debygol o wella; canys gallaf eich sicrhau i mi ddioddef llawer eroch, yn enwedig er pan y dywedodd cyfaill wrthyf, y byddai yn ofynnol yn ol pob tebygolrwydd i chwi ddioddef ei thorri ymaith. Diolchaf i Dduw am glywed am ragolwg llawer gwell. Byddai yn well gennym fyned i'r nefoedd heb golli un aelod.

Buoch mor garedig ag anfon i mi gynhyrch diweddaf Christmas Evans. Darllenais ef yn frysiog. A welsoch chwi erioed o'r blaen y fath dorsythwr trystfawr? Nid oes dim yn sefyll o'i flaen, dim, pa un bynag ai gwirioneddau amlwg ai profion Ysgrythyrol. Y maent oll yn cwympo ac yn briwsioni yn llwch ar y cyffyrddiad cyntaf o'i hudlath. A thybiaf yr ystyrrir yr hyn a ddywed gan ei ddilynwyr twylledig fel dymchweliad teg a therfynnol o'r cwbl a honnir yn ffafr bedydd babanod, ac y bydd ereill o'i ddarllenwyr, oherwydd anallu i wahaniaethu rhwng ymresymiad a thrwst, yn te mlo eu hunain mewn cyfyng-gyngor, ac heb fod yn gwybod pa ffordd i benderfynnu; ac nid wyf yn gwybod pa fodd y mae yn bosibl i argyhoeddi a chadarnhau pobl hyd nes y deuant yn feddiannol ar ryw farn, i wahaniaethu rhwng rheswm a haeriad ymffrostgar. Hwn yw yr anhawster; nid oes dim yn perthyn i'r pwnc ei hun yn fy meddwl i.

He calls my pamphlet a translation of Edwards's; but the truth is, mine, as to the substance of it, was written before I ever saw Edwards's; and after I read it, I brought into mine several points which I found had escaped my notice, or were better expressed in his. As to the main argument, and leading ideas, our views were the same.

Geilw fy nhraethodyn i yn gyfieithiad o un Edwards; ond y gwir yw, ysgrifenwyd sylwedd fy eiddo i cyn i mi weled un Edwards o gwbl; ac ar ol ei ddarllen, dygais i mewn i fy nhraethawd fy hun amryw faterion y canfyddais eu bod wedi diango o fy sylw, neu oeddynt wedi eu gosod yn well ganddo ef. Ond ar y prif ymresymiad, a'r meddyliau pwysicaf, yr ydym yn cydolygu.

If I had a stable boy that discovered such ill tempers, and used such abusive language as Evans, I certainly should dismiss him instantly.

Pe byddai gennyf was bach a ddangosai y fath dymherau drwg, ac a ddefnyddiai y fath iaith sarhaus ag Evans, buaswn yn sicr o'i anfon o'm gwasanaeth ar unwaith.

Do you wish him to be answered at all or not? You and your brethren on the spot must decide this point. Tho' I have seen nothing in his book but bold assertions without proof, and triumph without victory, (besides a torrent of abuse) yet if these are taken for arguments, they may do mischief. Would it then be necessary to expose the futility of his dogmas?

A garech chwi iddo gael ei ateb neu beidio? Y mae yn rhaid i chwi a'ch brodyr yn y lle benderfynnu hynny. Er na welais ddim yn ei lyfr ond haeriadau hyfion heb brawfion, a goruchafiaeth heb fuddugoliaethau (heblaw rhaiadr o sarhad), eto os cymerir y rhai hyn fel rhesymau, gallant wneud niwed. A fyddai felly yn angenrheidiol i ddynoethi gwegi ei athrawiaethau?

This you must decide upon, for I cannot, being so distant from the field of action, nor shall I in future undertake any publication in Welsh. I have given you sufficient trouble already, and to confess the truth I have no money to spare, only a little for the numerous starving poor around me.

Hyn y mae yn rhaid i chwi ei benderfynnu, canys nis gallaf fi o'r pellter mawr hwn o faes y frwydr; ac ni wnaf yn y dyfodol ymgymeryd ag unrhyw gyhoeddiad yng Nghymraeg. Yr wyf wedi eich trafferthu ddigon yn barod, ac i addef y gwirionedd, nid oes gennyf arian i'w hebgor, oddigerth ychydig i'r tlodion lu sydd o'm hamgylch.

I have 13 copies of Caradoc unsold, nor do I see any prospects of selling them. But if not, I can dispose of them before long. I shall thank you to send me with *Trysorfa* from Chester, a copy of your English Catechism; then I can order any number that I shall want, and I should be glad to have a copy of anything else that you or others have lately published in Welsh. I have a plan in embryo which I shall submit to you soon, about reprinting old theology.

Y mae gennyf 13 o gopïau o *Caradog* heb eu gwerthu,—ac nid wyf yn gweled rhagolwg am hynny. Ond os amgen, gallaf eu rhoddi i ffordd cyn hir. Diolchaf i chwi am anfon i mi gyda'r *Drysorfa* o Gaer, gopi o'ch Holwyddoreg Seisnig,—ac yna gallaf roddi archeb am unrhyw nifer y bydd gennyf angen am danynt,—a byddai yn dda gennyf gael copi o unrhyw beth arall, a gyhoeddwyd gennych chwi neu ereill yng Nghymraeg. Y mae gennyf gynllun, mewn *embryo*, yr hwn a osodaf ger eich bron yn fuan, i ail argraffu hen ddiwinyddiaeth.

Can you give me any account of Mr. Morgan, late Master of Dolgelley school's character, &c.? The Rev. John Hughes desired me to recommend him to the Society in London, owing to your absence and illness.

A ellwch chwi roddi i mi unrhyw wybodaeth am gymeriad Mr. Morgan, athraw Ysgol Dolgellau?

Dymunai y Parch. John Hughes ar i mi ei gymeradwyo i'r Gymdeithas yn Llundain, yn eich absenoldeb a'ch afiechyd.

With love to Mrs. Charles bach anwyl,

Gyda chariad at Mrs. Charles bach anwyl,

I remain affectionately yours,

THOMAS JONES.

Yr eiddoch yn serchog,

THOMAS JONES.

## Y SACRAMENTAU.

II.

Yr Eglwys: Ei Sacramentau a'i Gweinidogaeth. *Darlith Davies am* 1897. *Gan* William James, B.A. *Wrexham: Hughes and Son.* 3s. 6*ch*.

[Nodiad.—Gan fod yr Ymddiddan ar y llyfr uchod wedi ei dorri yn ei ganol yn sydyn yn y rhifyn diweddaf, rhaid erfyn ar y darllennydd i droi at y rhifyn hwnnw, er mwyn deall dechreu yr Ymddiddan yn y rhifyn hwn. Ond iddo wneud hynny, fe genfydd fod Diacon yn gwneud sylw o'r syniad a goleddid gan Dr. James mai yr *Ymgnawdoliad*, ac nid marwolaeth Crist, oedd y prif beth yr oeddid i wneud "coffa am dano" yn y Swper Sanctaidd; tra yr honnai Diacon mai Ei *farwolaeth* oedd yn arbennig yn cael ei goffhau. Yna aeth yr Ymddiddan ymlaen fel y canlyn.]:—

G. Ond, cymerwch bwyll yn awr; peidiwch ag anghofio fod y Dr. yn galw sylw arbennig at eiriau Crist: "Gwnewch hyn er coffa *am danaf*," nid am ei *farwolaeth* ond *am danaf*."

D. Ië, am dano Ef, mae'n wir, ond am dano pa bryd, ac ar ba amgylchiad? Onid yn tywallt ei "waed drostynt er maddeuant pechodau," ac am y corff "yr hwn a dorrir drosoch?" Yn wir yr wyf yn methu a deall y Dr. yn ceisio adeiladu cymaint ar y geiriau "am danaf" fel yn cyfeirio at ei ymgnawdoliad, ac yn anghofio y geiriau ereill, a'r holl amgylchiadau a'r cysylltiadau ynglŷn â'r nos bythgofiadwy "y bradychwyd Ef." Ac yr wyf yn synnu mwy fyth at ei gyfeiriad at y geiriau yn y Corinthiaid, ac yn ceisio eu symud oddiar ei ffordd: "Canys cynifer gwaith bynnag y bwytaoch y bara hwn, ac yr yfoch y cwpan hwn, y dangoswch *farwolaeth* yr Arglwydd oni ddelo." Gallesid meddwl fod yr adnod hon yn derfynol ar y pwnc.

G. Cofiwch mai geiriau yr Apostol, yn ol pob tebyg, ydyw y geiriau yna, ac nid geiriau yr Arglwydd Iesu, fel y noda y Dr. Mae Principal Edwards yn dweyd hynny yn ddi-os, ac y mae y geiriad yn dangos ei fod yn iawn.

D. Beth er hynny? Y maent yn eiriau Paul, ac nid wyf yn gweled grym yng ngwaith Dr. James yn prysuro i ychwanegu, ar ol difynnu y geiriau, ei fod yn bur sicr "mai o hono ei hun y mae Paul yn dweyd hynny." A ydyw y Dr, yntau hefyd, yn myned i daflu Paul dros y bwrdd fel awdurdod; a'r Apostol yn ein sicrhau "Canys mi a dderbyniais gan yr Arglwydd, yr hyn hefyd a draddodais i chwi?"

G. Ond cofiwch, fel y mae y Dr. yn sylwi, mai nid y gwnewch "*goffa am*" a ddywed yr Apostol, ond y "*dangoswch* farwolaeth yr Arglwydd," yr hyn, medd efe, "sydd yn beth pur wahanol."

D. "Dangos" marwolaeth yr Arglwydd trwy arwyddion gweledig, a gwneud "coffa am dano Ef" trwy yr un arwyddion yn rhoi ei gorff ac yn tywallt ei waed drostynt, yn ddau beth gwahanol! Sut?

G. *Dangos* ydyw y naill, gwneud *coffa am* ydyw y llall.

D. Yr wyf yn synnu tipyn atoch chwithau, gyfaill. A ydych wedi darllen Esboniad y Prifathraw Edwards ar yr adnod? Ydych, o ran hynny, mi wn, ond eich bod bellach wedi anghofio. Maddeuwch i mi am son am y "gwreiddiol" wrth weinidog fel chwi, a minnau ond "lleygwr." Dywed y Prifathraw fod y gair gwreiddiol am "ddangos" yn golygu "to proclaim by word of mouth," a bod yr Apostol yn defnyddio y gair i olygu mwy na dangos neu arwyddo. Yr ydym, meddai, yn y Swper Sanctaidd yn *pregethu* marwolaeth Crist. Sut y mae y gair *dangos*, gan hynny, yn helpu syniad Dr. James sydd i mi yn ddirgelwch. Pa fodd bynnag gadewch i ni beidio anghofio mai amcan y Dr. wrth drin y pen cyntaf hwn, yw ceisio profi mai nid *marwolaeth* Crist ydyw y prif beth yn y Swper Sanctaidd, ond yr *ymgnawdoliad*. Hwnnw ydyw y meddwl "blaenaf," os nad y meddwl i gyd. Cewch weled, os nad wyf yn camsynied, pam y mae y Dr. yn rhoddi y lle blaenaf fel hyn yn y coffa hwn i'r ymgnawdoliad fel yr awn at y pethau nesaf. Y mae yn help i'r *theory* y mae efe yn ei ddal am natur y *Real Presence*.

G. Dowch gan hynny at yr ail o'r tri syniad sydd i fod yn "llywodraethol" yn y meddwl ar y Swper.

D. Hwnnw ydyw, y syniad am "berthynas y credinwyr â Christ yn y cymeriad a enwyd" (tud. 281).

Nid oes neb a ddarllenno y Testament Newydd a wâd yr undeb dirgeledig hwn. Yr undeb agosaf mewn bod ydyw, ac y mae yn cael ei ddysgu gennych chwi, a gweinidogion ereill, fod y cydmariaethau o (1) undeb Crist a'r Tad, (2) y canghenau a'r pren, (3) y gŵr a'r wraig, (4) y pen a'r aelodau, (5) yr adeilad a'r sylfaen, yn cael eu defnyddio i ddangos gwahanol agweddau yr undeb hwnnw. Yr wyf yn cofio y diweddar Richard Lumley yn pregethu yn ardderchog ar y gwahanol gydmariaethau hyn, ac yn dangos fel yr oedd yn y naill gydmariaeth rywbeth nad oedd yn y llall, i ddangos ei wir natur, ac er hynny fod y cyfan, feallai, yn anigonol. Undeb *ysbrydol* ydoedd, pa fodd bynnag. Ond y mae, yn ol golygiad y Dr., rywbeth mwy yn yr ymadroddion hyn. Ond beth yn fwy sydd? Gadewch i ni ddefnyddio rhai o'i eiriau o dan y pen hwn. Dywed fod "cyfrwng neu foddion yr undeb yn *nynoliaeth* y Gwaredwr:" undeb gyda'r Ceidwad "fel *Duwddyn* ydyw;" aelodau ydym "allan o'i *gorff* Ef," "mae ein bod a'n bywyd ysbrydol wedi deilliaw i ni o honno Ef trwy gyfrwng ei *ddyndod*. Yn y cysylltiad hwn y mae ystyr i'r gair *corff*." "Y meddwl yw fod undeb y Credinwyr â Christ yn un sydd yn cael ei fod trwy gyfrwng ei *gorff* Ef." Mae'n wir fod y Dr. yn lliniaru rhyw gymaint ar ei eiriau, ac yn dweyd mai "nid undeb â *dynoliaeth* Crist *yn unig* ydyw, ond, â'r Person yn ei Dduwdod a'i Ddyndod." Ac yna dywed "Mae yr undeb yn un dirgel," yn "ddirgelwch mawr," yn "oruchnaturiol," yn gymaint a bod natur a'i Hawdwr yn ei ffurfiad yn dyfod *i gyfuniad gwir* (sylwch ar y geiriad), er mor ddirgeledig, â'u gilydd." Gadewch i ni ddeall yr awdwr, os gallwn, oblegyd y mae yn llawn *mysticism*. Cofiwn i ba le y mae y Dr. wedi ein harwain. Ymgnawdoliad Crist sydd i fod yn bennaf yn ein meddyliau wrth fwrdd y cymun. Yn nesaf yr ydym ni, y person cyfan, yn enaid a chorff, i fod mewn undeb â'r *Duwddyn*, a'n "bywyd ysbrydol yn dyfod i ni trwy gyfrwng ei *ddyndod*."

Dyma ni wedi ein harwain fel hyn at y trydydd syniad sydd i fod yn ein meddyliau am y Swper Sanctaidd, a thuag at y syniad hwn, mi debygwn, y mae y ddau syniad blaenorol yn gweithio. Y trydydd syniad ydyw: 3. Natur y bendithion sydd yn dod i ni trwy yr undeb. "Undeb bywyd ydyw" Mae'r bywyd yng Nghrist. "Efe yw ein bywyd, ac Efe yw ei gynhaliaeth." "Cyfrwng ordeiniedig ac effeithiol hyn ydyw yr Ymgnawdoliad." "Dyma'r hyn a ddysgir yn y chweched bennod o Efengyl Ioan." Nid yw yn dweyd fod yr Iesu yn cyfeirio at y Swper Sanctaidd yn y geiriau yno, mae'n wir, ond pan yn ordeinio y Swper yr oedd ei feddwl ar yr un gwirioneddau ag sydd yn y chweched o Ioan. Yn awr nid wyf yn tybied fy mod wedi gwneud y cam lleiaf â'geiriau y Dr. wrth eu talfyru, a ydwyf?

G. Nac ydych, mi dybiaf.

D. Ceisiais beidio, pa fodd bynnag. Wel, y mae y Dr., fel y Pabyddion a'r Uchel Eglwyswyr, yn dal mai ar y gwirionedd hwn, sef y gwirionedd yn y chweched o Ioan, am fwyta corff ac yfed gwaed Crist y mae y Swper Sanctaidd yn "dibynnu." Ië, a da y newidir y gair gan y Dr. bellach o fod yn Swper yr Arglwydd, fel yr oedd o dan y ddau ben cyntaf, i'r gair "Sacrament." Mae wedi gwneud y Swper yn rhyw *musterion*, yn ddirgelwch cyfriniol bellach. Mae y credinwyr yn y Sacrament, meddai, yn bwyta cnawd ac yn yfed gwaed Crist. "Trwy fwyta ei gnawd Ef, ac yfed ei waed Ef yn unig y gall y bywyd hwnnw (sef bywyd tragwyddol) gael ei feithrin."

G. Iaith ffigurol sydd yma yn ddiau, onide?

D. O na, y mae y Dr. yn golygu i ni gymeryd y geiriau yn llythyrennol mewn rhyw fodd! A ellwch chwi wneud allan ei feddwl?

G. Wel nid wyf yn bur siwr am y *meddwl*, ond y mae yn lled amlwg beth y mae yn ei *ddweyd*. "Ofer," meddai, "yw dweyd fod yr iaith yn ffigurol: beth sydd yn ffigurol ynddi" (tud. 286). "Nid oes," meddai "ddim alleg yn y geiriau 'bywyd,' 'bwyd,' 'bwyta,' ac nid yw yr iaith un gronyn yn fwy ffigurol na'r hon a arferrir am y ddaear, pan ddywedir ei bod yn *yfed* y gwlaw sydd yn mynych ddyfod arni."

D. Ië, dyna y geiriau, ond beth yw *meddwl* y Dr.? Gwyddom beth ydym yn ei olygu wrth y gair bywyd mae'n wir, ond y mae gwahaniaeth rhwng bywyd a bywyd, rhwng bywyd naturiol a bywyd ysbrydol. Gwyddom beth yw "bwyta" ac "yfed" yn dda, ond y mae gwahaniaeth rhwng bwyta pryd o fwyd, a bwyta llyfr o'i gŵr, rhwng yfed dwr ac yfed dysg mewn coleg. Dim ffigur yn y geiriau fod "y ddaear yn *yfed* gwlaw!" Nid oes gan y ddaear na genau, na thafod, na gwddf. Mae y ddaear yn yfed y gwlaw, mae'n wir—yn yr ystyr ei bod yn cymeryd y dwfr i mewn, ond ffigur sydd yn y gair "yfed" yn ddiau er hynny. Gwyddom nad yw y Dr. yn dymuno i ni esbonio geiriau Crist mewn ystyr Capernamaidd [maddeuer y bastarddair hwn. Mae yn hen air ynglŷn â'r ddadl hon]. Ond os nad yw am eu hesbonio felly, pa ystyr *lythyrennol* arall y mae yn ei roi arnynt? Tybed na ddylem gymeryd geiriau Crist yn yr un ymddiddan pan yn dweyd:—"Yr ysbryd yw'r hyn sydd yn bywhau, y cnawd nid yw yn lleshau dim," yn allwedd i agor ystyr y geiriau?

G. Na, mae yn amlwg, mi dybiwn i, nad ellir esbonio geiriau Crist fel yn dweyd mai mewn ystyr ysbrydol yr oedd efe yn golygu i'w

eiriau gael eu cymeryd. Mae yr esbonwyr dyfnaf a goreu yn rhoi ystyr arall i'r geiriau.

D. Nid âf i ddadleu â chwi pwy yw yr esbonwyr mawr a dwfn. Ond chwi wyddoch fod llu mawr, os nad mwyafrif, o esbonwyr galluog, yn cymeryd y geiriau fel allwedd i esbonio y geiriau "bwyta cnawd ac yfed gwaed Crist." Mae Dr. Dale felly. Pa fodd bynnag y mae yn syn nad yw Dr. James yn cyfeirio at yr adnod hon o gwbl, er ei bod megys ar ei ffordd. Ond y mae y cwestiwn yn dod yn ol atom, pa ystyr *lythyrennol* y mae y Dr. am i ni ei roi ar y geiriau, os nad yr ystyr Capernamaidd? Y mae yn dweyd y dylem "gymeryd y geiriau fel y maent, a pheidio darllen iddynt yr hyn y tybia pob un y gall ef ei amgyffred." Mae yma, mae yn amlwg, yn ol barn y Dr, ryw ddirgelwch yn y geiriau sydd yn anhawdd, os nad yn amhosibl, i ni ei amgyffred; rhaid i ni gymeryd y geiriau "fel y maent" Beth ynte ydyw eu hystyr "fel y maent?" Y mae Calvin yn ei esboniad ar adnod 52 o'r bennod dan sylw yn dweyd: "Nid yn unig y mae yn gyfreithlon i ni ofyn mewn perthynas i'r pa fodd y mae bwyta cnawd Crist, ond y mae o bwys i ni geisio ei ddeall, mor bell ag y gwneir ef yn hysbys yn yr Ysgrythyrau. Ymaith gan hynny â'r ffug ostyngeiddrwydd gwyllt ac ystyfnig hwnnw ag sydd yn dweyd, 'O'm rhan i boddlawn wyf ar eiriau syml Crist pan yn dweyd fod ei gnawd yn fwyd yn wir, ac am y cwbl arall yr wyf yn cau fy llygad yn ewyllysgar.'" Mae Calvin, chwi welwch, yn fy ngwahodd i geisio amgyffred ystyr y geiriau. Yn awr nid oes arnaf eisieu "darllen i mewn iddynt ddim o fy eiddo fy hun," ac nid oes ynof awydd i "waghau geiriau Crist o bob meddwl priodol iddynt eu hunan." Credwyf mai rheol dda ydyw honno o eiddo y Proffeswr Williams o'r Bala yn ei lyfryn (tud. 22) ar y Sacramentau. "Ein dyledswydd yw edrych yn llygad ymadroddion y Bibl," meddai, "heb unrhyw gais cywrain i'w tynnu o'u hystyr naturiol, gan ofalu, wrth gwrs, lle bo'r iaith yn gyffelybiaethol, na byddo i'r gyffelybiaeth o ofyn gormod ganddi gamarwain." Credu yr wyf fi fod Dr. James *yn* "gofyn gormod" gan y gyffelybiaeth hon. O ran hynny nid yw y Dr. yn meddwl *fod* yma gyffelybiaeth o gwbl. Os bu Crist yn defnyddio iaith ffigurol erioed, gallesid meddwl ei fod yn gwneud hynny yn y bennod hon. Ond nid dyna farn y Dr. Gwrandewch ar ei eiriau. Ar tud. 286, dywed mai "llawer mwy gweddus yw cymeryd y geiriau fel y maent, a deall wrthynt mai gwir —*llythyrennol wir*—yw fod yr hwn sydd ganddo fywyd tragwyddol *yn bwyta Crist*, yn bwyta *cnawd* Mab y Dyn ac yn yfed ei waed Ef, yn *ymborthi ar ddynoliaeth* y Gwaredwr, yn ei hundeb byw a phersonol â'i Dduwdod Ef, ac fel unig gyfrwng deilliad y bywyd Dwyfol sydd ynddo i eneidiau dynion" Nid wyf heb wybod fod esbonwyr dysgedig ereill yn defnyddio *geiriau* cyffelyb i eiddo y Dr., ond pa *feddwl* y maent yn ceisio ei gyfleu drwy ddefnyddio y fath eiriau nis gallaf yn fy myw ddyfalu, ac y maent hwythau yn teimlo nas gallant eu hesbonio. Pe dywedasai y Dr. yn unig fod y geiriau yn *wir*, gallasem geisio casglu ymha ystyr y golygai eu bod yn wir, oddiwrth y cyd-destun: ond pan yn ychwanegu "*llythyrennol wir*" yr wyf yn y niwl yn lân. Nid esbonio y dirgelwch ydyw yr anhawster yr wyf yn ei deimlo, ond esbonio *meddwl* y Dr. am y dirgelwch yr honnir sydd yn y geiriau. Ond

gadewch i ni edrych ar y cyd-destun. Mae geiriau Paul yn Eph. iv. 13, 15, 16, i'r Dr. yn golygu fod "*dynoliaeth* Crist yn gyfrwng o undeb âg Ef, ac o dderbyniad lluniaeth o hono Ef," tud. 287. Yr un syniad sydd iddo ef yn y Sacrament ag sydd yn y 6ed o Ioan, sef ymborthi ar gnawd Crist. Wrth esbonio "Phiol y fendith yr hon a fendigwn onid *cymun* corff Crist ydyw," y mae fel y Prifathraw Edwards yn dweyd mai yr ystyr yw "cyfranogi" o Grist. Nid yw y syniad am gymundeb y Saint â'u gilydd yn y gair o gwbl ganddo, er fod y Prifathraw yn dweyd fod yr Apostol yn golygu y ddau. Mae "y neb sydd yn cyfranogi yn deilwng o'r phiol ac o'r bara, *yn eu hystyr Sacramentaidd*," medd Dr. James, "yn cyfranogi yr un pryd o gorff a gwaed Crist, ac yn cyfranogi o Grist ei hun fel ymborth priodol y bywyd ysbrydol a ddaeth o hono Ef" (tud. 288). "Dyma sydd," medd y Dr., "yn gwneud fod GWIR *bresenoldeb Crist yn y Sacrament yn ddiamheuol*, a hynny nid o ran ei Dduwdod hollbresennol ond o *ran ei ddyndod terfynnol*" (tud. 289). Beth, tybed, ydyw dysgeidiaeth y Dr. bellach? Ai hyn? Crist yn ei "*ddyndod terfynnol*" yn *bresennol* yn wirioneddol yn y Sacrament, a'r cymunwr ffyddiog yn dod i gyfranogiad o'i gorff Ef ac o'i *waed!* Os oes ystyr i eiriau dyna y mae y Dr. yn ei ddysgu. Nid rhyfedd ei fod yn edrych ar y *Gyffes Ffydd* "yn dra chymhedrol ac i fesur yn anghyflawn" yng ngwyneb athrawiaeth "gyfoethog" fel hon. Os ydyw dyndod Crist yn "derfynnol," fel y dywed Calvin, a'r Dr. ar ei ol ei fod, ac nid yn hollbresennol, fel yr honai Luther, ac eto yn "bresennol" yn y Cymun, *y mae* yma ddirgelwch, mewn gwirionedd. Oes, ac y mae yma fwy; mae yma rywbeth tebyg iawn, mewn rhai pethau, i'r hyn sydd yn athrawiaeth yr Uchel Eglwyswyr, os nad yn athrawiaeth Luther ar gydsylweddiad. Yr oedd Calvin, pan yn dweyd rhywbeth tebyg, yn teimlo yr un anhawster ag y mae Dr. James yn ei deimlo. Mae y Dr., ar tud. 289, yn sylwi "Beth y mae hynny (sef y gwir bresenoldeb hwnnw) yn ei ragdybied gyda golwg ar *leoliad corff Crist*, yr hwn y gwyddom sydd *yn y nefoedd*, nid wyf yn proffesu dywedyd." Ond y mae gan y Dr. ei ddamcaniaeth hefyd. Mae am amgyffred y dirgelwch hwn os gall. "Mae corff ysbrydol," meddai, "yn ddieithr-beth i'n syniadau ni, ond o ran dim a wyddom, mae yn ddigon posibl fod yr ysbrydol ynddo wedi cymeryd y fath feddiant o honno ag i'w wneud yn fwy *anibynnol ar le* nag y gallwn ni yn awr ddychymygu" (tud. 289). Beth am y "dyndod terfynol" y soniai y Dr. am dano? Ond aroswn am funud i edrych ymha le yr ydym yn sefyll bellach. Y cwestiwn y cychwynwyd gydag ef oedd yr "un o berthynas i bresenoldeb Crist" yn y Cymun? Yr ydys yn gyffredin yn barod i ateb ei *fod* yn bresennol mewn ystyr ysbrydol, yn enaid ffyddiog y Cymunwr. Ond na, medd y Dr., y mae yn bresennol o ran ei "*ddyndod terfynol*." Ond sut felly, gan fod ei gorff ysbrydol yn awr ar ddeheulaw y Tad, a sut y gall "dyndod terfynnol" fod yn bresennol ymhob Cymun iawn ymhob man trwy y byd? Ië, sut hefyd? O, wel, yw ateb y Dr., fe all ei gorff ysbrydol Ef fod yn *anibynnol ar le!* Chwi welwch, gan hynny, mai rhyw bresenoldeb *objective*, ac nid *subjective*, fel y byddwch chwi y bobl ddysgedig yna yn ei ddweyd, sydd gan y Dr. o hyd, presenoldeb ag sydd yn dyfod i'r Cymunwr trwy gyfrwng natur *ddynol* Crist, rhyw bresenoldeb ag sydd yn

anhawdd ei esbonio oherwydd fod ei ddyndod yn derfynnol, rhyw bresenoldeb ag y mae dirgelwch—"dirgelwch gwneud" y galwai Dr. O. Thomas ef—anhawdd ei ddeall na'i esbonio ynglŷn âg ef; dirgelwch ag oedd, yn ol Dr. Cunningham, mor anhawdd ei ddeall â chydsylweddiad Luther. Druain oeddem: y mae digon o ddirgelwch i bob dyn a ŵyr rywbeth am eangder anfesurol creadigaeth Duw ynglŷn â'r ffaith noeth fod Crist fel Duwddyn yn awr yn eistedd ar "ddeheulaw y Tad, ar orsedd fawr y Nef, a'r cyfan sydd mewn bod dan ei awdurdod Ef," heb i ni, a defnyddio geiriau Dr. O. Thomas ar y mater hwn, wneud "dirgelwch anianol" o eiddom ein hunain. Nid wyf heb wybod fod lliaws o ddiwinyddion enwog sydd, fel Luther a'r Dr., "a thuedd naturiol ynddynt at y cyfriniol" (tud. 131) yn coleddu syniadau tebyg i'r eiddo Dr. James ar y "presenoldeb gwirioneddol." Y mae Dr. Halley yn crybwyll am lyfr Esgob Cosin ar Hanes Trawsylweddiad, yn yr hwn y mae rhestr o Esgobion yr Eglwys Sefydledig sydd yn dal yr athrawiaeth gyfriniol hon; ac nid Dr. James, ond odid, yw y cyntaf sydd wedi ei phleidio yng Nghymru. Ond yr anffawd yw nad oes neb o honynt, hyd y gwn i, yn gallu dweyd yn eglur beth y maent yn ei feddwl. Mae yr athrawiaeth am bresenoldeb corff ysbrydol Crist yn y Cymun i feddyliau rhai diwinyddion dysgedig yn un lled hysbys, ond odid, ond y mae yn ddiau yn taro yn ddieithr ar glust dynion cyffredin fel fy hunan, ac yn un ag sydd yn gofyn dysgeidiaeth mwy na chyffredin i'w chanfod yn y Testament Newydd, beth bynnag am y Tadau a'r Credeau a'r Diwygwyr ag oedd wedi bod cyhyd mewn cysylltiad â'r Babaeth. Ond beth *ydyw* yr athrawiaeth?

G. Cerddwch ymlaen am dipyn eto, i edrych a oes dim goleuni i'w gael gan y Dr. Onid oes gwawr ar tud. 290? Yma nid yw y Dr. yn son am bresenoldeb Crist yn y Cymun o ran ei "*ddyndod* terfynnol," ond am yr "enaid ffyddiog yn dod i gymundeb *ysbrydol* â'r Gwaredwr, yr hwn, o ran ei gorff, sydd yn y Nefoedd," ac am y Cymunwr crediniol yn cael ei ddyrchafu mewn ffordd *ysbrydol* i fyny i'r nefoedd, lle mae corff Crist yn cartrefu.

D. Wel dyna eiriau oddiwrth y rhai y gellid tybied nad oes dim dirgelwch yn y mater, ond sydd yn hanfodol i ddirgelwch gweithrediad Ysbryd Duw yn dyrchafu ysbryd y Cymunwr i bresenoldeb Crist yn y Nefoedd, a hynny trwy ffydd. Wrth ddarllen geiriau fel hyn, buaswn yn meddwl nad oedd yr holl eiriau cyfriniol a ddefnyddir gan y Dr. yn ddim ond yr hyn a ddywed Dr. Dale wrth ysgrifennu ar y mater hwn, sef "the rhetoric of religious emotion for the expression of dogmatic faith." Ond pan y mae y Dr. yn ceisio deffinio, wrth fyned ymlaen, a nodi y man lle mae Luther a Chalvin yn cytuno, yr ydym yn myned i'r niwl drachefn mor bell ag erioed. "Bod Crist yn bresennol," meddai tud. 291, "mewn rhyw ffordd, sydd yn angenrheidiol cyn y gellir cyfranogi o hono." Gwir. I beri hynny rhaid bod agosrwydd lle, medd Luther; ond y mae y Dr. yn gwadu hynny, gan y golygai hynny hollbresenoldeb natur ddynol Crist, ac y mae yn codi esiampl mewn natur, ac yn nodi, er y gellir dweyd fod yr haul yn bresennol ar y ddaear (rhyw newydd-beth seryddol rhaid i mi addef) mai yn ei rinweddau a'i ddylanwadau y mae felly. Mae Ridley yn defnyddio yr un gydmariaeth o ran hynny.

G. Ac y mae yn dweyd hefyd fod dynoliaeth Crist, yr hon sydd yn y Nefoedd o ran lle, yn bresennol o ran ei *rhinweddau* a'i *dylanwadau* yn y Cymun. Dyna'r presenoldeb tebygid y mae y Dr. yn ei olygu wedi y cyfan.

D. Ië, ond y mae yn edrych ar hynny yn rhy wan, ac yn prysuro i ddweyd :—"Ond lle bynnag y byddo Ei *ddylanwad*, yno y mae *Efe ei hun*," a chan ei fod yn ddyn yn gystal a Duw y mae "yn rhaid addef fod ei *ddynoliaeth* yn *rhinweddol*, er nad yn *ffurfiol*, yn *holl bresennol*" (tud. 293). Pa le yr ydym yn awr? Dyma *ddynoliaeth* Crist yn *rhinweddol* yn *holl bresennol!* Dyma ni eto ar ffiniau athrawiaeth Luther am "hollbresenoldeb corff Crist." Ond hwyrach mai tipyn o "rhetoric of religious emotion" eto ydyw y geiriad fod *corff* Crist yn *holl bresennol* mewn unrhyw fodd, "rhinweddol" neu "ffurfiol"; yn enwedig gan fod y geiriau a arferir gan y Dr. yn ymddangos i mi yn gryfach, hyd yn oed na geiriau Calvin a Van Dyke, y rhai a ddifynnir ar waelod y ddalen yn yr iaith Saesoneg. Ac eto y mae yn anhawdd credu hynny. Gadewch i ni weled. Mae y Dr. yn symio i fyny y ddwy gyfundrefn, Lutheraidd a Chalfinaidd, ar bresenoldeb Crist yn y Swper, trwy ddweyd fod y ddwy yn cytuno yn y pethau canlynol :—"(1) Mae ffynhonell a chynhaliaeth y bywyd ysbrydol, lle bynnag y ceir ef, yw Crist fel Duwddyn. (2) Fod y bywyd ei hun a'i faeth yn dyfod i ddyn o'r Person Dwyfol trwy *gyfrwng y Natur ddynol.* (3) Mai y cyfranogiad hwn o gorff a gwaed Crist, mewn ffordd bersonol ac ysbrydol, ydyw y peth mwyaf neilltuol sydd i'w sicrhau, trwy ffydd, yn yr ordinhad o Swper yr Arglwydd." Dyma ni eto yn yr un fan. Crist yn rhoi maeth trwy *gyfrwng* ei *natur ddynol*, ac y mae yr hen anhawster yn codi, sef sut y gall y natur ddynol derfynol fod yn bresennol yn wirioneddol ymhob cymun, yn aros ; ac y mae y Dr. yn cyfeirio ato, ar tud. 295 :—"Mae y meddwl," medd y Dr., "fod Crist, yr hwn sydd *yn y Nefoedd*, yn dylanwadu ar ddyn *ar y ddaear*, ac fod y Cymunwr, wrth Fwrdd yr Arglwydd, yn cyfranogi o *gorff* yr Arglwydd, yr hwn sydd ar ddeheulaw Duw, *a hynny heb symud gwadn ei droed unwaith oddiar y llawr*, yr ydym yn addef yn rhwydd yn ddirgelwch mawr . . . . *y mae yn cymeryd lle seith hynny.*" Y cyfranogi o *ddynoliaeth* Crist, a honno yn "*derfynol*," ac yn y Nefoedd, ydyw y dyryswch o hyd. Ac eto presenoldeb Crist yn y Cymun o'r safbwynt hwn ydyw y "dirgelwch" y dylem ei dderbyn! Yn fy myw nis gallaf, wrth ddarllen geiriau y Dr. ar y dirgelwch hwn, lai na meddwl am syniadau yr Uchel Eglwyswyr, ac am Luther pan yn dadleu y cwestiwn â Zwingli, ac yn cael ei wasgu i gongl i roi eglurhad ar y *pa fodd*, yn ysgrifennu *Hoc-est corpus meum* ar y llian, a dim ond hynny; ac yn colli ei dymher ac yn pwyntio at y geiriau. Gwn fod y *real presence* yn cael ei osod ganddynt hwy rywsut yn yr elfennau, ac nad yw y Dr. yn ei osod ond yn —— Wel, ië, ymha le hefyd, a wyddoch chwi?

G. Rhaid i chwi gofio, fel y dywed Schaff, fod athrawiaeth Calvin, a'r hon, mi dybiwn, yw yr un y mae y Dr. yn ei phleidio, yn un sydd "wedi pasio i gyffesiadau mwyaf awdurdodol yr eilfed ganrif a'r bymtheg, ac felly y rhaid edrych arni fel athrawiaeth uniongred yr Eglwys Ddiwygiedig."

D. Dichon hynny fod, *mewn rhyw ffurf neu gilydd;* ond rhaid i chwithau gofio fod Cyffes Ffydd y corff y perthynna y Dr. iddo yn nês i athrawiaeth Zwingli o lawer, ac mai yr athrawiaeth honno, yn ol yr un Schaff, yw fod Crist yn bresennol yn y Cymun yn ol Ei natur *ddwyfol*, a thrwy ei *Yspryd*, i *lygad ffydd.* Dywed hefyd fod athrawiaeth Zwingli yn cael ei hamddiffyn gan rai o'r esbonwyr mwyaf, megys Meyer, er ei fod yn Lutheriad, yr hwn sydd yn dal y byddai esbonio geiriau Crist mewn modd llythyrennol yn rhwym o arwain yn y pen draw i athrawiaeth Rhufain. Dywed hefyd fod athrawiaeth Zwingli yn cael ei dal "gan Brotestaniaid uniawngred o bob enwad, yn enwedig yn Lloegr, Ysgotland, ac America." Teimlo fod rhyw dywyllwch dudew ar olygiadau Dr. James, a'i fod yn myned weithiau mor bell, os nad ymhellach, na Chalvin ei hun, mewn dull o ymadroddi, barodd i mi fod yn awyddus i fanylu ar ei sylwadau; fel y gweler mor bell y mae wedi myned oddiwrth ein Cyffes Ffydd ni. Y mae, beth bynnag, wedi myned i ryw dywyllwch dudew nas gallaf fi ei ddilyn. Os yw dynion fel Dr. Thomas a Dr. Cunningham, a llu o ddoctoriaid ereill, yn teimlo anhawster i ddeall Calvin ar y Sacrament hwn, fe faddeua Dr. James i mi, yr wyf yn bur siwr, am ddweyd fy mod innau yn y tywyllwch, i fesur mawr iawn, ar ei olygiadau yntau.

G. Yr wyf braidd yn meddwl eich bod yn rhy bryderus ynghylch *geiriad* y Dr. Yr ydych yn credu, fel y dwedasoch eisoes, ei fod ymhell iawn o ddal golygiadau sydd yn ymylu ar eiddo yr Uchel Eglwyswyr.

D. Carwn gredu hynny. Fe ddwedir gan Dr. Brown nad oedd dim gwahaniaeth rhwng Zwingli a Chalvin ar Swper yr Arglwydd, a phan aeth yr olaf i Zurich i drin y cwestiwn, wyneb yn wyneb â'r Zwingliaid, eu bod wedi dod i gyd-ddealltwriaeth hollol. Yr un modd yr wyf yn credu pe caem y Dr yma heno a gofyn iddo egluro rhai o'r ymadroddion tywyll sydd yn ei lyfr ar y *Real Presence*, y caem nad yw yr hyn y mae yn ei alw yn athrawiaeth "gyfoethog" a "chyflawn" yn wahanol iawn, wedi y cwbl, i'r hyn a "gredir yn ddiamheuol yn ein plith" yn bresennol.

G. Os dyna eich cred, pam yr ydych yn cwyno cymaint?

D. Am ei fod yn defnyddio ymadroddion sydd mor debyg i eiddo yr Uchel Eglwyswyr am y Swper, ac yn myned mor agos i'w terfynnau; a hynny, hyd y gwelaf fi, heb y rhithyn lleiaf o esgus dros hynny. Mae yn cwyno, mwy na pheidio, nad oes dim son am y *Real Presence*,—y Presenoldeb Gwirioneddol—yn ein *Cyffes Ffydd* (tud. 272). Mae y Dr. ei hun yn cymeryd y peth hwn y mae y Pabyddion a'r Uchel Eglwyswyr yn son cymaint am dano yn ganiatäol, ac yn treulio ei holl nerth yn yr ymdriniaeth ar y Swper Sanctaidd, nid i brofi y ffaith, ond i egluro *natur* y presenoldeb hwnnw. Pan byddwn ni yn son ein bod wedi cael golwg ar yr Iesu ar "dorriad y bara" ar ambell i noson y Cymun, gwyddom mai mewn ystyr ysbrydol y byddwn yn siarad. Nid ydym yn teimlo un anhawster i egluro ein meddwl. Ond y mae y Dr. yn son o hyd am ryw gymundeb trwy gyfrwng ei *ddynoliaeth*, y cyfryw gymundeb ag sydd yn cynnwys anhawster a dirgelwch anamgyffredadwy i egluro sut y gall fod yn bresennol yn y Cymun ac yntau o ran ei natur ddynol yn y nefoedd. Mae yn troi o gwmpas y syniad hwn drachefn a thrachefn. Mae Calvin yr un modd, ac y mae un tro

yn esbonio y dirgelwch trwy ddweyd fod y Cymunwr, trwy ddylanwad yr Ysbryd, yn esgyn at y Duwddyn i'r nefoedd. Ond fel arall y mae y Dr. yn egluro y presenoldeb sef fod Crist yn ei "ddynoliaeth derfynnol yn bresennol" yn y Cymun. Ond pa fodd nid yw yn gallu esbonio. Ond y mae *yn bod* medd y Dr.

G. Yr ydych yn anghofio o hyd fod y Dr. yn anhraethol bell oddiwrth dybied fod y presenoldeb hwnnw yn *yr elfennau* fel y Lutheriaid, neu yr Uchel Eglwyswyr a'r Pabyddion.

D. Yr wyf yn addef, fel y dywedais eisoes, fod yn anhawdd gennyf gredu ei fod yn cydolygu â'r pleidiau hyn. Ond paham y fath amwysedd? Paham y fath ymadroddion tywyll? a hynny nid pan y mae ei deimladau wedi eu cyffroi, ond pan y mae yn darnodi yn fanwl? Pe na buaswn yn gwybod yn amgenach, buasai yn anhawdd gennyf weithiau beidio credu ei fod wedi myned ymhell i dir syniadau y Defodwyr. Yr wyf wedi myned yn lled fanwl eisoes dros ei eiriau, ond cymerwch un engraifft nad wyf, yr wyf yn meddwl, wedi ei chrybwyll, allan o lawer yr wyf wedi eu marcio, ac sydd yn britho y llyfr. Ar tud. 283, pan y mae yn son am y lles o sylweddoli ein hundeb â Christ dywed :— "Ar fwrdd yr Arglwydd, lle y mae y Perchennog Dwyfol yn bresennol, ac yn ei gymhell Ei Hun arnom yn ei gorff a'i waed—yn ei ddynoliaeth," &c. A ydych yn sylwi ar y geiriau?

G. Wel, beth am danynt?

D. Pan byddwn ni yn cael cymundeb â Christ yn ysbrydol, byddwn yn meddwl ac yn son am dano Ef *wrth* y bwrdd y "nos y bradychwyd Ef." Ond yma y mae "*yr Arglwydd yn bresennol ar* y bwrdd, yn ei *gorff* a'i *waed*—yn Ei *ddynoliaeth.*" Pe buasai y Dr. yn golygu fod yr elfennau—oblegyd cofiwch mai yr elfennau sydd *ar* y bwrdd—yn troi yn wir gorff a gwaed a dynoliaeth Crist, ac felly *yn bresennol ar* Ei Fwrdd, fel y mae yr Uchel Eglwyswyr, buasai yn anhawdd cael geiriau mwy pwrpasol i osod y golygiad hwnnw allan; ond pan y gwn nad yw yn credu fel y maent hwy, yr wyf yn methu yn lân a deall paham y mae yn geirio fel y mae.

G. Ond tybed nad fod Crist yn bresennol trwy ddylanwadau ei Ysbryd i lygad ffydd, sef fod yr Ysbryd "yn cymeryd o eiddo Crist ac yn ei fynegi i ni" y mae y Dr. yn ei feddwl wedi y cwbl?

D. Nage, os wyf fi yn ei ddeall, oblegyd fe ddywed (tud. 274) fod y cyfranogiad o Grist yn y Cymun yn golygu "nid rhinweddau iawnol marwolaeth y Gwaredwr yn unig, neu y cyfryw yn unig ag sydd yn deilliaw trwy y Gair ac ordinhadau ereill mewn ffordd gyffredinol"

G. Ië, gorffenwch chwi y frawddeg.

D. O gwnaf, siwr. Dyma'r gorffeniad: "eithr yn arbennig y rhinweddau personol hynny ag sydd ynddo Ef ei Hun fel egwyddor a ffynhonell bywyd ysbrydol ac anfarwoldeb sanctaidd i ddyn mewn corff ac enaid." Ond y mae y cwbl yn dod i'r un peth ag o'r blaen, gan fod y rhinweddau hyn yn dod, fel y dywed ar tud. blaenorol, trwy wneud "dyn ar y llawr yn gyfranog o rinweddau *dyndod* Crist yn *y Nefoedd.*" Dyn "ar y llawr" mewn ystyr naturiol, sef ar y ddaear, a feddylir wrth gwrs. Wel, dyma'r *presenoldeb* y mae o hyd yn son am dano ac y mae yn gwneud cymaint o "ddirgelwch" ynglŷn âg ef. Gadewch i ni gymeryd un esiampl arall o eiriad anffortunus. Ar tud.

291 dywed:—"Os cymherir y golygiad Calfinaidd a'r un Lutheraidd gyda'u gilydd, fe'u ceir, yn sylweddol, yn dyfod *i'r un peth* yn y pen draw, oddieithr mor bell ag y gwahaniaethant ar y cwestiwn o berthynas i'r *modd* y mae Crist *yn bresennol* o ran Ei *gorff* yn y Sacrament, a'r canlyniadau sydd yn codi o hynny. Ei *fod yn bresennol* mewn *rhyw ffordd* sydd *angenrheidiol cyn y gellir cyfranogi o hono.*" Dyma Galfiniaeth a Lutheriaeth wedi "dod i'r un peth" o'r diwedd "yn sylweddol."

G. Na, mae "gwahaniaeth."

D. Pa wahaniaeth? Dim ond am y *modd*, nid am y ffaith. Nid rhyfedd fod Dr. Cunningham yn dweyd fod Calvin yn dal syniad ag sydd yn anhawdd ei wahaniaethu oddiwrth gydsylweddiad Luther. Dyma Grist yn *bresennol*, o ran ei *gorff*, yn y Sacrament gan y ddau! Ac fel y dywed Dr. Halley:—"We contend that the real presence of a body is a bodily presence, and can be nothing else." Yn wir y mae y frawddeg yn werth ei difynnu yn llawn, a chan fod Dr. James mor hoff o ddifynnu heb gyfieithu, hwyrach y caniatewch i minnau wneud yr un peth y tro hwn:—"Episcopalians speak of the body of Christ being present in some mysterious manner, which they do not pretend to explain. But this controversy has respect to a *fact*, and not to the *manner* of it. The body of Christ cannot be both present and absent at once. If it be really present, it must be present as it is, in its own nature, and not as it is not. It is essentially distinct from a spirit, and therefore its real presence is not spiritual. 'A spirit hath not flesh and bones as ye see me have.' This doctrine of a real presence which is not corporeal bears too real an affinity to the old heresy of the Phantomists The body of Christ may be figuratively said to be present when we believingly meditate upon him and so obtain spiritual blessings from his death; but to forget that in using such language we speak figuratively is to fall into great confusion of thought."

G. Rhaid i mi gyfaddef, ar ol gwrando arnoch yn nodi yr anhawsterau, y buasai yn well gennyf finnau pe buasai y Dr. yn ymgadw yn fwy clir oddiwrth y dull tywyll, amwys, a chyfriniol, o eirio, er fy mod yn cwbl gredu fod pellter de a gogledd rhwng ei syniadau ag eiddo yr Uchel Eglwyswyr.

D. Gobeithio fod. Ond y mae perygl mawr mewn defnyddio iaith fel hyn. Gall fod yn ddechreuad pethau a derfynnant yn dra niweidiol. "In the early stages of the Oxford movement (ebe Dr. Dale, *Ecclesia*, tud. 336) it was not very easy to understand exactly what was meant by those who advocated the theory of the Real Presence." Ond y mae pethau wedi newid erbyn hyn, mae yr athrawiaeth wedi "datblygu" a dyfod yn fwy cyflawn a "chyfoethog," ac medd Dr. Dale, "the hesitation and indistinctness with which the doctrine used to be stated is gone." Hwyrach y chwarddwch chwi am fy mhen pan ddwedaf fy mod yn ofni rhag i'r syniadau tywyll cyfriniol hyn gael eu derbyn yng Nghymru. Nid oes neb yn dangos y perygl mor glir, o ran hynny, a'r Dr. ei hun, pan yn olrhain y modd y cododd yr ofergoeledd Pabaidd am y Sacramentau. O'm rhan i yr wyf yn credu—ond na, gwell i mi beidio dweyd gormod o fy meddwl fy hun. A wnewch chwi ganiatâu i mi ddweyd fy meddwl trwy ddifynnu syniadau Dr. H. Sinclair Paterson yn y *Theological Quarterly* am 1881, pan yn adolygu llyfr Dr. Herbert

ar "*Uninspired teaching on the Lord's Supper.*" Gan nad oes dim enw wrth yr erthygl credwyf mai efe, fel golygydd, a'i hysgrifennodd. Dywed ei fod o bwys deall beth yw dysgeidiaeth yr Eglwys Sefydledig a'r Diwygwyr Protestanaidd ar y Sacramentau (ac yn hyn y mae yn cydolygu â Dr. James ei hun), a sylwa fod eu dysgeidiaeth yn dylanwadu yn fawr ar yr amserau yr oeddent yn byw ynddynt. Buasai yn beth gwyrthiol ymron pe buasai y Diwygwyr Protestanaidd wedi gallu cadw eu meddyliau yn glir oddiwrth hen ddiwinyddiaeth y Tadau a thraddodiadau yr Eglwys ar y pryd, a naturiol oedd iddynt geisio dangos nad oedd eu dysgeidiaeth hwy yn bell iawn oddiwrth eiddo yr eglwys. Yr oedd eu bywydau mewn perygl fel pleidwyr heresiau. Fel hyn darfu i Latimer ei hun addef fod Gwir Bresenoldeb yn y Swper. Mewn atebiad i Gardiner fod gwir gorff Crist *yn bresennol*, &c., yr oedd wedi ychwanegu "nid oes dim eisieu un presenoldeb arall ond presenoldeb ysbrydol, ac y mae hynny yn ddigon i ni fel y presenoldeb trwy yr hwn yr ydym yn aros yng Nghrist a Christ ynom ni," ond rhag ei fod wedi myned yn rhy bell, y mae yn ychwanegu, "ac fe ellir yn dra phriodol alw y presenoldeb hwn yn *bresenoldeb gwirioneddol*, oblegyd nid presenoldeb ffugiol ydyw, ond un ffyddlon a gwir." Hawdd gwybod beth oedd meddwl Latimer, ond yr oedd yr ymadroddion mwys hyn yn arwain i gyfeiliornadau maith. Mae llawer wedi bod yn honni fod Eglwys Loegr yn dal presenoldeb gwirioneddol wedi y cwbl. Felly Archesgob Wake ac Archesgob Tillotson. Nid oedd geiriad anffodus Latimer yn sefyll ar ei ben ei hun. Yr ydym yn cael fod Cranmer yn honni fod "corff Crist yn bresennol yn y rhai hynny sydd yn derbyn y Sacrament yn deilwng," ond yn ychwanegu "nid yn gorfforol, ond mewn gallu gras, rhinwedd a lles." Y mae Ridley hefyd yn dweyd fod sylwedd naturiol natur ddynol Crist yn y nefoedd, ac nid yma yn y ffurf o fara, ac eto yn yr arholiad diweddaf arno o flaen y Dirprwywyr dywed, "Yr ydych chwi a minnau yn cytuno fod gwir gorff a gwaed Crist yn y Swper; yr ydym yn gwahaniaethu yn unig am y dull a'r modd." Mor debyg, onite, i eiriau Dr. James, ac eto y mae Dr. Paterson yn eu codi fel esiampl o addefiad anffortunus a pheryglus i Cranmer ei wneud. Ond yr oedd rhyw esgus dros i Cranmer a rhai tebyg iddo fod yn awyddus i ddangos mor agos oedd ei farn ef, wedi y cyfan, i'r cyfeiliornad Pabaidd; yr oedd yn fwy tebyg o gadw ei ben. Ond y mae pen Dr. James yn ddiogel, dysged a ddysgo. Wrth sylwi ar eiriau Cranmer dywed Dr. Paterson :—"Fel hyn y mae defnyddiad geiriau amwys, cymeryd geiriau a ddeallir yn dda mewn un ystyr, a'u defnyddio mewn ystyr arall hollol wahanol, wedi gwneud mawr niwed i genedlaethau dilynol. Treiddiodd i mewn i holl ddiwinyddiaeth y Swper yn yr unfed a'r eilfed ganrif a'r bymtheg." "Mae dysgeidiaeth yr amseroedd hynny yn rhyw fath o sigliad o ochr i ochr, rhwng athrawiaeth Rhufain ac athrawiaeth y Testament Newydd. Gelwid ni i ddal (1) Fod y Swper yn aberth, ond nid yn yr ystyr Babaidd. (2) Fod y bara a'r gwin yn dod trwy gysegriad yn gorff a gwaed Crist, ond nid yn gwbl fel y dywed y Pabyddion. (3) Fod Duwdod Crist yn y nefoedd yn rhinweddol mewn undeb â'r corff a'r gwaed yn y bara a'r gwin ar yr allor, a pha beth ydyw hyn ond fod Crist yn bresennol yn ei gorff, ei enaid, a'i dduwdod, ar fwrdd y cymun?"

G. Nid ydych am awgrymu, wrth ddifynnu geiriau Dr. Paterson fel hyn fod ein Dr. ni wedi myned mor bell a hyn ?

D. Dim o gwbl ; yr wyf yn ei ddifynnu er mwyn dangos y cyfeiriad y mae geiriau tebyg i'r rhai a ddefnyddir gan y Dr. yn gwynebu arno. Ond i ddifynnu ychydig eto :—" Ac fel hyn yr oedd pethau yn myned ymlaen. Yr oedd y ddeunawfed ganrif yn un o gysgadrwydd yn hytrach na diwinyddiaeth. Er fod athrawiaeth Dr. Waterland (*A Review of the doctrines of the Eucharist*) yr hwn oedd yn un o'r diwinyddion goreu yn yr amseroedd hynny, ar lawer cyfrif yn dra chymeradwy, eto nis gallai gadw yn glir oddiwrth yr iaith niwliog oedd yn ffynnu mor gyffredin ; ac y mae yn dweyd wrthym fod corff Crist (hynny yw, fel y dywed efe ei gorff gogoneddus yn y nefoedd) yn *wirioneddol a diamheuol* yn cael ei dderbyn, ac o ganlyniad yn wir bresennol, er ei fod o ran lle yn absennol."

G. Ai nid fel yna yn hollol y mae Dr. James yn dweyd ?

D. Ië, os wyf fi yn gallu ei ddeall, ond y mae Dr. Sinclair Paterson yn dodi hynny i lawr fel athrawiaeth beryglus. Chwi welwch, gan hynny, nad wyf yn bell o fy lle pan yn cwyno oherwydd dull Dr. James o eirio. Yn wir y mae Paterson yn myned ymlaen yn hollol fel yr wyf fi wedi gwneud, ac yn ychwanegu : "Ac y mae y fath yma o ddiwinyddiaeth amwys, braidd na allaf ddweyd dwyelfenog, y dull hunanwrthwynebol, ac o ganlyniad camarweiniol, hwn o feddwl yn ffynnu yn fawr iawn yn y dyddiau hyn." Ydyw, ac os credir athrawiaeth Dr. James gan ei liaws darllenwyr Cymreig ar y Presenoldeb Gwirioneddol, bydd yn ffynnu yn fwy. Nis gallaf ymatal rhag difynnu y frawddeg nesaf, oblegyd er ei bod yn llawer cryfach nag y buaswn i yn meiddio ei defnyddio, eto gan ei bod yn y fath gyhoeddiad clodwiw a'r *Theological Quarterly*, nid oes niwed mewn adrodd barn un Dr. am syniadau cyffelyb i eiddo Dr. arall. Meddai Paterson : "Y mae llawer o bobl Gristionogol, yn y weinidogaeth ac allan o honi, dynion y rhai ymhob modd arall ydynt yn hyddysg mewn gwybodaeth Fiblaidd, ac yn meddu syniadau clir am wirionedd efengylaidd, eto heb fod yn rhydd oddiwrth ddylanwad y ddysgeidiaeth amhenodol, ansefydlog, ac aflonyddol hon, ac erioed wedi ennill dealltwriaeth glir, syml ac uniawn ar yr pwnc, yr hon a allent ei hennill o'r Testament Newydd oni buasai am ddylanwad gwrthweithiol traddodiadau dynion." Yna y mae yn nodi fel y mae ffrwd o opiniynau traddodiadol wedi rhedeg yn gyfochrog â'r Bibl o amser y Diwygiad Protestanaidd hyd ein dyddiau ni, ar y pwnc pwysig hwn, ac fel y mae hen syniadau cyfeiliornus yn glynu wrth y bobl o oes i oes, nes y maent wedi rhoddi bod i Ddefodaeth. Trwy ddylanwad cyfeiliornadau am y Swper Sanctaidd y mae y rhai sydd yn gweinyddu o'r diwedd yn dod i edrych arnynt eu hunain fel yn perthyn i ryw urdd gysegredig gwahanol i Gristionogion cyffredin, oblegyd y maent yn trin gwasanaeth ag y mae rhyw ddirgelwch cyfriniol arbennig yn perthyn iddo. Maent yn gwneud hynny pan y mae y Cristion cywir yn teimlo ysbryd defosiwn yn ei feddiannu yn hytrach na bod y deall mewn llawn gwaith. Edrychir gan hynny ar y gweinyddwr fel un yn sefyll mewn lle sanctaidd a chysegredig, ac heb yn wybod iddo ei hun y mae yn dod yn fath o offeiriad, er ei fod yn gwybod yn dda fod pob gwir Gristion yn offeiriad

o dan yr oruchwyliaeth hon, a chanddo hawl i fyned at Dduw yn ddigyfrwng i'r cysegr sancteiddiolaf.

G. Mae Dr. James yn dal yn bur eglur nad oes dim yn y Testament Newydd yn ei wneud yn wir angenrheidiol fod gweinidog ordeiniedig yn bresennol i weinyddu y Cymun, ac y mae yn berffaith rydd oddiwrth bob peth sydd yn ymylu ar offeiriadaeth, hyd yn oed pe byddech chwi, sydd mor elynnol i offeiriadaeth o bob math, yn farnwr.

D. Yr oedd yn dda gennyf weled fod y Dr. mor ryddfrydig yn cydnabod hynny. Beth ydyw tuedd naturiol yr olwg y mae efe yn ei chymeryd ar y swydd weinidogaethol sydd gwestiwn arall. Buasai yn dda gennyf gael tipyn o ymgom ar syniadau y Dr. ar y darn yma o'i lyfr, sef ar y Weinidogaeth, ryw noson arall os cawn gyfleusdra, ond rhaid i ni adael hynny yn awr. Ond er mor eangfrydig ydyw y Dr. ar y pwnc o weinyddiad y Swper, nid yw pob gweinidog ordeiniedig felly ychwaith. Yr wyf yn bur siwr fod llawer o Gristionogion da yn ein mysg na dderbyniant yr elfennau o law neb ond y gweinidog. Pan fydd ambell i weinidog yn estyn y cwpan, ac yn amneidio ar iddo gael ei basio at y nesaf, gwelais lawer gwaith yr un a estynnid y cwpan iddo yn gomedd ei dderbyn Yr oedd yn rhaid ei gael o law gysegredig y gweinidog. A chredaf fod llawer gweinidog yntau yn teimlo yr un fath. A gaf fi adrodd hanesyn bach wrthych sydd yn dangos fod hyd yn oed Gweinidogion Methodistaidd yn bod sydd ymhell o fod mor eangfrydig a goleuedig a Dr. James yn eu syniadau ar y mater hwn. Yr wyf yn cofio bod mewn Cyfarfod Misol amser maith yn ol, pan y daeth cenadwri oddiwrth un o'r eglwysi mwyaf yn gofyn am gyfarwyddyd o dan yr amgylchiad a ganlyn :—Yr oedd yr eglwys mor fawr fel yr oedd yn anhawdd iawn gweinyddu y Cymun i'r holl aelodau heb iddi fyned yn anghyfleus o hwyr, rhy hwyr yn wir i lawer o ferched gweini aros hyd y diwedd. Yr oeddid wedi arfer cael gweinidog o gapel arall cyfagos, ac weithiau o enwad arall, i ddilyn y gweinidog gyda'r gwin fel ag i fyned trwy y gwaith yn gynt. Y gofyniad oedd, a ydoedd rhyw wrthwynebiad i un o'r diaconiaid gyflawni y gwaith hwnnw, pan fyddai yn amhosibl cael gweinidog? Dadleuwyd y cwestiwn *pro and con* fel y dwedir. Cofier fod rhai o brif weinidogion y Corff yn bresennol, dynion dysgedig, rhai wedi ysgrifennu esboniadau ar rannau o'r Testament Newydd. Dadleuai rhai fod y Methodistiaid wedi bod bob amser yn bur ystwyth ar faterion fel hyn, ac wedi cyfaddasu eu hunain yn hwylus bob amser at yr amgylchiadau. Yn anffodus nid oedd neb ar y pryd yn ddigon enwadol fel ag i feddu copi o *Gyffes Ffydd* y Corff yn ei logell fel y gellid troi ato i wybod beth oedd geiriad yr erthygl ar Weinyddiad yr Ordinhad. Y perygl a welid oedd os caniateid y cyfnewidiad y gallai gael ei sefydlu fel *precedent*. Yr wyf yn cofio yn dda fod un brawd ieuanc wedi codi, a siaradai gyda difrifoldeb ag oedd i mi ar y pryd yn creu syndod, os nad yn ymylu ar y digrifol, wrth gofio nad oedd wedi cael y fraint o weinyddu yr Ordinhad ei hun ond ers ychydig amser. Dywedai ei fod ef yn gwbl groes i ganiatau y fath ryddid ag a ofynnid. Yr oedd yn gweled perygl mawr yn y peth. "Mi allaf fi (meddai) ddychymygu *case* fel hyn. Gweinidog ordeiniedig wedi ei gyhoeddi i bregethu ac i weinyddu yr Ordinhad; ond oherwydd amgylchiadau yn cael ei luddias i fod yn

bresennol. Yr oedd y "pen blaenor" wedi arfer myned â'r cwpan o gwmpas ar ol y gweinidog, ac oherwydd hynny beth oedd yn debyg o rwystro iddo fyned â'r *ddwy* elfen o gwmpas, a rhyfygu myned trwy yr holl wasanaeth heb weinidog ordeiniedig!" Mentrodd un brawd ddatgan syniadau tebyg i syniad iachus Dr. James ar y cwestiwn hwn, sef y gellid casglu fod y disgyblion ar y cyntaf yn "torri bara" yn eu tai eu hunain yn aml, feallai bob dydd, yr hyn yn siwr ni allai fod pe buasai trefn o fath yr un a enwyd yn wybyddus (tud. 398), "ac nad oedd un gorchymyn yn y Testament Newydd i'w gael yn cyfyngu y gwaith i weinidogion," ac mai pwnc o reol a threfnusrwydd oedd y cwbl. Ond nid oedd hynny yn ymddangos yn ddigon o reswm; gohirwyd y mater hyd y cyfarfod dilynnol, a phan ddeallwyd beth oedd dysgeidiaeth Llyfr y *Gyffes Ffydd*, barnwyd mai doeth oedd peidio pasio un penderfyniad ar y mater o gwbl. Bellach, os wyf yn clywed yn iawn, mae y peth wedi dyfod yn arferiad, ac y mae yr Eglwysi, pan fydd angen am hynny, wedi "ildio i ddynoliaeth a synwyr cyffredin," chwedl Dr. James. Pam yr wyf wedi adrodd yr hanesyn hwn? Yn unig i ddangos fel y mae hyd yn oed gweinidogion yr efengyl wedi myned i gysylltu rhyw gysegredigrwydd â'r Ordinhad hon nad ydyw i'w ganfod yn y Testament Newydd, cysegredigrwydd sydd yn peri nad oes neb i gyffwrdd â hi ond dynion yn perthyn i urdd arbennig, ac y byddai dwylaw y rhai di-urddau, er mor sanctaidd y gallant fod ymhob modd arall, ond fel dynion halogedig yn cyffwrdd âg Arch Duw. Yn y modd yma yr aeth y tadau boreuol i siarad am yr elfennau yn y Swper yn "*awful mysteries.*" "Even in the second century" (ebe Dr. Cunningham), we find plain indications of a tendency to speak of the nature, design, and effects, of the Sacraments in a very inflated and exaggerated style," ac felly hefyd y byddai y Diwygwyr Protestanaidd, fel y dywed yr un awdwr dysgedig. A'm cwyn i yw mai felly hefyd y mae Dr. James. Ymddengys i mi fel yn *cychwyn* yng nghyfeiriad Uchel Eglwysyddiaeth, a byddai yn wir ddrwg gennyf weled gweinidogion dysgedig Cymru Ymneillduol yn camu yn y cyfeiriad hwn wrth drin ar Swper yr Arglwydd. Y camrau Uchel Eglwysig eithafol ydynt y rhai canlynol:—1. Cymeryd y geiriau "Hwn yw fy nghorff" a "Hwn yw fy ngwaed" fel yn cynnwys y prif, os nad yr holl wirionedd am y Swper Sanctaidd, gan anwybyddu yr amgylchiadau, a'r geiriau ereill a lefarodd yr Iesu pan yn ei ordeinio. 2. Cymeryd geiriau Crist yn y chweched bennod o Ioan, "Bwyta cnawd Mab y dyn," &c., fel yn cynnwys yr un gwirionedd ag sydd yn, os nad yn cyfeirio yn uniongyrchol at y Swper, gan anwybyddu y profion sydd yn yr amgylchiadau ac yng ngeiriau Crist ei hun, nad oedd y geiriau i'w hesbonio yn llythyrennol. 3. Edrych ar y Cymun nid fel coffadwriaeth am ddrylliad corff, a thywalltiad gwaed ein Ceidwad pan ar y groes gymaint, ond fel cyfleustra i ymborthi, mewn rhyw fodd anesponiadwy. ar *gorff a gwaed* Crist, fel y mae yn awr, yn ei *ddynoliaeth* a'i Dduwdod, ar ddeheulaw y Tad. 4. Wrth gwrs, fel canlyniad, fod Crist yn ei *ddyndod* a'i Dduwdod yn "bresennol" ymhob Cymun ar y ddaear, ac felly fod corff ysprydol Crist, mewn rhyw fodd anesboniadwy eto, yn hollbresennol. Wedi cael Crist *fel hyn* yn "bresennol," nid anhawdd ydyw cymeryd y camrau nesaf, sef. 5. Ymgrymu mewn addoliad pan

ddyrchefir yr elfennau, a derbyn yr holl athrawiaeth Babaidd sydd yn dilyn. Nis gallaf ddwyn fy hun i dderbyn athrawiaeth, pa mor "gyfoethog" a "chyflawn" bynnag y dichon fod, a'n harweinia yn y cyfeiriad hwn, gan ein bod yn gweled ymha le y mae yn terfynu. Mae Dr. Owen Thomas yn sylwi mai "geiriau anochelgar ac anysgrythyrol y tadau a rwyddasant y ffordd i holl anferthwch Rhufain?" ac mai "nid ychydig oedd y coelgrefydd a ddygwyd i mewn gyda'r dyb fod corff a gwaed naturiol Crist yn bresennol, nid yn arwyddol, *ond mewn rhyw ystyr arall*, yn y Swper Sanctaidd."

Onid ydyw yn resyn mewn difrif fod Ordinhad mor syml, ond i ni gadw at y Testament Newydd, ordinhad sydd wedi bod yn foddion gras ac yn gyfrwng cymundeb â Duw trwy farwolaeth ei Fab i'r cymunwr ffyddiog ymhob oes, eto wedi bod am ganrifoedd yn cael ei chymylu gan gynifer o gwestiynau cywrain a dirgelwch ysgolheigaidd? Gan nad yw dysgeidiaeth y Tadau, y Diwygwyr Protestanaidd, y Credöau Eglwysig na thraddodiadau, er mor "unol, cyson, a diamwys" y gallant fod, i gael edrych arnynt fel awdurdodau anffaeledig, onid gwell i ni dalu llai o sylw iddynt a dychwelyd at y Testament Newydd, yr unig wir awdurdod ar bob cwestiwn o'r fath ag a drinir yn llyfr Dr. James?

Ond cyn dweyd nos dawch—yr wyf wedi bod yma yn rhy hir o lawer—gadewch i mi ddweyd fy mod yn teimlo yn hollol fel Dr. James ei hun pan y mae, ar tud. 296, yn cyfeirio at y Cymuno bendigedig o dan weinidogaeth (pam y mae y Dr. yn defnyddio y gair "offeiriadaeth" yn y fan hon tybed?) y gwŷr enwog ac anwyl y mae efe yn cyfeirio atynt, ac yn arbennig y diweddar Henry Rees. O, y fath Gymuno digyffelyb! Y modd yr arweinid ni o ran ein meddyliau at y "nos y bradychwyd Ef!" Fel yr oedd ein calonnau yn toddi "wrth gofio'i ruddfanau yn yr Ardd." Fel yr oedd ein heneidiau yn "socio" (chwedl William Roberts, Amlwch), wrth ganu "Daeth trwy, fy Iesu glân a'i farwol glwy." O, yr wyf yn teimlo y funud hon ——. [Yma fe aeth Diacon i'r hwyl, llanwyd ei lygaid gan ddagrau, a methodd fyned yn ei flaen. Sychodd ei lygaid, dywedodd "Nos dawch" yn sydyn, ac ymaith ag ef. Yn wir, yr oedd tipyn o leithder yn nghil llygad y Gweinidog hefyd, ac nid oes arnaf gywilydd cyfaddef fod rhywbeth tebyg wedi digwydd i minnau].

ELEAZAR ROBERTS.

*Hoylake,*

*Rhagfyr*, 1898.

O.Y. Gan fod Diacon, oherwydd ei deimladau drylliog, wedi methu rhoddi y desgrifiad yr oedd wedi ei fwriadu o un o'r nosweithiau Cymun bendigedig hynny yr oedd yn teimlo mor gynnes ei ysbryd wrth eu hadgofio, hwyrach y caniateir i mi geisio gwneud hynny yn ei le. Clywais ef unwaith yn adrodd y modd y byddai y diweddar Henry Rees yn gweinyddu y Cymun. Wrth Sais crefyddol yr oedd yn dweyd yr hanes, ac yr oedd ei ddesgrifiad mor fyw, ac mor lawn o deimlad, fel yr oedd y dagrau yn cronni yn barhaus yn llygaid y Sais wrth

wrando, ac yn disgyn dros ei ruddiau, er ei waethaf. Rhywbeth yn debyg i hyn oedd y desgrifiad. Yr wyf yn gorfod ei gyfieithu, ac nid yw yn agos mor fyw ag ydoedd pan oedd y Diacon ei hun yn adrodd yr hanes; ond hwyrach y bydd yn ddyddorol, fel y mae, i rai o ddarllenwyr y TRAETHODYDD na chawsant y fraint erioed o fod yn bresennol pan fyddai Henry Rees yn cymuno. Meddai :—

"Na, nid anghofiaf byth mo'r nosweithiau Sabothol hynny y byddai Henry Rees yn cymuno. Nad oes eisieu dweyd wrth un Cymro fu yn byw yn Liverpool pwy oedd Henry Rees. Dowch gyda mi i hen gapel Pall Mall Y mae Mr. Rees wedi bod yn traddodi un o'r pregethau seraphaidd hynny ag oedd yn codi y gynulleidfa o honynt eu hunain i ganol y byd mawr ysbrydol. Mae llïaws o'r gynulleidfa yn ymwasgaru. Rhai yn myned allan, ond y rhan fwyaf yn newid lle yn unig. Y cymunwyr yn dod ar lawr y capel, yr edrychwyr i fyned i'r llofft. Yr oeddwn innau y pryd hwnnw yn llencyn ymysg yr edrychwyr. Gadewir bob yn ail sêt yn wag hyd y gellid, er mwyn i'r gweinidog rannu yr elfennau. Wedi i bawb ymlonyddu y mae Mr. Rees yn cerdded yn araf i lawr grisiau y pulpud. Mae golwg wir nefolaidd arno. Mae hen flaenor yn codi i ofyn a ydyw pawb yn aelodau eglwysig, ac yn gymunwyr; os oedd rhai nad oeddent, am iddynt fyned i'r llofft. Mae yn edrych i fyny ac yn erfyn ar y plant sydd yno i fod yn berffaith ddistaw. Ond prin yr oedd angen am hynny, pan fyddai Mr. Rees yn gweinyddu. Yr oedd pawb—hyd yn oed y plant—wedi eu difrifoli gan y bregeth, a'r wedd ryfedd oedd ar bawb mewn canlyniad iddi. Y mae distawrwydd llethol yn meddiannu pawb. Mae llygaid yr holl gynnulleidfa ar Mr. Rees. O'r diwedd y mae yn codi yn araf. Er mwyn canfod yr effaith, dylech fod wedi gweled Mr. Rees. Buasai yn eich taro fel dyn anghyffredin pe na buasech ond yn ei ganfod ar yr heol, yng nghanol y llïaws. Ond pan y mae yn sefyll yn awr ger bron y gynulleidfa fawr yna, ac yn edrych yng ngwynebau difrifol y rhai sydd ger ei fron, y mae golwg nefolaidd arno. Os bu neb erioed ar y ddaear yn deilwng o'r enw "Sant," yr oedd Henry Rees. Edrychwch ar ei gorff tàl lluniaidd, y cudynau gwallt teneu ariannaidd oedd yn hongian ar ddau tu ei ben moel, ei dalcen uchel, crwn a bwäog. Edrychwch arno. Y mae defosiwn ym mhob llinell o'i wynebpryd. Ni fuasai un arlunydd ag a fyddai yn awyddus i gael model i dynnu darlun o Sant yn dymuno cael un gwell na'r un sydd yn sefyll yn awr o'n blaen. Mae yn traddodi anerchiad byr i'r cymunwyr. Mae yn siarad yn dawel a dwys ddifrifol, ac yn defnyddio iaith goeth a melusber. Ië, chwi ellwch chwi y Saeson feddwl nad oes dim byd melus melodaidd yn yr iaith Gymraeg, ond yr ydych yn camgymeryd yn fawr. Y mae yn ein harwain at y "nos y bradychwyd Ef:" yr ydych yn gweled Crist gyda'i ddisgyblion yn croesi afon Cedron yng nghysgod yr Olewydd ar noson llawn lloer, yr ydych yn myned i ardd Gethsemane ac yn dystion o'r ing ofnadwy! Mae gwynebau y cymunwyr i gyd wedi eu dyrchafu, y maent, er wedi sefydlu eu llygaid ar Mr Rees, o ran eu meddyliau yn nghwmni yr Iesu ar y nos bythgofiadwy honno. Chwi ellwch glywed eu hocheneidiau dirwasgol, a'u Hamenau achlysurol. Ar ol yr anerchiad byr hwn, y mae y gweinidog yn dyrchafu ei ddwylaw ac yn dweyd "gweddïwn," ac yn myned ar ei liniau. Mae pawb yn

plygú ei ben, ac y mae yn dda gan lawer o honynt gael y cyfleusdra i sychu ymaith y dagrau ag oedd wedi gwlychu eu gruddiau. Yr oeddym ni yn y *gallery* yn methu tynnu ein llygaid oddiar y gweinidog—yr oedd fel un wedí ei weddnewid. Os oedd ei wyneb yn adlewyrchu defosiwn o'r blaen, y mae fel wedi ei ysbrydoli yn awr. O! 'r fath weddi! Plentyn sydd yna yn pledio gyda'i Dad am faddeuant yn haeddiant y Brawd hynaf. Nid oes dim codi ar y llais, dim ymdrech ymddangosiadol, ac eto mae y chwys yn diferu i lawr ei ruddiau, ac yn disgyn yn ddiferynnau mawrion ar y sêdd o'i flaen. Dyn sydd yna mewn ymdrech â Duw. Ac i ychwanegu yr effaith y mae tôn ei lais yn fwynaidd a thyner tu hwnt i bob desgrifiad. Mae yn chwareu yn y cywair lleiaf—ar drydydd a phumed y cyweirnod mewn modd ag sydd yn meddu swyn arbennig i Gymro. Clywch, y mae yn myned dros rai o adnodau Salm edifeiriol Dafydd. Mae yn gwneud cyffes o'i bechodau ar ei ran ei hun a'r bobl. "Yn dy erbyn di, tydi dy hunan y pechais, ac y gwneuthom y drwg hwn yn dy olwg." "Glanha fi âg isop a mi a lanheir," ac yna yn codi o'r cyweirnod lleiaf i'r pumed ac yn dolefain, "Crea galon lân ynof, O Dduw, ac adnewydda ysbryd uniawn o'm mewn." Mae'r bobl, er nad yn glywadwy, fel yn cydweddïo gydag ef; yr oeddem ni yn y llofft fel yn clywed eu hocheneidiau fel mwg arogldarth yn dyrchafu i'r nefoedd. Na, nid oedd yma ddim ffurfioldeb yn siwr i chwi. Mae y weddi ryfedd drosodd. Mae Mr. Rees yn codi, mae yn cyfranogi yn syml o'r elfennau ei hunan, ac yna yn cychwyn yn frysiog i rannu yr elfennau. Mae drysau y seti yn cael eu hagor gan y blaenor sydd yn ei ddilyn, mae yntau yn cymeryd nifer o'r darnau bara i'w ddwrn ac yn eu rhoddi o un i un i'r cymunwyr. Yr oedd bron bob amser yn defnyddio ffurfeiriau Eglwys Loegr. "Cymer a bwyta hwn, er cof farw o Grist drosot, ymborth arno trwy ffydd yn dy galon a bydd ddiolchgar." Fel hyn yr elai yn frysiog dros y gynnulleidfa gan adrodd darnau o adnodau gyda theimlad ag oedd yn dwyshau ac yn nawseiddio teimladau pawb. Ar ol darfod gyda'r bara y mae yn cymeryd y cwpan, gan ddefnyddio geiriau ffurfiol fel o'r blaen, a hynny yn bur fynych. Ond yr oedd yn hawdd deall fod yn ei feddwl ffrwd o feddyliau a theimladau o dan y geirau ffurfiol hyn. Aroswch! dacw fe yn sefyll yn un o'r seti yng nghanol y llawr. Mae wedi rhoi y cwpanau yn nwylaw y cymunwyr; maent hwythau yn eu hestyn iddo; ond y mae Mr. Rees wedi ymgolli mewn myfyrdod. Mae yn anghofio eu cymeryd o'u llaw. Maent hwythau yn eu dodi i orphwys ar ymyl y set gan ddal gafael ynddynt eu hunain. Mae eu llygaid wedi eu sefydlu ar Mr. Rees,—mae y "dagrau melus iawn" yn disgyn ar hyd eu gruddiau, mae efe yn eu galw i gael cipolwg ar yr amser y byddent yn lân oddiwrth eu pechodau yn rhinwedd gwaed yr Oen. O ïe, nid dyheuad mawr Mr. Rees oedd am gael myned yn ddiogel i'r nefoedd, yn "iach heb boen na braw," ond cael bod yn sanctaidd, yn bur, yn lân. Edrychwch arno yn awr; ei ben dyrchafedig, y wyneb siriol sanctaidd; clywch seiniau tyner ei lais wrth ddesgrifio yr amser y byddai yr hen bechaduriaid oedd ger ei fron ar ol cael eu golchi yn y gwaed, yn cael eu gwneud yn "gwbl lân" a bod yr "un ffurf a delw ei Fab ef." "Beth meddwch chwi, frodyr, cael bod yr un ffurf a delw ei Fab Ef?" Mynychir y geiriau, a

phob mynychiad yn codi oddiar deimladau dyfnach, ac yn myned yn ddyfnach i galonnau y cymunwyr. Mae'r ddau hen sant sydd yn dal y cwpanau ar ochr y sêt, a'u llygaid yn llawn dagrau, eto yn serennu gan lawenydd, yn amlwg yn y nefoedd ers meityn. Maent yn gweld y Brenin yn ei degwch. Maent yn canfod y "gwir bresenoldeb," nid oes un amheuaeth, ac yn hiraethu am y pryd y cyrhaeddant fesur oedran cyflawnder Crist. Mae Mr. Rees am gymeryd y cwpanau o'u dwylaw, ond y mae yn canfod gwynebau hanner ysbrydoledig y ddau hen sant, ac yn cael ei danio eilwaith â'r testun oedd ganddo, "Cewch, cewch, chwi gewch fod yn lân frodyr, yn *lân*, yn *lân*," ac yna y mae yn byrlymu llu o adnodau a meddyliau allan nes mae'r holl gynnulleidfa yn llawn teimlad Mae wedi rhedeg fel trydan trwy bob calon. Mae yn cipio y cwpanau o law y ddau gymunwr, ac yn prysuro gyda'r cyfrannu. "Canwch y pennill yma"

'Ymadaw wnaf â'r babell,'"

ac yna y mae yn myned dros y pennill. Pan yn dod at y geiriau

"A pob gwahanglwyf ymaith"

gan ddal y cwpanau yn uchel, a'u hestyn ar hyd braich, y mae yn ail dorri allan i draethu ar y testun nes mae y teimlad yn myned yn ddyfnach nag erioed. Mae wedi cael gafael ar wythïen o feddwl a theimlad ag y mae yn methu gollwng gafael o honi. O'r diwedd fe darewid y dôn—yr enw Jabez neu Caerllyngoed. Ac O'r fath ganu! Dyblir a dyblir, a dyblir drachefn. Mae Mr. Rees wedi myned trwy ei waith, ond nid yw y bobl wedi darfod canu. Mae pawb ar ei eistedd, ac fe ellid meddwl fod teimladau y llïaws yn dechreu tawelu, ond fe ail ddechreuir gan rhyw frawd

"A pob gwahanglwyf ymaith"

a chenir y geiriau drachefn. Wedi darfod canu mae y weddi yn canlyn. Pwy a all ei desgrifio? Yr ydych yn teimlo eich bod wedi dod i fynydd Seion, i "gymanfa a chynnulleidfa y rhai cyntaf-anedig, at Iesu, Cyfryngwr y Testament Newydd, a gwaed y taenelliad yr hwn sydd yn llefaru pethau gwell nag eiddo Abel."

Pan oedd Diacon yn meddwl am gymuno fel hyn, nid rhyfedd ei fod wedi ei orchfygu gan ei deimladau.

E. R.

## BYWYD DR. DALE.

THE LIFE OF R. W. DALE, of Birmingham. By his Son, A. W. W. Dale. With Portrait. London: Hodder and Stoughton, 1898.

O HOLL weinidogion Ymneillduol Lloegr, yn ystod y deng mlynedd ar hugain diweddaf, nid oedd ond un yn unig yn fwy poblogaidd ymysg

y Cymry na Dr. Dale. Yr un hwnnw oedd Mr. Spurgeon. A theimlid rhyw agosrwydd at Dr. Dale na theimlid hyd yn oed tuag at Mr. Spurgeon. Yn ei flynyddau diweddaf yn arbennig gwnaeth ei hun i fesur helaeth yn un o honnom. I Ffrainc y diangai Mr. Spurgeon yn gyfnodol am orffwystra i gorff a meddwl; ond i Gymru yr hoffai Dr. Dale redeg am ychydig seibiant, pan y byddai hynny yn bosibl iddo. Yn ystod ei ymweliadau gwnaeth lawer o gyfeillion mynwesol yn ein mysg, a daeth i deimlo dyddordeb dwfn ynom fel cenedl; ac y mae yn amheus gennym a ddeallwyd crefydd Cymru yn well erioed gan unrhyw Sais nag y gwnaed ganddo ef. Mynnodd wybod pa beth yw y "Seiat Brofiad" trwy fyned iddi; mynnodd olwg ar faes y Gymanfa, er cael allan, cyn belled ag yr oedd hynny yn bosibl i un heb ddeall yr iaith Gymraeg, pa beth yw y swyn sydd i'r Cymry mewn pregethu yn yr awyr agored; mewn gair, nid esgeulusodd unrhyw gyfleustra o fewn ei gyrraedd i ddeall yn drwyadl fywyd crefyddol Cymru ymhob agwedd arno. Ac wedi ei ddeall, ni phetrusodd ddatgan ei edmygedd o honno. Ac nid yw yn amhosibl nad oedd rhywbeth a fynnai y ffeithiau hyn â'r lle mawr oedd iddo ym meddwl ac yn serch y genedl Gymreig.

Byddai yn hawdd nodi rhesymau ereill: ac un o'r cyfryw ydoedd ei fod yn gymeriad aml-ochrog—yn ŵr a ragorodd mewn amryw gyfeiriadau. Ychydig a ŵyr Cymru hyd yma am *specialists;* nid ydyw ei hamgylchiadau yn caniatau i'w meibion gyfyngu eu hunain at un peth. Dichon mai dyna y rheswm paham na buasem wedi dringo yn uwch fel cenedl mewn rhyw gyfeiriadau, ond y mae y rheswm a gafodd ei fod mewn angenrhaid anocheladwy. Ar y cyfan, y dynion sydd wedi gwneuthur y gwasanaeth goreu i Gymru ydyw y dynion a allant wisgo amryw gymeriadau, ac ymddangos yn weddol barchus ynddynt oll. Gyda ni nis gall dyn fforddio bod yn fardd, a dim ond bardd; yn gerddor, a dim ond cerddor; neu yn llenor, a dim ond llenor. Y rheol ydyw fod y bardd neu y cerddor neu y llenor yn bregethwr hefyd. Ac yn fynych y pregethwr a elwir i fod yn arweinydd gwleidyddol yn ei gylch. A phwy a ddichon draethu gwerth y dynion hyn, yn arbennig yn yr amser aeth heibio? Bydd enwau llawer o honynt yn barchus byth: dynion fel Hiraethog, Ieuan Gwyllt, Dr. John Thomas, Dr. Herber Evans, Thomas Gee, ac ereill, y rhai a feddent y ddawn i ragori mewn llawer o wahanol gylchoedd. Wrth ddarllen arwyddion yr amserau, nid ydyw yn anhawdd gweled fod cyfnewidiad gerllaw; hyd yn hyn, pa fodd bynnag, y mae i'r cymeriad aml-ochrog le parchus ym mywyd Cymru. A thybiwn fod Dr. Dale yn sefyll yn uchel yn ein golwg am ei fod lawn mor rymus ar y llwyfan gwleidyddol ag ydoedd yn y pulpud; mor ddeheuig wrth ymwneud â materion dinesig yn Birmingham ag ydoedd wrth drafod achosion Colegau Spring Hill a Mansfield. Ac ynddo ef nid oedd y dinesydd na'r gwleidyddwr yn gwneuthur unrhyw niwed i'r pregethwr; i'r gwrthwyneb, yr adegau mwyaf llwyddiannus ar ei weinidogaeth oeddynt yr adegau y taflai fwyaf o'i ynni, ac y cysegrai fwyaf o'i amser, i waith ar y llwyfan.

Nid ydym mewn mantais i wybod pa nifer o'i lyfrau sydd yn boblogaidd yn Nghymru; ond y mae yn gwbl sicr gennym nad oes

ond ychydig iawn o bregethwyr gydag unrhyw enwad nad ydynt yn gydnabyddus â'i ddarlithiau ar yr Iawn. A gellir dywedyd yr un peth am y blaenoriaid, ac am athrawon yr Ysgol Sabothol: y rhai sydd yn darllen llyfrau Seisnig o gwbl, y maent ymron oll yn gyfarwydd â'r darlithiau hyn. Ac yr oedd miloedd yn ddiau yng Nghymru, er pan fu farw Dr. Dale, yn dysgwyl yn awyddus am ymddangosiad ei Fywgraffiad, er mwyn cael ei adnabod yn well nag yr oedd yn bosibl iddynt hwy ei adnabod yn ystod ei fywyd. A chredwn hefyd y byddai yn dda gan lawer o ddarllenwyr Cymreig, y rhai nad yw y Bywgraffiad, o ran ei bris, o fewn eu cyrraedd, gael mantais trwy ryw foddion i gyrraedd rhyw syniad, er iddo fod yn dra anghyflawn, am ei gynnwys. Dan ddylanwad y grêd hon yr ydym wedi ymgymeryd â'r gorchwyl o geisio rhoddi amlinelliad byr, trwy gymhorth y bywgraffydd, o'r prif ffeithiau yn hanes Dr. Dale, a chyflwyno rhyw ddrychfeddwl am ei gymeriad a'i waith. Pan ddywedir fod y Bywgraffiad yn gyfrol drwchus o saith gant a hanner o dudalenau wythplyg, gwelir ar unwaith nad ydyw y gorchwyl yn un hawdd. Darllenasom y gyfrol drwyddi gyda gwir hyfrydwch. Anhawdd fyddai defnyddio iaith rŷ gref am ei theilyngdod llenyddol. Y mae arddull yr awdwr yn odidog; nid oes frawddeg wan o fewn y gyfrol. Nid ymddangosodd yn ddiau fywgraffiad rhagorach ers llawer o flynyddoedd. O ran ei gynllun ymddengys i ni yn berffaith; ac y mae gweithiad allan y cynllun mor berffaith â'r cynllun ei hun. Mab Dr. Dale, fel y mae yn hysbys, yw yr awdwr. Nid yw yn ysgrifennu am dano fel "ei dad" ond yn y Rhagymadrodd yn unig; "Dale" y geilw ef o'r dechreu i'r diwedd. Ac amhosibl, feallai, fuasai iddo ddisgyn ar ddull mwy priodol. Profa ei hun yn gwbl gyfarwydd â holl fywyd yr Eglwysi Anibynnol; a hawdd ydyw gweled fod ynddo y cydymdeimlad dyfnaf âg ef. Trodd unig frawd Dr. Dale yn Eglwyswr; ond y mae ei fab, er yn treulio ei fywyd yng Nghaergrawnt, yn Anibynnwr trwyadl, ac yn un o'r diaconiaid yn Eglwys Dr. Forsyth. Ac y mae ei ddoethineb fel bywgraffydd mor amlwg a'i wybodaeth Nid ydyw wedi cadw dim yn ôl ag y buasai yn ddymunol ei ddwyn i mewn; nid ydyw wedi ceisio osgoi y pethau anghysurus yng ngyrfa Dr. Dale; ond wrth eu trafod y mae wedi dangos y lledneisrwydd a'r tegwch mwyaf perffaith. Gwynfydedig yw y gŵr a adawodd ar ei ol fab yn meddu cymhwysterau mor helaeth i ddwyn allan ei Fywgraffiad.

Estynwyd iddo gymhorth gwerthfawr gan amryw o hen gyfeillion Dr. Dale,—Dr. Guinness Rogers, Dr. Fairbairn, Mr. J. Thackray Bunce, Golygydd y *Birmingham Daily Post.* Y mae erthygl Dr. Fairbairn ar Dr. Dale fel diwinydd, ac adgofion Dr. Rogers am dano mewn amryw gysylltiadau, ymysg y pethau mwyaf dyddorol yn y gyfrol. Ond y peth goreu oll yn y Bwygraffiad yn ddiau ydyw fod yr awdwr wedi caniatau i Dr. Dale ei hun gyfleusterau mor fynych—trwy lythyrau, a thrwy ddyfyniadau helaeth o'i areithiau, o'i erthyglau, ac o'i lyfrau—i draethu ei syniadau a'i deimladau, yn gystal ag i adrodd hanes ei symudiadau.

Yn Llundain y ganwyd Dr. Dale, ar y dydd cyntaf o Ragfyr, 1829; ond yr oedd yn ei wythïenau o du ei dad ryw gymaint o waed rhai o breswylwyr yr Isel-diroedd ar y Cyfandir. Enw ei dad oedd Robert

Dale, ac enw ei fam oedd Elizabeth Young. Ni chafodd y naill na'r llall lawer o fanteision addysg; ac nid oedd eu hamgylchiadau ond cyffredin. Yr oeddynt ill dau yn aelodau o'r Eglwys Annibynnol yn y Tabernacl, Moorfields, sylfaenydd yr hon oedd George Whitefield. Ganwyd iddynt chwech o blant, ond dau o honynt yn unig a dyfodd i fyny i oedran gwŷr. Yr hynaf o'r ddau hyn oedd Robert William, sef Dr. Dale, ac yr oedd yr ieuengaf, Thomas, ddeng mlwydd yn ieuengach nag ef. O'r cychwyn uchelgais y fam oedd gweled ei mab hynaf,—"Bobby," fel y galwai ef,—yn weinidog yr efengyl. "Er mwyn hyn," meddai y Parchedig James Key, "yr oedd yn byw, am hyn y gweddïai yn ddibaid, am hyn y llafuriai, ac er mwyn hyn yr oedd yn barod i wneuthur unrhyw aberth. Ar ei enedigaeth cyflwynodd ef i'r Arglwydd, a gwyliodd drosto yn feunyddiol gyda gweddi ddyfal a difrifol"

Anfonwyd ef i'r ysgol yn gynnar, a'i athraw cyntaf oedd un Mr. Wilby, yr hwn y teimlai ei hun yn dra rhwymedig iddo hyd ddiwedd ei oes. Pan oedd yn ddeng mlwydd oed anfonwyd ef i ysgol yn Rayleigh, yn Swydd Essex; ond colled yn hytrach na mantais iddo a fu y symudiad hwnnw. Yn ei drydedd ysgol, gyda Mr. John Tyson Willey, yn 3, Christopher Street, Llundain, bu yn llawer mwy ffodus, er nad oedd honno ychwaith heb ei diffygion. Dysgodd lawer ynddi oddiwrth yr athraw, yr hwn a feddai graffter neillduol i adnabod gogwydd meddyliau ei ysgolheigion; a dysgodd, feallai, fwy oddiwrth ei gydysgolheigion. Ychydig o gymhorth a allent estyn iddo gyda'i wersi; rhoddi yn hytrach na derbyn y byddai efe yn wastad yn y cyfeiriad hwnnw. Ond bu dylanwad rhai o honynt arno er hynny o werth mawr iddo. Yn yr un heol ag ef yr oedd yn byw ddau frawd, meibion i ŵr o'r enw Mr. Offord. Yn yr ysgol daeth y ddau frawd hyn ac yntau yn gyfeillion mynwesol; ac arferai fyned gyda hwy yn fynych i'w cartref, lle y rhoddai y tad ystafell fawr iddynt at eu gwasanaeth eu hunain. Cymerai Mr. Offord ddyddordeb mawr yn y bechgyn; ac ymhen llawer o flynyddoedd cydnabyddai Dr. Dale ei fod yn ddyledus iddo am ei dueddiadau cyntaf at lenyddiaeth. Mewn ufudddod i gymhelliad oddiwrtho ef y gwnaeth y cais cyntaf erioed i ysgrifennu traethawd. Y tro cyntaf y gwnaeth ymgais i wasanaethu ei genedl trwy y wasg oedd yn yr *Youth's Magazine*, Tachwedd, 1842, dan yr enw "Rupert," cyn ei fod yn llawn dair ar ddeg oed. Yn 1844 y gwnaeth yr ail ymgais, yn y *Christian Witness*, dan olygiaeth Dr. John Campbell, gweinidog yr Eglwys yr oedd ei rieni yn aelodau ynddi. Gadawodd yr ysgol yn niwedd 1843, wedi bod ynddi y chwe' mis diweddaf fel cynorthwywr i Mr. Willey.

Yn Ionawr, 1844, yn bedair ar ddeg oed, aeth i Andover, tref fechan yn Swydd Hants, yn is-athraw yn ysgol gŵr o'r enw Mr. Ebenezer White. Cyflawnodd ei ddyledswyddau yn yr ysgol gyda ffyddlondeb, er nad gyda llawer o hyfrydwch. Ar yr un pryd bu y deunaw mis a dreuliodd yno yn dymhor gweddol ddedwydd iddo. Yr oedd yn hoff o'r bechgyn dan ei ofal, a derbyniodd lawer o garedigrwydd oddiwrthynt hwy a'u rhieni. Mewn ystyr grefyddol bu iddo yn adeg hynod o bwysig. Yr oedd bob amser yn grefyddol, ond pan yn dair ar ddeg oed dygwyd ef, trwy bregeth gan y Parchedig James Sherman, i bryder

dwys yn nghylch ei gyflwr ysbrydol. Dyfnhawyd ei bryder trwy weinidogaeth Dr. Campbell, ond bu am dymhor hir heb gael profiad o heddwch tuag at Dduw. Yn ei bryder darllennodd, a darllennodd ar ei liniau, *Yr Ymofynnydd Pryderus* gan John Angell James Wedi hynny, er ceisio cael gafael ar sicrwydd ffydd, darllennodd *Brofion Cristionogaeth*, gan Paley; ond er pob ymdrech i ddyfod i'r goleuni, mewn tywyllwch y bu yn aros am lawer o fisoedd. Mewn pregeth ar y geiriau, "Gwasanaethwr Iesu Grist" (Rhuf. i. 1), yr hon a geir mewn cyfrol a gyhoeddwyd ar ol ei farwolaeth, desgrifia agwedd ei feddwl yr adeg hon :—

"Yr wyf yn cofio yr adeg yn dda, er fod bellach yn agos i hanner can' mlynedd er hynny, pan nad oeddwn yn deall y gwirionedd syml hwn, sef y byddai i ffydd yng Nghrist wneuthur gwahaniaeth anfesurol yn fy nghyflwr. Yr oedd yn fy nyrysu yn llwyr. Onid oeddwn eisoes yn credu yng Nghrist? Tybiwn fy mod; ond gwelwn yn glir nad oeddwn wedi ennill dim trwy hynny. Arferwn edrych ar eiriau Paul wrth geidwad y carchar yn Philippi: 'Cred yn yr Arglwydd Iesu Grist, a chadwedig fyddi': tybiwn fy mod yn credu, ond gwyddwn yn berffaith nad oeddwn i er hynny yn gadwedig. Parhäodd fy nhrallod am lawer o fisoedd; noswaith ar ol noswaith pan fyddai y tŷ yn dawel, byddwn yn darllen ac yn myfyrio ac yn gweddïo ac yn ymdrechu cael gafael ar y rheswm am fy methiant a'm siomedigaeth. Tybiais, os oeddwn yn credu yng Nghrist o gwbl, nad oeddwn yn credu ynddo yn y ffordd iawn; ond wedi hynny, pa fodd yr oeddwn i gael gafael ar y ffordd iawn? Ar fy hynt aethum ar wib-deithiau i diriogaethau uchanianol, ond heb wneuthur unrhyw ddarganfyddiadau o'r fath a ddymunwn. Yna meddyliais nad oeddwn feallai yn credu ar yr iawn seiliau, a cheisiais adgyweirio a chyfnerthu seiliau fy ffydd; ond ni ddaeth i mi o'r ymgais hwn ychwaith unrhyw fantais. Yn y diwedd—pa fodd nis gallaf ddywedyd—daeth y cwbl yn oleu; rhoddais heibio feddwl am danaf fy hun, ac am fy ffydd, a meddyliais yn unig am Grist; ac yna rhyfeddwn i mi erioed fod am un awr mewn dyryswch" (*The Epistle of James and other Discourses*, 264—5).

Tua dechreu yr haf, yn 1844, derbyniwyd ef yn aelod o'r Eglwys Anibynnol yn Andover, a dechreuodd ar unwaith gymeryd rhan yn ei gwaith cyhoeddus. Gwelwyd fod ganddo "ddawn gweddi;" a rhoddwyd iddo gyfleusterau i draddodi anerchiadau yn yr Ysgol Sabothol. Trwy ei weddïau a'i anerchiadau daeth swyddogion ac aelodau yr eglwys i gredu fod ynddo "ddefnydd pregethwr;" ac yn Ebrill neu Mai, 1845, pregethodd ei bregeth gyntaf mewn tŷ yn Lower Clatford, oddiar Ezeciel xviii. 29: "Tŷ Israel, onid cymhwys fy ffyrdd i?" Am y bregeth hon dywedir mai amddiffyniad i Galfiniaeth ydoedd, ond yn cynnwys gyda hynny yr athrawiaeth o brynedigaeth gyffredinol. Yr oedd gan hynny yn rhag-ddangosiad hynod o'r hyn a fyddai ei yrfa ddiwinyddol i'w therfyn. Taflodd yr holl athrawiaethau Calfinaidd o un i un dros y bwrdd, ac er hynny cadwodd yn ei ysbryd ac yn ei ddysgeidiaeth hyd y diwedd yr hyn yr edrych Calfiniaid yn gyffredin arno fel hanfod Calfiniaeth,—y gydnabyddiaeth agored a difrifol ei fod yn ddyledus i Dduw, ac i ras Duw yn unig, am yr hyn oll oedd dda ynddo, tra yr oedd yr holl ddrwg yn eiddo iddo ei hun. Pregethodd ei ail bregeth yn y capel bychan yn mhentref bychan Abbott's Ann, ychydig bellter o Andover. A daeth yn amlwg yn fuan i bawb a'i clywent mai yn y pulpud yr oedd ei le a'i waith priodol.

Yr un adeg (1845) dechreuodd ysgrifennu i'r wasg; ond nid ydyw yn anghenrheidiol cyfeirio ymhellach at ei lafur llenyddol yn y

cyfnod boreuol hwnnw. Tua diwedd Mehefin, gadawodd Andover, a dychwelodd adref, gyda'r amcan o barotoi ei hun i'r weinidogaeth. Dysgwyliai ef, a dysgwyliai ei rieni, y byddai i Dr. Campbell ei gynorthwyo i gael derbyniad i un o Golegau yr Anibynnwyr; ond ni fynnai ei barchedigaeth, er fod y gŵr ieuanc yn meddu doniau diamheuol, a'i fod hefyd o gymeriad difrycheulyd, a'i fod ymhellach yn fab i aelodau parchus yn ei eglwys, roddi iddo unrhyw gefnogaeth. Gwnaeth yn hollol eglur mai ofer fyddai disgwyl iddo ef gymeryd unrhyw gam er agor y ffordd iddo i unrhyw Goleg; ac ymddengys na bu yn ofalus i wneuthur ei wrthodiad gydag unrhyw dynerwch mewn iaith nac ymddygiad. Nid ydyw y bywgraffydd yn galed ar Dr. Campbell oblegyd yr hyn a wnaeth; ond pe buasai ar ei law ef buasai wedi amddifadu ei enwad o un o'i brif addurniadau yn ystod y ganrif.

Wedi i'r drws gael ei gau o'i flaen, nid oedd dim i'w wneud ond ymofyn am ryw gylch arall i fod yn ddefnyddiol ynddo. Prudd a siomedig oedd ei rieni ac yntau yn haf 1845; ond gwelent yn amlwg mai eu doethineb fyddai ymostwng yn dawel i'r amgylchiadau. Felly, yn Awst, cafodd yr ymgeisydd ieuanc am y weinidogaeth le fel athraw mewn ysgol yn Brixton Hill, gyd ag un Mr. Jardine. Parhaodd i bregethu pan roddid iddo gyfleustra; ac ymroddodd i ddarllen ac efrydu y llyfrau a ddeuent yn ei ffordd. Bu mewn gohebiaeth â Mr William Gillespie, uchanianydd Ysgotaidd, ac âg Esgob Pabaidd yn Holland, gyda golwg ar ryw bethau a gynnwysid yn eu hysgrifeniadau. Ac, yn nechreu 1846, aeth i Leamington, yn athraw yn ysgol Mr. Müller. Ymunodd â'r Eglwys Anibynnol dan ofal y Parchedig A. Pope; ond byddai yn fynych yn myned i Gapel y Bedyddwyr, lle yr oedd Dr. Winslow yn gweinidogaethu, gyda rhai o'r ysgolheigion. Daeth felly yn adnabyddus i aelodau y ddwy gynnulleidfa. Cymerai ran yn gyson yn y Cyfarfodydd Gweddi yn ei gapel ei hun, a phregethai yn fynych yn y pentrefi o amgylch. Daeth yn fuan yn boblogaidd; a mawr oedd yr hyfrydwch a gai yn y gwaith.

Y flwyddyn honno (1846) y cyhoeddodd ei lyfr cyntaf, "Y Talentau." Nid oedd ar y pryd ond ychydig dros un ar bymtheg oed. Cafodd achos i edifarhau oherwydd iddo ganiatau i'r "Talentau" weled goleuni dydd. Collodd saith gini a cheiniog o arian arno; a bu yr adolygwyr yn chwerwon wrtho. Ond cafodd yn Leamington fwy na digon i wneud i fyny am y siomedigaeth. Croesawid ef yn galonnog gan y teuluoedd yr ymwelai â hwynt; a ffurfiodd gylch o gyfeillion yno y bu iddynt le tyner yn ei galon hyd ddiwedd ei oes.

Tua diwedd 1816, neu ddechreu 1847, methodd Mr Müller yn ei amgylchiadau, a gadawodd y dref. Am beth amser dygwyd yr ysgol ymlaen gan ei gynorthwywr; ond dan yr amgylchiadauan ffafriol, mewn canlyniad i ymadawiad Mr. Müller, nid oedd llwyddiant yn beth hawdd i athraw mor ieuanc; ac yr oedd ei fryd yntau ar droi ei wyneb i gyfeiriad arall. Cymhellwyd ef, gan hynny, i ysgrifennu at y Parchedig T. R. Barker, i ofyn am dderbyniad i Goleg Spring Hill, yn Birmingham. Ar y cyntaf nid oedd y rhagolwg yn addawol; ond trwy garedigrwydd Mrs. Cash, a rhai cyfeillion ereill yn Leamington, symudwyd yr holl rwystrau oddi ar ei ffordd. Ystyriai ef bob amser mai

Mrs. Cash oedd yr offeryn a ddefnyddiwyd gan Ragluniaeth ddwyfol i agor y ffordd iddo i'r weinidogaeth. Bu yn ymwelydd mynych â'i thŷ wedi iddo adael Leamington; a derbyniodd oddi wrthi lawer o gydymdeimlad a chyfarwyddyd. Aeth yn llwyddiannus trwy yr arholiad am dderbyniad i'r Coleg; a chyn diwedd Medi, 1847, yr oedd yn efrydydd yn Spring Hill.

Yr ydym wedi dilyn symudiadau Dr. Dale yn lled fanol hyd yr adeg hon; ond wedi ei weled yn y Coleg rhaid i ni adael llonydd iddo gyd â'i efrydiau. Athrawon y Coleg yn 1847—sefydlasid ef yn 1838—oeddynt y Meistri Barker, Watts, a Henry Rogers; a bu iddynt, yn enwedig yr olaf, ddylanwad mawr ar Dr Dale. Ond nis gallwn aros i roddi desgrifiad o honynt; nac ychwaith i grybwyll enwau ei gydefrydwyr. Yn 1848 aeth trwy yr arholiad cyntaf yn Mhrifysgol Llundain, yn y dosbarth cyntaf. Yn ddiweddarach, wedi gweithio yn or-galed, enillodd y gradd o B A. yn y dosbarth cyntaf.

Cyn diwedd gwyliau yr hâf, 1849, cafodd, er ei syndod, ei alw i bregethu yng nghapel Carr's Lane, Birmingham. Nid oedd eto wedi dechreu ei drydedd flwyddyn yn y Coleg; a thra anghyffredin oedd y fath wahoddiad cyn cyrhaedd y cyfnod hwnnw. Ac nid oedd ychwaith yn llawn ugain mlwydd oed. Pregethodd yn y boreu i gynnulleidfa o 2300 neu 2400, a gweinyddodd Mr. James yr ordinhad o Swper yr Arglwydd ar ol y bregeth. Cyfeiriodd mewn geiriau tra charedig ati, ac yn ei dŷ y noson honno dywedodd wrtho fod, yn ei farn ef, lwyddiant mawr yn bosibl iddo. A pha le bynnag yr elai, gwnelai yr un argraff ar ei wrandawyr. Mewn rhai lleoedd teimlid gradd o betruster a oedd efe yn "iach yn y ffydd." Un o'r lleoedd hynny oedd Hanley. Anfonodd rhywrai oddi yno at awdurdodau y Coleg i ddymuno arnynt "beidio anfon Mr. Dale atynt drachefn." Ond yn 1852 derbyniodd alwad daer i ddyfod yn weinidog i eglwys y Tabernacl, yn y dref, honno,—galwad y bu raid iddo ei gwrthod, nid yn unig, nac yn bennaf oherwydd fod ganddo bymtheg mis yn ychwaneg i'w treulio yn y Coleg, eithr yn hytrach oherwydd rhyw fath o gyd-ddealltwriaeth â gymerasai le eisoes rhyngddo â Mr. James. Yn 1853 safodd yn mlaenaf mewn athroniaeth, yn yr arholiad am M. A. yn Mhrifysgol Llundain, ac enillodd trwy hynny y bathodyn aur.

Yn 1852 yr oedd y Parchedig John Angell James yn 67 mlwydd oed, ac wedi bod yn weinidog yr eglwys yn Carr's Lane am 47 mlynedd. Nid oedd ond ugain mlwydd oed pan ddechreuodd ei weinidogaeth yno yn 1805. Sefydlasid yr eglwys yn 1747, mewn gwrthdystiad yn erbyn yr Ariaeth a ddaethai i mewn i'r eglwys y buasai ei sefydlwyr cyn hynny yn aelodau o honi. Ei gweinidog cyntaf oedd Mr. Gervas Wilde, yr hwn a fu farw yn 1768. Dilynwyd ef gan Mr. Punfield, yr hwn a fu yno am 23 mlynedd. Dilynwyd yntau gan Dr. Edward Williams, yr hwn, ar ol tair blynedd a hanner o lafur, a alwyd i fod yn athraw yn y Coleg Diwinyddol yn Rotherham. Y pedwerydd gweinidog oedd Mr. Jehoiada Brewer, yr hwn, ar ol saith mlynedd a ymneillduodd, ac a gymerodd gyd âg ef yn agos i hanner yr aelodau, i ffurfio eglwys gyd â hwy mewn lle arall. Am ychydig fisoedd bu Mr. Joseph Berns yn llanw y pulpud, ac yn 1805, fel y crybwyllwyd eisoes, dechreuodd Mr. James ei weinidogaeth yno. Y mae yr eglwys bellach

wedi dathlu ei thrydedd Jubili; ond y seithfed o'i gweinidogion ydyw Mr. Jowett.

Yn 1805 nid oedd yr aelodau yn fwy na 150, ac am rai blynyddoedd araf fu y cynnydd. Yn 1820 bu raid adeiladu capel newydd, yn yr un lle ag y safai yr hen gapel, i gynnwys y tyrfaoedd a ddeuent i wrando Mr. James. Yr oedd yn ddiau yn un o'r pregethwyr mwyaf poblogaidd yn ei oes; ac enillodd ei lyfrau hefyd gylchrediad rhyfeddol. Yn y pum' mlynedd cyntaf ar ol ei gyhoeddiad, ni werthwyd dim llai na dau gan' mil o gopïau o'r "Ymofynnydd Pryderus." Ond ar ol saith mlynedd a deugain o lafur yr oedd yn naturiol iddo deimlo angen am gynorthwywr. Ac ymddengys iddo, yn fuan wedi i Dr. Dale ddyfod i Spring Hill, osod ei fryd ar sicrhau ei wasanaeth ef yn y cymeriad hwnnw. Cyn ei fod wedi treulio mwy nag ychydig fisoedd yn y Coleg, daeth sibrwd i glustiau Mr. James ei fod mewn perygl o syrthio i ryw gyfeiliorniadau mewn athrawiaeth, a gwahoddodd ef i'w dŷ i ymddiddan yn gyfeillgar âg ef ar y mater. Yn yr ymddiddan hwnnw cafodd Dr. Dale olwg newydd arno. Ymresymai âg ef megys pe buasai ŵr ieuanc o'r un oedran ag yntau, heb wneuthur unrhyw ymgais i ddim ond yn unig i'w ennill drosodd i'w olygiadau ei hun trwy rym ei resymau. Ac y mae yn amlwg na ddarfu i ddatganiadau agored a gonest ei gyfaill ieuanc beri iddo mewn un modd golli ei ymddiried ynddo, na newid dim ar ei syniad am ei gymhwysterau gweinidogaëthol. Ymhen deunaw mis ar ol yr ymddiddan uchod, gwahoddodd ef, fel y gwelsom, i bregethu yn Carr's Lane; ac ymhen tua blwyddyn ar ol hynny gofynnodd iddo "beidio gwrando ar wahoddiad oddi wrth unrhyw eglwys, heb ymgynghori yn gyntaf âg ef." Ac yn Tachwedd, 1851, ysgrifennodd lythyr ato yn dywedyd yn agored wrtho mai ei ddymuniad oedd sicrhau ei wasanaeth ar derfyn ei dymhor yn y Coleg yn gynorthwywr iddo yn Carr's Lane. Ni wnaeth ei ddymuniad yn gyhoeddus ar y pryd, ond defnyddiodd bob cyfleustra a estynnid iddo i'w ddwyn i sylw yr eglwys; a chyn diwedd 1852 trefnwyd iddo bregethu yn rheolaidd foreu y Saboth cyntaf o'r mis, pan y gweinyddid yr ordinhad o Swper yr Arglwydd. A pha bryd bynnag arall y byddai Mr. James mewn angen am ei gymhorth, gelwid arno ef i bregethu.

Nid oedd efe, pa fodd bynnag, yn awyddus ar amryw gyfrifon i dderbyn yr anrhydedd. Yn un peth, gosodasai ei fryd ar fyned drosodd i'r Cyfandir am nifer o dymhorau, wedi iddo adael Spring Hill. Yn y lle nesaf, nid oedd ganddo, o leiaf ar y dechreu, lawer o ffydd yn sefydlogrwydd yr Eglwys yn Carr's Lane. Tybiai mai enw Mr. James yn unig oedd yn ei chadw ynghyd, ac y syrthiai oddi wrth ei gilydd ar unwaith ar ol ei ymadawiad ef. Ond newidiodd ei feddwl ar y mater hwn yn lled fuan. Ac yn olaf, yr oedd ynddo awydd am gyfleustra yn rhywle i efengyleiddio y boblogaeth oedd yn y trefi mawrion yn llithro allan o gyrraedd yr eglwysi. Ond teimlodd mai ei ddyledswydd oedd myned i mewn trwy y drws oedd yn agored iddo, yn hytrach nag ymbalfalu am ddrws lle nad oedd yr un i'w gael; ac felly derbyniodd y gwahoddiad i fod yn gynorthwywr i Mr. James Pregethodd yn ol y trefniad uchod hyd ddiwedd ei dymhor Colegawl, yn hâf 1853; ac ar y dydd cyntaf o Orffennaf, yn y flwyddyn honno, cytunodd yr eglwys i'w apwyntio yn "bregethwr cynorthwyol"—nid "gweinidog"—i

gymeryd cyfran o waith Mr. James yn y pulpud, ac i'w gynorthwyo gyda rhannau ereill o'i waith pan fyddai hynny yn angenrheidiol. Dechreuodd ar ei waith y Saboth cyntaf yn Awst. Y Saboth blaenorol pregethodd Mr. James oddi ar 1. Cor. xvi. 10, 11 : "Ac os Timotheus a ddaw, edrychwch ar ei fod yn ddïofn gyd â chwi: canys gwaith yr Arglwydd y mae yn ei weithio fel finnau. Am hynny na ddïystyred neb ef: ond hebryngwch ef mewn heddwch, fel y delo ataf fi: canys yr wyf fi yn ei ddisgwyl ef gyda'r brodyr." A gwnaeth bob peth oedd yn bosibl iddo er sicrhau i'w gyfaill ieuanc y fantais oreu i gychwyn ar ei waith.

Yn hâf y flwyddyn ddilynnol (1854) cytunwyd i wahodd y "pregethwr cynorthwyol" i fod yn gyd-weinidog â Mr. James. Yr oedd bellach hanner can' mlynedd er pan y buasai yr eglwys yn dewis gweinidog; ac allan o fwy na naw cant o gymunwyr nid oedd ond un yn unig yn aros ag oedd yn bresennol ar yr achlysur hwnnw. Ar y 10fed o Orffennaf y cynaliwyd y cyfarfod ymha un y cytunwyd i roddi iddo y gwahoddiad. Yr ydym yn teimlo awydd rhoddi hanes y cyfarfod trwy ddyfyniad o lythyr Mr James, heb wneuthur cais i'w gyfieithu :—

"Never was there such a church-meeting before. It was full to overflowing with holy joy and thanksgiving. After it was over many gathered round me to express their congratulations; and well they might. Oh, how many prayers that meeting answered! How many anxieties it relieved! How many hopes it excited! And now, my dear brother, what say you to this? Does it not cause gratitude and love to our adorable Lord? Does it not fill your heart with thanksgiving and your mouth with praise?

You need not be told that I invite you to be my co-pastor If you do, I relieve your anxiety by saying, "Come and labour with me in the gospel of Christ. Come and be the evening star of my life. Come and help me amidst that growing weakness which I must soon expect.' And may our good Lord bring you in the fulness of the blessing of the gospel of Christ."

Ac y mae atebiad y gŵr ieuanc yn deilwng i'w osod ochr yn ochr â llythyr yr hynafgwr. Cymerer o honno y dyfyniadau canlynol :—

"God be thanked for His almost incredible goodness. He has made the 'path straight and plain.' Deafness itself cannot mistake his voice. . . . Evidently God has been with the church at Carr's Lane of late: there has been prayer and earnestness within; there have been spiritual conquests without. Even unanimity in a dead church would have left me doubtful. As it is, I feel that there is nothing for me to decide; no room for the weighing of conflicting considerations. I have asked God often to make my way clear to me, and now I have only to thank Him for answering that prayer.

The kindness, the generosity of your letter this morning, its overflowing joy and large hearted confidence, have made my soul too full for utterance. May God make me more worthy of the affection and trust which humble me as much as they rejoice me."

Oherwydd gwaeledd Mr. James ni chymerodd yr urddiad le hyd ddiwedd Tachwedd. Cyfarfod i'w gofio oedd cyfarfod yr urddiad. Yr oedd yn bresennol ynddo fwy na hanner cant o weinidogion; a chymerwyd rhan yn y gwasanaeth gan y Parchedigion John Glanville, Dr. Redford, o Gaerwrangon, a'r Proffeswr Barker. Yn yr hwyr pregethodd y Parchedig Samuel Martin, o Gapel Westminster, Llundain, oddiar Phil. ii. 29: "Derbyniwch ef gan hynny yn yr

Arglwydd gyda phob llawenydd; a'r cyfryw rai gwnewch gyfrif o honynt." Ond y ddau beth a adawodd argraff annileadwy ar feddyliau pawb oedd yn bresennol oedd y crynhoad a roddwyd gan y gweinidog ieuanc o'r athrawiaethau y bwriadai eu pregethu; a'r "cynghor" a roddwyd iddo gan yr hen weinidog hybarch, Mr. James, yr hwn a fuasai yn y weinidogaeth am yn agos i hanner can' mlynedd. Terfynnodd yn y geiriau toddedig a ganlyn:—

"Long after my memorial shall be added to those which are inscribed on yonder marble, may you occupy the pulpit that overshadows my tomb, and send forth over my sleeping dust the words of life and immortality. A long, a holy, and a useful career be yours in this place. As it was in my case, so may it be in yours, and this church be your first, your last, your only love. Even longer, more happy, and more useful may you be here than I have been. Rich in years, in honours, and in usefulness, may you come at some far distant day to your end; and then, after labouring in the same pulpit, come and lie down with me in the same grave, at the foot of it; so shall we resemble warriors resting on the field where they fought and conquered."

Ar yr 21ain o Chwefror, 1855, cymerodd iddo ei hun wraig, sef Miss Elizabeth Dowling, o bentref Over Wallop, tua hanner y ffordd rhwng Andover a Salisbury, yn swydd Hants. Bu y briodas yn un hynod o ddedwydd: yn ngwir ystyr y gair bu Mrs. Dale yn "ymgeledd gymhwys" i'w gŵr. Ni chaniataodd i unrhyw ofalon teuluaidd ddyfod yn agos ato; a bu yn gymhorth gwerthfawr iddo trwy ateb ei lythyrau, a thrwy wneuthur llawer o waith yn yr eglwys. Pa faint o lwyddiant Dr. Dale yn ei gylchoedd cyhoeddus oedd yn ddyledus i Mrs. Dale y "dydd hwnnw"—"dydd datguddiad Iesu Grist" yn unig a ddengys.

Nid ydyw yn angenrheidiol manylu ar y pum' mlynedd o urddiad y gweinidog ieuanc hyd farwolaeth Mr. James. Ymdaflodd o ddifrif i'w waith, a daeth trwy rai stormydd lled enbyd. Yn gynnar yn Tachwedd, 1854, traddododd ddarlith yn Carr's Lane ar "Y Tadau Pererinol," a lledaenwyd chwedlau ar hyd y dref ei fod yn ymosod ynddi yn erwin ar yr Eglwys Sefydledig. Er mwyn rhoddi mantais i'r rhai a ddymunent hynny wybod pa beth a ddywedasai cyhoeddodd y ddarlith, gyda nodiadau ychwanegol. Ond yr oedd y rhai a ymosodent arno naill ai yn anfoddlawn i ddarllen y ddarlith, neu ynte yn analluog i'w deall; a pharhaodd yr ymosodiadau yn y newyddiaduron am rai wythnosau. Yn ffodus iddo ef, yr oedd ar y pryd yn mwynhau ei "fis mêl;" ac erbyn iddo gyrraedd adref yr oedd grym yr ystorm wedi myned heibio.

Yn hâf 1855 ymunodd y Bedyddwyr a'r Anibynnwyr yn Birmingham i bregethu yn yr awyr agored mewn gwahanol rannau o'r dref, er mwyn dyfod i gyffyrddiad, os gellid, â'r rhai na ddeuent i'r capelau. Mwynhaodd y gweinidog ieuanc y gwaith hwnnw yn fawr, a chafodd ynddo gyfleustra i fesur ei gymhwysterau at waith ag y dymunasai ar un adeg, fel y gwelsom eisoes, gysegru ei fywyd iddo. I'r rhai sydd gyfarwydd â'i bregethau, nid yw yn hawdd credu fod ganddo y ddawn i ennill sylw ac i hoelio clust cynnulleidfa ar yr heol. O'r cychwyn ymroddodd i lenwi ei bregethau âg athrawiaeth. "Yr wyf yn clywed," meddai Cymro wrtho unwaith, "eich bod yn pregethu pregethau athrawiaethol yn Carr's Lane; ni oddefa y bobl mo honynt." Ei ateb

oedd: "Bydd yn rhaid iddynt eu goddef." A glynodd wrth ei benderfyniad yn ffyddlawn hyd ddiwedd ei oes. Ac ni bu ychwaith heb ei wobr. Daeth "pregethu athrawiaeth" i fri mwy trwy yr holl wlad, a hynny i ryw fesur, yn ddiau, trwy ei ddylanwad ef; a chan ei gynnulleidfa ei hun yn Carr's Lane cafodd y gefnogaeth fwyaf teyrngarol i gario allan, hyd eithaf ei allu, ei syniad uchel ei hun am yr hyn ydyw pregethu yr efengyl.

Yn lled gynnar yn ei weinidogaeth pregethodd gyfres o bregethau ar yr Epistol at y Rhufeiniaid; a thriniodd mewn modd tra dibris yr athrawiaeth Galfinaidd am y pechod gwreiddiol. Mewn canlyniad aeth yn gyffro mawr yn y gynulleidfa; a dylanwad Mr. James yn unig a roddodd derfyn arno Ond yr oedd Mr. James yn ei fedd cyn i'w gyd-weinidog wybod yr hanes. Nid oedd yn cydweled—pell oddiwrth hynny—â'r syniadau a bregethid ganddo; ond nis gallai weled eu bod o gwbl yn anghyson â hanfod yr efengyl. A galwodd mewn modd didrwst gyda'r aelodau oeddynt yn fwyaf anfoddlawn." "Gadewch lonydd i'r gŵr ieuanc," meddai, "y mae gwreiddyn y mater ganddo; daw yn fuan ato ei hun." Ond parodd yr helynt i'r gweinidog ieuanc deimlo yn dra anneddwydd, a phetruso yn fawr am dymhor a oedd efe yn gymhwys i'r lle y disgynasai iddo. Ac mewn llythyr a ysgrifenwyd ganddo rywbryd yn 1856, datganodd ei betruster wrth Mr. James.

"Ers blwyddyn a hanner," meddai, "yr wyf wedi bod yn argyhoeddedig fy mod yn gwbl ddiwerth yn Carr's Lane; ac er fod yr argyhoeddiad hwn yn fy ngadael ar brydiau, y mae yn dychwelyd ataf drachefn gyda mwy o rym nag o'r blaen. Yr wyf yn ofni fy mod yn sefyll ar ffordd rhywun arall a allai wneuthur yn llawer gwell. Gallaf yn onest ddweyd i mi ymdrechu yn galed, gan edrych at Dduw am gymhorth, bregethu gwirioneddau mawr—gwirioneddau canolog yr efengyl—a'u pregethu hefyd mewn modd a gyrhaeddai galon yr annuwiol. Chwi a wyddoch mor druenus fu y canlyniadau. . . Y ffaith ydyw, mi a wnaethum ar y cychwyn gamgymeriadau, y rhai yr wyf yn ofni nas gallaf byth wneud i fyny am danynt. Penderfynais bregethu yr hyn y credwn ei fod yn wirionedd,—ac yn hyn yr oeddwn yn 'y lle; ond dylaswn bregethu y gwirionedd yn y ffordd fwyaf tebyg i ladd rhagfarnau yn hytrach na'u cryfhau, ac anghofiais wneuthur hynny."

Nid ydyw atebiad Mr. James i'r llythyr hwn wedi ei gadw; ond y mae yn amlwg ei fod yn garedig, ac iddo hefyd fod yn effeithiol i symud ymaith betruster ac ofnau ei gyd-lafurwr. Ac yn fuan dechreuodd deimlo yn wahanol. Cafodd le i gredu fod ei weinidogaeth yn fwy cymeradwy yn Carr's Lane; a daeth y galwadau am ei wasanaeth y tu allan i Birmingham yn dra lliosog. A chyn diwedd 1856 cafodd wahoddiad i fod yn weinidog yr Eglwys Anibynnol yn Cavendish Street, Manchester. Yr oedd y rhesymau dros dderbyn y gwahoddiad yn gryfion; ond cyflwynodd y mater i Mr. James i'w benderfynu ganddo ef. Ac yn ol ei ddymuniad ef, cytunodd i aros yn Birmingham. Ac ni bu byth yn edifar ganddo.

Yr un flwyddyn (1856) y dechreuodd ymroddi i waith llenyddol. Ym Medi yr ymddangosodd ei erthygl gyntaf yn yr *Eclectic Review*, dan olygiaeth y Parchedig J E. Ryland, Northampton. A phan drosglwyddwyd yr olygiad i Dr. Paton, bu am dymhor yn gyd-olygydd âg ef. Ac yn 1858 galwyd arno i fod yn un o'r athrawon yng Ngholeg

Spring Hill. Ymddiriedwyd iddo bedwar o byncian, Llenyddiaeth Seisonig, Rhesymeg, Athroniaeth, a *Homiletics*. Ac yn raddol daeth i gymeryd ei ran ym mywyd cyhoeddus Birmingham. Gweithiai yn galed, ac ymhob cylch yr oedd ei lwyddiant yn ddiamheuol.

Wedi marwolaeth Mr. James, yn Hydref, 1859, rhoddodd yr eglwys yn Carr's Lane wahoddiad unfrydol i Mr. Dale i fod yn unig weinidog iddi. Ac yno yr arosodd hyd ei farwolaeth. Yn 1862 gwrthododd wahoddiad taer i Melbourne, yn Australia; ac yn 1869 gwrthododd alwad i fod yn olynydd Mr. Binney, yn Weigh House, Llundain. Yn 1871 gwrthododd alwad i Clapton Park, Llundain, er ei fod ar y cyntaf yn tueddu yn gryf i dderbyn yr alwad honno. Credai y byddai newidiad yn dda i'r eglwys ac iddo yntau; ond argyhoeddwyd ef, trwy yr arwyddion cryfion a lliosog o ymlyniad yr eglwys wrtho, mai aros yn Carr's Lane oedd ei ddyledswydd. Ac ni feddyliodd mwyach am ymadael, nes y galwyd ef i fyny i orphwysfa Duw.

Y mae gennym yn awr gyfnod o fwy na 35 mlynedd i gymeryd cipdrem frysiog arno. Nid ydyw yn debyg i neb yn ei oes daflu mwy o waith i gynifer a hynny o flynyddoedd nag a daflodd efe; ond o fewn terfynnau yr erthygl hon nis gallwn wneuthur mwy na chrybwyll ychydig ffeithiau am dano mewn ychydig gyfeiriadau. Goddefir i ni adael o'r golwg i fesur mawr y gwaith a wnaeth yn Carr's Lane, er mai hwnnw yn y diwedd oedd ei brif waith. Mr. James fu yr offeryn, yn llaw Duw, i godi i fyny yr eglwys a'r gynnulleidfa yn y lle; ond parhaodd i ennill grym a dylanwad yn ystod gweinidogaeth Dr. Dale, er i lawer o eglwysi ereill gael eu ffurfio trwy ei ymdrechion mewn gwahanol rannau o'r dref. A thra chysurus ydyw deall fod ei olynnydd yn llwyddo i ddwyn ymlaen y gwaith gydag effeithiolrwydd mawr.

Yr ydym eisoes wedi cyfeirio at Dr. Dale fel pregethwr. Yr oedd ganddo er yn fachgen lawer o ddawn i siarad yn gyhoeddus; yr oedd rhwyddineb ymadrodd ymron yn brofedigaeth iddo. Ond ni bu erioed yn euog o ymddiried i'w "ddawn." Ymroddodd o gychwyniad ei yrfa i efrydiaeth galed o awduron goreu pob oes a gwlad; a phenderfynnodd ddwyn holl ffrwyth ei efrydiaeth i gyfoethogi ei bregethau. "Pregethwr" mewn modd arbennig oedd efe. Yn hyn yr oedd ynddo ryw gyffelybrwydd i bregethwr mwyaf yr Eglwys Sefydledig yn ei oes,—Canon Liddon. Ni fynnai efe gynnyrchu dim ond pregethau; rhoddodd ei holl enaid yn ei bregethau ymron hyd ddiwedd ei oes. Ac ni buasai yn ddim gwaeth pe glynasai wrth yr arfer hon i'r terfyn. Ysgrifennodd Dr. Dale lawer i'r cyfnodolion; yr oedd ei lafur llenyddol yn helaeth iawn; ond ar yr un pryd, gellir dywedyd yn ddibetrus iddo daflu ei hunan yn llwyr i'w bregethau.

Nid diwinyddiaeth yn unig a geid ynddynt. Yr oedd yn ddiwinydd o dueddfryd; nid oedd dim yr ymhyfrydai ynddo yn fwy na dyrys byngciau diwinyddiaeth. Ond ei nodwedd arbennig, feallai, fel pregethwr oedd y wedd ymarferol a roddai ar bob athrawiaeth. Nid oedd yr elfen athrawiaethol un gronyn mwy amlwg yn ei weinidogaeth nag oedd yr elfen foesol. Ac mewn canlyniad ni phetrusai ymwneud yn y pulpud â chwestiynau cyhoeddus—ar un adeg o nodwedd fwrdeisiol, ac ar adeg arall o nodwedd ymherodrol. Credwn yn gryf fod llawer o'r rhai sydd yn ceisio ei efelychu yn y peth hwn, yn

darostwng y weinidogaeth; ond llwyddai Dr. Dale bob amser i osod ar y drafodaeth â phob cwestiwn yn y pulpud yr urddas oedd briodol i'r lle a'r amgylchiadau. Cysylltai "gwestiynau y dydd" ymron yn reddfol â'r egwyddorion mawrion sydd yn arosol a digyfnewid; ac edrychai arnynt yn ddieithriad yn ngoleuni yr egwyddorion hynny.

Dylanwad yr egwyddorion hyn ar ei feddwl a barai iddo ddwyn cwestiynau a ystyrrid gan ereill yn "gyffredin" i mewn i'r lle sanctaidd,—canys felly yr edrychai efe ar y pulpud. Iddo ef nid oedd dim a berthynnai i fywyd dyn,—yn bersonol, yn gymdeithasol, neu yn wleidyddol—yn "gyffredin." Pur ydoedd ei hun, ac iddo ef yr oedd pob peth yn bur. Ac am y rheswm hwn y cymerodd ran mor helaeth ym mywyd trefol Birmingham; awydd oedd ynddo am ddwyn crefydd Crist i dreiddio trwyddo oll. A gellir dywedyd na chyffyrddodd â bywyd gwleidyddol ei oes ond am yr un rheswm. Nid oeddym ein hunain yn cydweled â'i syniadau ar rai cwestiynau addysgol a gwleidyddol; ond nid oes ynom y petruster lleiaf nad oedd Dr. Dale bob amser yn edrych ar bob cwestiwn yn ngoleuni egwyddorion mawrion crefydd Crist.

Un peth arall yn unig y cyfeiriwn ato ag oedd yn ei nodweddu fel pregethwr, sef ei awydd cryf am fynegi i'w bobl "holl gynghor Duw." Ar ddiwedd blwyddyn byddai yn gynnar yn ei yrfa weinidogaethol yn adolygu ei bregethau yn ystod y flwyddyn, gan ymofyn pa faterion oedd heb gael y sylw priodol ynddynt; a thynnai allan gyfres o byngciau i'w dwyn i mewn y flwyddyn ddilynol. Cyfeiria at hyn yn ei Ragymadrodd i gyfrol o bregethau a gyhoeddwyd ganddo y flwyddyn cyn ei farwolaeth. Ysgrifenwyd y Rhagymadrodd ganddo yn Nhreborth, lle y treuliai yn fynych yn ei flynyddoedd olaf ychydig ddyddiau gyd â Mr. a Mrs. Richard Davies a'r teulu. Ac y mae ei lythyrau at Mrs. a Miss Davies ymysg y rhai goreu o'i eiddo a geir yn ei Fywgraffiad. Yn y Rhagymadrodd hwnw ceir un o'r cyfryw restrau, yr hon sydd fel y canlyn :—

> "Yr Ymgnawdoliad; Duwdod Crist; Personoliaeth yr Ysbryd; y Drindod; Pechod; yr Iawn; Ffydd; Cyfiawnhad; Bywyd yn Nghrist; Adenedigaeth; Sancteiddhad; y Farn a fydd. Ac am fy mod yn awyddus hefyd i osgoi y perygl o beidio pregethu gyda'r pwyslais priodol ar y dyledswyddau mawrion Cristionogol, ychwanegais at y rhestr y materion canlynol :—Gwirionedd; Cyfiawnder; Mawrfrydedd; Diwydrwydd; Dirwest; Dioddefgarwch; Ysbryd Cyhoeddus; Gwroldeb; Boddlonrwydd."

Ond yn 1893 daeth i deimlo nad oedd erioed wedi ceisio gosod allan mewn cyfres o bregethau holl brif athrawiaethau y Ffydd Gristionogol; a phenderfynnodd wneud hynny, er nad oedd ei nerth mwyach yr hyn a fuasai gynt. A'r gyfres honno a gyhoeddwyd ganddo yn 1894 dan y teitl, *Christian Doctrine.* Yn y gyfrol ceir deuddeg o bregethau,—dwy ar Fodolaeth Duw, un ar ddyndod ein Harglwydd, dwy ar ei dduwdod, un ar yr Ysbryd Glân, un ar y Drindod, un ar ddyn, un ar bechod, a thair ar Yr Iawn. Ac at y pregethau, ychwanegir 55 o dudalenau o nodiadau mewn llythyren fanach. Yn sicr ni ddangosodd unrhyw bregethwr yn y ganrif hon ofal perffeithiach am draethu gwirionedd yr efengyl yn ei gyflawnder a'i gyfanrwydd nag a ddangoswyd gan Dr. Dale.

Yr ydym wedi cael ein harwain i gyfeirio at y llyfr diweddaf a gyhoeddwyd ganddo: rhaid i ni yn awr droi yn ol at rai o'i lyfrau ereill, gan ddechreu gyda Bywgraffiad y Parchedig John Angell James, yr hwn a gyhoeddwyd yn 1861. Derbyniad anffafriol a gafodd y llyfr hwnnw mewn llawer o gyfeiriadau. Dadleuai rhai nad oedd cymeriad Mr. James yn cael ei osod allan ynddo yn deilwng; yn arbennig nad oedd ei diriondeb a'i fawrfrydigrwydd wedi eu dwyn i'r golwg fel y dylesid. I'r hwn a ddarllenno y Bywgraffiad heddyw, y mae yn anhawdd deall ystyr y fath feirniadaeth. Ond yr hyn a roddodd boen i berthynasau ac i lawer o gyfeillion Mr. James ydoedd yr hyn a ysgrifenwyd yn y bennod ar "Yr Ymofynnydd Pryderus." A bu yn ddiau yn boen hefyd i'r awdwr; canys y peth diweddaf a ddymunasai a fuasai archolli i'r gradd lleiaf y rhai a anwylent goffadwriaeth Mr. James. Darllenasai y llyfr ei hun ar ei liniau, pan yn fachgen ieuanc; ond ni theimlodd fod ei barch i'w awdwr na'i syniad am werth y llyfr i sefyll ar ei ffordd i nodi allan y diffygion a welai yn ei ddiwinyddiaeth. Mewn un lle gwahaniaethai yr awdwr yn ofalus rhwng Cyfiawnhad a Maddeuant, ond ar y tudalen nesaf cyfeirid atynt megys pe na buasai unrhyw wahaniaeth rhyngddynt.

"Arfer Mr. James," meddai, "oedd dweyd wrth ei bobl mai yr un yn sylweddol ydyw maddeuant a chyfiawnhad. Ei bryder mawr oedd gwahaniaethu rhwng cyfiawnhad fel cyfnewidiad yn ein cyflwr tuag at Dduw, â sancteiddhad fel cyfnewidiad yn ein cymeriad personol; a thrwy wneuthur maddeuant a chyfiawnhad yn rhinweddol yr un, galluogid ef i wneud hynny yn weddol hawdd. . . Ac er mwyn y fantais ymarferol hon, ymddangosai ymron yn hollol ddifater yng nghylch y ddau anhawster diwinyddol yr arweinid ef iddynt. Os yw cyfiawnhad yn sylweddol yr un â maddeuant, nis gall fod yn gynwysedig mewn cyfrifiad i'r pechadur o ufudd-dod Crist; ac yn ail, y mae yr ymgais i wahaniaethu rhwng y ddwy fendith ar ol eu gwneuthur yn sylweddol yr un, yn rhwym o droi allan yn fethiant."

A llawer o bethau cyffelyb a geir yn y bennod grybwylledig. Nid rhyfedd gan hynny oedd i lawer deimlo yn ddolurus wrth ei darllen. A rhaid i ni addef mai felly i fesur y teimlwn ninnau. "Yr Ymofynnydd Pryderus" yw y llyfr cyntaf erioed a ddarllenasom; ac y mae ei feirniadu yn y modd y gwneir yn y Bywgraffiad ymron yn anioddefol. Ond yn y mater hwn yr oedd amcanion y bywgraffydd uwchlaw amheuaeth. Ac yn y pumed argraffiad—daeth y pumed allan mewn llai na blwyddyn—gadawyd allan y rhannau a roddasent dramgwydd. A gellir casglu i'r awdwr ofidio yn ddwfn oherwydd iddo ddefnyddio ei gyllell resymegol mewn modd mor rhydd a diofn, er gwahanu oddiwrth eu gilydd amrywiol rannau llyfr oedd i ugeiniau o filoedd o ddarllenwyr yn llawn ysbryd a bywyd.

Nis gallwn wneuthur unrhyw sylwadau ar fwy nag un neu ddau o'r llyfrau a gyhoeddwyd gan Dr. Dale. Wele restr o honynt:—*The Jewish Temple and the Christian Church*, 1865; *Discourses delivered on Special Occasions*, 1866; *Week-day Sermons*, 1867; *The Ten Commandments*, 1872; *The Atonement*, 1875; *Nine Lectures on Preaching*, 1877; *The Evangelical Revival and other Sermons*, 1880; *The Epistle to the Ephesians*, 1882; *Laws of Christ for Common Life*, 1884; *Manual of Congregational Principles*, 1884; *Impressions of Australia*, 1889; *The Living Christ and the Four Gospels*, 1890; *Fellowship with Christ*, 1891,

Ar ol ei farwolaeth cyhoeddwyd *The Epistle of James and other Discourses*, 1895; a *Christ and the Future Life*, 1895.

Dengys teitlau y cyfrolau uchod pa mor bell yr oedd Dr. Dale yn cyfuno yr athrawiaethol a'r ymarferol yn ei weinidogaeth. Ond y ddau waith sydd wedi ennill mwyaf o sylw ydyw ei ddarlithiau ar yr Iawn, a'i ddarlithiau ar yr Epistol at yr Ephesiaid. Tybia y bywgraffydd y byddai i rai roddi lle uwch i'r diweddaf nag i'r cyntaf; ond dywed mai at y cyntaf y gwneid y cyfeiriadau mynychaf ar adeg marwolaeth Dr. Dale. Tueddwn ein hunain i roddi lle uchel hefyd i'r tair cyfrol olaf a gyhoeddwyd ganddo. *The Living Christ and the Four Gospels, Fellowship with Christ, Christian Doctrine;* ac o'r tri hyn rhoddwn y lle blaenaf i'r gyntaf, er ei fod yn y rhannau olaf o honi yn tramwy tir sydd yn lled sathredig. Cofiwn yn dda yr argraff a wnaed arnom gan ddarlleniad y darlithiau ar yr Iawn, yn fuan wedi eu cyhoeddiad yn 1875. Nid ydym yn credu i ddim mwy boddhaol gael ei ysgrifennu un amser na'r saith darlith cyntaf ar yr Iawn fel Ffaith *(The Fact of the Atonement)*. Y maent yn feistrolgar mewn gwirionedd. Ni ddymunem ddywedyd dim yn anffafriol am y darlithiau olaf, lle yr ymdrechir gosod allan Athrawiaeth yr Iawn; ond goddefir i ni ddywedyd yr ymddangosent i ni y pryd hwnnw,—ac yr ymddangosant i ni felly eto,—yn llawer iawn llai boddhaol na'r lleill. Ac y mae yn gwbl eglur nad ydoedd yntau ei hun yn teimlo y tir mor ddiogel dan ei draed yn y darlithiau diweddaf ag y gwnai yn y rhai cyntaf. Ond nid ydyw hynny yn ddim amgen na phrawf ei fod yn ymwybodol o'r anhawsterau yr oedd ganddo i'w gwynebu, pan yn ceisio tynnu yr athrawiaeth allan o'r ffaith. Nid diwinydd gwael oedd yr hen frawd yn y Deheudir yr adroddwyd wrthym ei sylw yn ei weddi gan Dr. Saunders:—"'D'ŷm ni yn deall mo'th drefn, y Duw mawr. Wyddon ni yn y byd sut y mae marw'r groes yn troi yn fywyd i bechadur. Ond yr ŷ'n ni yn deall eich bod chwi, i fyny yna, wedi cytuno â'ch gilydd y derbynpwy bynnag a gredo yn y Mab, faddeuant pechodau yn ei enw Ef. 'Ry'n ni yn credu; dyro dithau i ni y maddeuant."

Rhoddwyd i'r darlithiau dderbyniad croesawgar ar eu hymddangosiad. Adolygwyd hwy yn ffafriol yn y Cyhoeddiadau Eglwysyddol yn gystal ag yn y Cyhoeddiadau Ymneillduol. Erbyn hyn y maent wedi eu cyfieithu i ddwy brif iaith y Cyfandir, a rhannau o honynt i iaith Japan; ac yn cael eu darllen gan bob plaid grefyddol—yn Eglwyswyr ac Ymneillduwyr. Yn 1897 ymddangosodd y pedwerydd argraffiad ar bymtheg o honynt yn yr iaith Saesoneg.

Heblâw y llyfrau uchod cyhoeddodd Dr Dale gyfres faith o bamphledau, anerchiadau, a phregethau; ac ymddangosodd llawer o'i gynyrchion—areithiau, erthyglau, a phregethau—mewn cyfrolau yn cynnwys cynyrchion awdwyr ereill hefyd. Bu yn olygydd y *Congregationalist* am saith mlynedd; ac ysgrifennodd iddo yn y blynyddoedd hynny ugeiniau o erthyglau ar amrywiaeth mawr o faterion. Ysgrifennodd hefyd saith o erthyglau i'r *British Quarterly Review*, o 1866 hyd 1881; un ar bymtheg i'r *Contemporary Review*, o 1868 hyd 1891; wyth i'r *Nineteenth Century*, o 1877 hyd 1883; un i'r *Fortnightly Review* yn 1879; a dwy i'r *International Review*, yn 1880 a 1881. I'r *Good Words* ysgrifennodd dair ar hugain o erthyglau, o 1867 hyd 1894; deg i'r

*Sunday Magazine*, o 1865 hyd 1895; deunaw i'r *Evangelical Magazine*, o 1845 hyd 1895; a phedair i'r *Expositor* o 1883 hyd 1893. Ac ymddangosodd pedair ar ddeg o erthyglau ynddo ar ol ei farwolaeth, o 1896 hyd 1898. Ymddangosodd amryw o'r erthyglau uchod eilwaith yn rhai o'i lyfrau. Efe a olygodd y cyfieithiad Seisonig o waith Reuss ar Ddiwinyddiaeth Gristionogol yn yr Oes Apostolaidd; ac un gwasanaeth arall a wnaeth i'w enwad ydoedd dwyn allan Lyfr Hymnau rhagorol.

Rhaid i ni yn awr droi oddi wrth ei lafur fel awdwr at ei waith mewn un neu ddau o gymeriadau ereill. Bu am lawer o flynyddoedd yn un o'r dylanwadau cryfaf yn y *Congregational Union*. Efe oedd Cadeirydd yr Undeb yn 1869—cyn ei fod yn llawn ddeugain oed; ac efe a bregethodd bregeth yr Undeb yn Abertawy yn 1871. Testun ei anerchiad yn y Cyfarfod yn Llundain, yn Mai, ydoedd "Crist a Dadleuon y Byd Cristionogol"; a thestun yr anerchiad yng nghyfarfod yr Hydref yn Wolverhampton oedd, "Yr Ysbryd Glân yn ei berthynas â Gweinidogaeth, Addoliad, a Gwaith yr Eglwys." Cyfieithwyd yr anerchiad cyntaf i'r Gymraeg, ond nid oes gopi o'r cyfieithiad yn dygwydd bod yn awr wrth ein llaw. Tynnodd sylw mawr trwy yr holl deyrnas; ac yr ydoedd yn ddiddadl yn wir ragorol. Cynyrchwyd gradd o anfoddlonrwydd mewn rhyw gylchoedd yn yr enwad gan rai ymadroddion yn yr anerchiad Hydrefol. Nid oedd golygiadau Dr. Dale ar y Sacramentau, yn y Llawlyfr ar Egwyddorion Cynulleidfaoliaeth, yn gymeradwy yn ngolwg llawer o'i frodyr; ond ni chyfeiriwn ymhellach at yr helynt gyda'r Llawlyfr ar gyfrif y golygiadau hynny. Edrychid arno gan lawer o Anibynnwyr fel math o Uchel Eglwyswr yn eu mysg; yr oedd ei syniadau am yr Eglwys ac am y Sacramentau yn ddiau yn dra gwahanol i'r eiddo llawer o'i frodyr. Ond yr oedd ei syniadau ar y materion hyn yn rhai y teimlai yn gryf drostynt; a chyfeiriodd atynt drachefn yn ei bregeth ar "Gymundeb y Saint," yn Abertawy, yn 1871; ac hefyd yn ei draethawd yn yr ail gyfres o *Ecclesia* ar "Y drychfeddwl o Eglwys yn ei berthynas a Chynulleidfaoliaeth Ddiweddar," ond nis gallwn aros ychwaneg gyda'r syniadau hyn.

Cyn diwedd ei oes ciliodd o'r Undeb. Ac nid oes yn y bywgraffydd yr awydd lleiaf i dynnu llen dros yr amgylchiadau a arweiniodd i'r cam hwnnw. Dengys yn wir ddoethineb a mwyneidd-dra nodedig wrth eu hadrodd, ac anhawdd fyddai gennym gredu y gall neb deimlo yn ddolurus oherwydd dim a ysgrifenwyd ganddo. Am neilltuaeth Dr. Dale yr oedd mawr ofal calon gan lawer o'i frodyr; a chafodd yntau, cyn terfyn ei daith, weled ei fod mor ddwfn yn eu serchiadau ag erioed.

Hawdd fyddai ysgrifennu erthygl ar ei wasanaeth i Ryddfrydiaeth a'i ymdrechion o blaid datgysylltiad a dadwaddoliad yr Eglwys Sefydledig. Ond yr ydym yn gadael y mater hwn, ac yn gadael hefyd ei safle fel Undebwr Rhyddfrydig yn ei flynyddau olaf heb gyffyrddiad pellach. Rhaid ini ddwyn ein sylwadau i derfyniad trwy ychydig gyfeiriadau at ei ddiwinyddiaeth.

Fel yr awgrymwyd eisoes ymwrthododd yn llwyr â'r gyfundrefn Galfinaidd; ac ni bu bob amser yn ofalus i fesur ei ymadroddion wrth gyfeirio ati. Fel hyn yr ysgrifenna Dr. Fairbairn am dano yn y cysylltiad hwn:—

"Peidiodd a bod yn Galfiniad heb fyned yn Arminiad; a gwnaeth ddrychfeddwl sylfaenol neu syniad llywodraethol y ddiwinyddiaeth newydd ryddfrydig yn eiddo iddo ei hun yn y fath fodd ag i roddi gwedd newydd (*modify*) ar yr hen athrawiaethau efengylaidd heb eu rhoddi i fyny. Mewn canlyniad ymddangosai fel yn ymosod ar yr hen ddysgeidiaeth uniongred ar y naill law, ac ar yr athrawiaeth newydd ryddfrydig ar y llaw arall. Yn ei *Discourses on Special Occasions* beirniadai yn llym ac agored rai athrawiaethau Calfinaidd, megys Iawn terfynol, llygriad gwreiddiol, a'r drwg naturiol sydd yn llygru (*vitiate*) hyd yn oed rinweddau y dyn diailanedig. Ond yr oedd ynddo deimlad rhy ddwfn a rhy wirioneddol o ddrwg pechod, ac mewn canlyniad o'r angen am weithrediad effeithiol Duw, i ollwng ei afael byth o brif athrawiaethau Gras. Credai mor gryf a Chalfin ei hun ym mhen arglwyddiaeth Duw, ond credai hefyd yr un mor wirioneddol ag Arminius yn rhyddid dyn. Credai mor gryf a Maurice ym mhreswyliad Crist mewn dyn, neu yng nghreadigaeth pob peth ynddo Ef; ond credai mor ddidwyll ag unrhyw ddiwinydd efengylaidd uniongred yn yr Iawn fel unig sail cymod rhwng dyn a Duw."

Cyfeiriwyd eisoes at ei lyfr ar yr Iawn fel ei lyfr goreu; gellir dywedyd ymhellach mai yr Iawn ydoedd canolbwynt ei gyfundrefn ddiwinyddol. Ond nis gallai weled ei ffordd i dderbyn yr athrawiaeth yn y ffurf y ceir hi mewn unrhyw gyfundrefn. Gwelai yr anhawsterau yn yr amrywiol olygiadau ar yr Iawn yn eglur; a gwelai hefyd mai nid gorchwyl bychan oedd ffurfio unrhyw ddamcaniaeth yn rhydd oddiwrth anhawsterau. Felly, ni a gredwn, yr arweiniwyd ef i roddi y fath bwyslais ar y gwahaniaeth rhwng ffaith yr Iawn ac athrawiaeth yr Iawn. Ond ystyriai yr athrawiaeth ar yr un pryd yn angenrheidiol; ac felly ymdrechodd yn galed i'w llunio iddo ei hun, heb ddilyn yn gaeth unrhyw ddysgawdwr blaenorol. Hawdd ydyw gweled dylanwad amryw ddysgawdwyr arno; ond yr oedd ei athrawiaeth yn un a weithiodd allan yn deg drosto ei hun. Fel hyn y dywed Dr. Fairbairn am dano yn y cysylltiad hwn:—

"In his mode of conceiving the Atonement he showed how the varied elements which he had inherited had been worked into a unity that was all his own. He distinguished in a very characteristic English way the fact of the Atonement from theories concerning it. The fact was to him the relation between the death of Christ and the forgiveness of sins. This relation was to him clearly stated in the New Testament, and was a fact of his own experience which appeared verified by the uniform experience of the Church. . . The fact was independent of theory; men who were without a theory as to the Atonement, or as to how it made forgiveness possible, and how secured it, or who had a theory demonstrably false or grossly inadequate, had yet been as sure as the men who had formulated the worthiest and most exalted doctrine that the death of Christ was the ground of their pardon.

But though the theory was in no degree necessary to the practical enjoyment of the benefit of Christ's death, yet thought was bound to seek the reason why it became Him to die upon the Cross. The intellect therefore made theory necessary to faith, and a means of piety especially in a critical and rational age. . . . His insistence upon the fact reposed upon a philosophy which affirmed the Death to be necessary to forgiveness.

But even to speak of necessity was to be compelled to ask for its reason. Why was the death of Christ necessary to the forgiveness of sin? He began his answer by a careful analysis of the New Testament teaching on the subject, and he here showed himself a true biblical theologian. He did not, in the manner of the older dogmatic, make a collection of proof texts, classifying them under special heads, marshalling them, as it were, in battalions and under a discipline which he himself had enforced; but he carefully took the writers in detail, and attempted to interpret their mind in its concrete expression. He

followed the evolution of thought in each case from point to point, and alike in the case of Jesus and the Apostles showed that the connection between the Death and forgiveness had been uniformly affirmed. The exegesis was skilful; admirable alike for its historical sense and its dialectical power. But his evidences were collected and co-ordinated only that he might the better attempt to find the reason for the connection, the theory for the relation which had been stated so invariably. The result was the constructive Doctrine of the Atonement, which may be described as his most reasoned contribution to the theory of his time."

Rhaid ini, pa fodd bynnag, fyned heibio y tro hwn heb wneuthur unrhyw gais i osod allan yr athrawiaeth. Yr ydym yn petruso cyfeirio wrth derfynu at ei olygiad am y sefyllfa ddyfodol; ond y mae yn gwbl hysbys i ddarllenwyr y TRAETHODYDD fod Dr. Dale ers blynyddoedd wedi derbyn y syniad o Anfarwoldeb Amodol,—anfarwoldeb yn unig i'r rhai ydynt yng Nghrist. Dengys Dr. Fairbairn fod ei olygiad ar y mater hwn, fel ar faterion pwysig ereill, yn cyfodi o'i syniad am yr Iawn. Ond y mae wedi ennill mwy o sylw cyhoeddus yn ddiau nag a haeddai y lle a roddid iddo yn ei ddysgeidiaeth gan Dr. Dale ei hun. Yn 1874, yng nghyfarfod yr Undeb Cynnulleidfaol, y gwnaeth y datganiad cyhoeddus cyntaf o'i safle ar y cwestiwn, er y gwelid yn amlwg cyn hynny ei fod wedi ymwrthod â'r syniadau y dygasid ef i fyny ynddynt. Ond wedi unwaith wneuthur y datganiad, glynodd wrtho yn gyson hyd ddiwedd ei oes; er na wnaeth unrhyw ymgais i roddi i'r mater fwy o le nag a haeddai yn ei ddysgeidiaeth. Y safle a gymerodd i fyny oedd safle y Parchedig Edward White, sef nad ydyw dyn yn naturiol yn anfarwol, eithr ei fod yn derbyn yng Nghrist y rhodd o anfarwoldeb. A'r un safle yn holiol a gymerwyd i fyny gan Mr. Gladstone. Ond er darllen rhesymau Dr. Dale a Mr. Gladstone, yr ydym yn glynu yn ddiysgog wrth ein cred yn anfarwoldeb yr enaid.

Fel y canlyn y terfyna Dr. Fairbairn ei draethawd ar Dr. Dale fel diwinydd, a gallwn ninnau yn briodol ddwyn ein herthygl i derfyniad trwy ddyfynnu y paragraff :—

"On the whole, when we survey Dale's work as a Theologian, we are forced to say that our generation has had no abler interpreter of Evangelical thought. His conspicuous merit was a depth that was never narrow and a breadth that was never shallow. He was many-sided, rich in his interests, vivid in his speech, clear and compact in his thought, masterly in his collective influence. Were we to select a word to express his most distinctive quality, we should say he was *massive*; but his massiveness was homogeneous, expressing a rare unity and integrity of nature, and representing in its outward being the character and the convictions of as honest a man and as distinctive a thinker as these later times have known."

GRIFFITH ELLIS.

*Bootle.*

# LENORE.

"Sorrow for the lost Lenore—
For the rare and radiant maiden whom the angels name Lenore—
Nameless here for evermore."

DRWY yr hirnos dwfn fyfyriais, drosodd drosodd mi ystyriais
Brudd-ymddiddan bardd aniflan efo'r gigfran ar y ddôr;
Nes y teimlais fod bodolaeth fel rhyw gysgod o farwolaeth,
Ac mai ofer yw eiriolaeth pan ddel adfyd fel y môr;
"Och!" dolefais, "be dal wylo? Oni chauodd Angeu'i ddôr
Ar y feinir fwyn Lenore?"

Bron na theimlwn yn f'ystafell fel gwallgofddyn yn ei gafell,
A'i olygon fyth yn gwibio yn ddiorffwys yma a thraw;
Bron na theimlwn fod y cerrig arna'i rhuo yn rhyferrig,
"Dianc adyn rhag y peryg sy'n dy fygwth ar bob llaw!
Serch it' gael rhyw gipdrem heno ar gymylau broydd braw,
Nid yw'n ddim i'r hyn a ddaw."

Fföais allan yn orffwyllog, ymaith rhedais yn amhwyllog,
Fel pe tai rhyw ddig ellyllon yn fy erlid drwy y nôs;
Weithiau dringwn y clogwyni, wedyn treiddiwn trwy'r tewlwyni,
Ymbalfalwn rhwng y twyni, neu ymlusgwn hyd y rhôs;
Nes daeth adlais o'r gorwelion, "Oddiyma byth na ddôs
Heb gofiannu'r fanon glôs."

Yna'n ofnus meiddiais holi, "Pa les imi fyddai moli
Un enynnodd gerdd anfarwol wedi peri marwol glwy?
Beth a ddigwydd im' os canaf finnau alar-gerdd ddianaf
I Lenore y rîan lanaf? Beth a ddaw ohonof mwy?"
Fe ddaeth ateb, "Onid dedwydd a bendigaid fyddant hwy
Gawsant ganddi farwol glwy?"

Wedyn holais, "Ond ple triga'r fwyn gariadferch a'm bendiga?
Parod wyf i ddioddef erddi unrhyw lafur, unrhyw loes;
Af a threiddiaf i'r pellderau, mi wynebaf bob blinderau,
Gwenaf dan bob anhwylderau, caraf hi holl ddyddiau'm hoes;"
Dyna'r ateb, "Er dy ymffrost, paid a'i cheisio onid oes
Gennyt nerth i ddwyn dy groes."

"Lais dieithrol, pam y poeni un sydd eisoes yn dihoeni,"
Felly llefais yn y ddunos, "ple mae rhawd y rîan wèn?
Hyd ba lennyrch mwyn arddunol, hyd ba ddyfroedd byth-ddymunol,
Ym mha encilfeydd gwanwynol, os yw eto îs y nen?
Cefais ateb dorrai'm calon, "Os dymuni godi'r llen,
Chwilia'r byd o ben i ben."

*

Gyda hyn fe lwyr ddistawodd, i'm hunigedd fe'm gadawodd,
Heb ymwared ar y ddaear, ac heb wawr o obaith fry;
Ataf mwy ni ddaw llawenydd fel ehedydd ar adenydd,
Ni chaf i fy mhen obennydd, nac i'm traed orffwysfa gu,
Nes cusanaf finnau'r fynwes i bob bardd yn fywyd fu,
Eto'n waeth nag Angeu du.

Ar fy enaid trymach trymach, yn fy nghalon llymach llymach
Elai delw'r fun fendigaid eilw'r awen yn Lenore;
Yna tröais at y tonnau oedd yn curo eu dwyfronnau,
Ac yn arllwys eu calonnau fel rhyw farwnadol gôr;
A gofynnais onis gwyddent ym mha ran o deyrnas Iôr
Cawn gymundeb â Lenore.

Codai'r gwynt ei lef cwynfannus, mud wrandawai'r graig oedrannus,
Minnau dybiais glywed adsain lleddf yn dyfod dros y môr;
Daeth yn drymllyd fel ochenaid o ryw archolledig enaid
Wylai am gydymaith canaid wedi mynd i'r nefol gôr—
Yno i ganu yn dragywydd o gylch gorsedd wèn yr Iôr—
Wylaf finnau am Lenore.

Ar y traeth dechreuais gefnu, yn fy meddwl ceisiais drefnu
Lle i chwilio am y feinwen ddygodd ddolur i fy mron;
Onid gwell a fyddai huno, er mwyn gorffwys a dadflino?
Fory hwyrach caf ymuno hefo llu'r gwib-deithwyr llon
Gyrchant beunydd yma ac acw mor ddiboen ar dir neu dòn—
Ddedwydd dyrfa'r ddaear hon.

Dacw'r wawr ar ael y dwyrain, O! nad allwn wneud arwyrain,
Fel yr adar mân a bynciant gân o foliant yn y llwyn;
Wele'r porffor yn ymblethu hefo'r aur a minnau'n methu,
Gan y gofid sy'n fy llethu, eilio dim ond galar-gwyn;
Ond dywedaf wrth y wawrddydd, "Dilys yw dy fod yn dwyn
Achles yn dy fynwes fwyn."

Chwim ddylifa'r dydd ymdaenol dros y bryn a thros y faenol,
Dug i ddyn a milyn weithion ryw fendithion yn ei law;
Ond trymhau y mae fy mhryder a gwanhau y mae fy hyder
Am iachâd o'r cur sy'n trydar yn fy mynwes yn ddidaw;
Och! oleuni, ddoist i'm gwawdio? Gwell im' fyddai bröydd braw
I ymguddio rhag a ddaw.

Suddo wnai fy enaid gwanllyd, ond 'roedd traserch fyth yn danllyd,
Ac mi gyrchais tua'r ddinas lle mae moethau'n amlhau;
Gwelais ddeuddyn yn prïodi ac offeiriad yn arddodi
Dwylaw arnynt er dynodi fod dedwyddwch i barhau;
Ond cyn hir fe ganfum gwmwl ar yr undeb yn pruddhau,
Ac yn duo bywyd dau.

Tua bwth y teulu gweithiol euthum wedyn yn obeithiol,
  Pwy a ŵyr na chaf hi'n cuddio'i thegwch dan ryw garpiau llwyd ?
Yno gwelaf ael ffyddlondeb, yno gwelaf wên bodlondeb,
  Yno hefyd law rhadlondeb yn cyfrannu'r tamaid bwyd;
Ac mi welaf ddagrau galar yn dwfn-rychu'r graith nas cwyd ;
  Ond Lenore, ym mha le'r wyd ?

Wedi hyn yn araf araf cerddais tua lle nis caraf,
  I balasdy'r gŵr pendefig, ac mi gurais wrth y ddôr;
Yno hawddfyd oedd yn gwenu, ac ardduniant yn hud-ddenu,
  Odid nad oddiyna'r heny swyngyfaredd yn ystôr ;
Ond er fod rhyw ddwfn ddiddanwch yno'n chwyddo fel y môr,
  Ofer edrych am Lenore.

I leiandy neillduedig crwydrais wedyn yn flinedig,
  Curais wrth y ddor yn wylaidd, holais am ei hencil hi ;
Yno gwelais fwyn rianod, yn ymdyrru fel gwylanod,
  Henffych i chwi, lân leianod, Duw fendithio'ch dyddiau chwi ;
Gwelaf arnoch bob rhinweddau, tegwch a gwyryfol fri,
  Ond "Lenore" yw byth fy nghri.

Oddiyno'n brysur ciliais, a thrachefn yn ddyfal chwiliais,
  Ac edrychais ar y blodau'n tyfu i addfedrwydd Haf ;
Gwelais Hefin yn gorsafu, dwylaw Medi'n cynhauafu,
  Wedyn Rhagfyr yn gauafu nes aeth gwedd y byd yn glaf ;
Ac mi waeddais mewn anobaith, "O ! f' anwylyd, oni'th gaf,
  I dir anghof eto af."

Distaw daena'r nos ei llenni dros y moroedd a'r wybrenni,
  Ar y bryn a thros y dyffryn wele'r dydd yn newid gwedd ;
O blith dynion mi ddiangaf, drwy y ddunos ymgrafangaf,
  Yn flinderus af nes sangaf lle mae Angeu'n gwneud ei sedd ;
Mewn eneidiol ing dolefaf, "Ni chaf mwyach brofi hedd,
  Ond yn nhywell fro y bedd !"

Ha ! be welaf yn tywynu drwy y caddug oddifyny,
  Yn fwy llachar na'r goleuni, yn fwy hardd na'r fore wawr ?
Dacw 'i hwyneb arnai'n gwenu, dacw 'i llygaid yn serennu,
  Fel pe carai hi fy nenu o fy mhoen a'm trallod mawr ;
Dyma falmau i fy nolur ! Dyma'm gwynfydedig awr !
  Fun fendigaid ! tyrd i lawr.

Heno marw yw fy nghalon i bob ofnau a gofalon,
  Diogel wyf ym mro'r cysgodion rhag tymhestloedd tir a môr ;
Yma peidiaf a chwynfannu, yma hyfryd yw cofiannu,
  Fry mi glywaf swn moliannu a dyrchafu enw'r Iôr ;
Ond melusaf yn telori ymysg llu'r angylaidd gôr
  Ydyw llais y fwyn Lenore.

EX TENEBRIS.

## CENADWRI YMHERAWDWR RWSIA.

"Trwy ddirgel ffyrdd mae'r uchel Iôr
  Yn dwyn ei waith i ben;
Ei ystafelloedd sy'n y môr,
  Mae'n marchog gwynt y nen."

ERIOED ni wiriwyd yn well y llinellau hyn na thrwy y genadwri a droeglwyddwyd gan Count Mouravieff, ar ran Ymherawdwr Rwsia, ar y 24ain o Awst diweddaf, i ddwylaw yr holl lys-genhadon tramor a ddalient gred-lythyrau i'w Lys yn St. Petersburg. Yn y flwyddyn 1816—y flwyddyn gyntaf ar ol brwydr fyth gofiadwy Waterlw—sefydlwyd Cymdeithas Heddwch. Byth er hynny y mae y gymdeithas ardderchog hon, trwy barch ac amharch, trwy anghlod a chlod, er pob anhawsterau, wedi parhau i ddinoethi yn ddidrugaredd rwysg ac aflwydd rhyfel, a dyrchafu ei llef yn ddifloesgni ymhlaid cyfiawnder a heddwch. Crynwyr yn bennaf sydd wedi dwyn pwys y dydd a'r gwres mewn cysylltiad â hi, ac y maent wedi ymdrechu a dyfalbarhau o blaid yr amcanion goruchel sydd iddi gyda sel deilwng o'r bobl ddi-ildio hynny. Llawer hefyd a ddadleuodd ein cydwladwr anrhydeddus Henry Richard drosti. Ond er cystal ei hamcan, ac er dewred ei phleidwyr, ychydig fu ei llwydd. O hynny hyd yn awr cymerodd rhai o'r rhyfeloedd mwyaf gwaedlyd le, megys rhyfel y Crimea, rhyfel Cartrefol yr Unol Daleithiau, rhwng Awstria a Germani, rhwng Germani a Ffrainc, rhwng Rwsia a Thwrci, a rhwng Ffrainc a Spaen, heblaw mân ryfeloedd rhwng cenedloedd llai a llai gwareiddiedig.

A gwaeth na hynny. Nid yn unig nid oedd neb yn ymddangos fel pe yn foddlawn i roddi clust-ymwrandawiad i addysg Cymdeithas Heddwch, ond, ar y llaw arall, ymddangosai fel pe buasai rhyw wallgofrwydd anesboniadwy wedi goresgyn yr holl genhedloedd nes peri iddynt ruthro fel gwallgofiaid i ymorchestu i ragori ar eu gilydd mewn darpariaethau rhyfelgar.

Fel y dengys y daflen ganlynol, yr hon a gymerwyd allan o'r *Financial Reform Almanack* am y flwyddyn hon, y mae treuliadau rhyfel yn ystod y deng mlynedd ar hugain diweddaf yn nheyrnasoedd Ewrob bron wedi dyblu :—

TREULIADAU MILWRAIDD TEYRNASOEDD EWROB YN 1869—70 A 1897—98.

| GWLAD. | 1869—70. | 1897—8. | CYNNYDD. |
|---|---|---|---|
| | £. | £. | £. |
| 1.—Prydain Fawr | 22,748,000 | 40,180,000 | 17,432,000 |
| 2.—Ffrainc | 23,554,000 | 37,000,000 | 13,446,000 |
| 3.—Rwsia | 15,400,000 | 35,600,000 | 20,200,000 |
| 4.—Germani | 11,217,000 | 32,800,000 | 21,583,000 |
| 5.—Awstria-Hungari | 9,103,000 | 16,041,000 | 6,938,000 |
| 6.—Itali | 7,070,000 | 13,510,000 | 6,440,000 |
| 7.—Belgium | 1,475,000 | 1,936,000 | 461,000 |
| 8.—Bulgaria | .. | 884,000 | 884,000 |

| GWLAD. | 1869—70. | | 1897—8. | | CYNNYDD. |
|---|---|---|---|---|---|
| | £. | | £. | | £. |
| 9.—Denmarc ...... | 727,000 | .. | 946,000 | . | 219,000 |
| 10.—Spain .......... | 5,018,000 | .. | 10,621,000 | .. | 5,603,000 |
| 11.—Groeg .......... | 144,000 | .. | 934,000 | .. | 790,000 |
| 12.—Holland ........ | 2,066,000 | .. | 3,275,000 | .. | 1,209,000 |
| 13.—Portugal ........ | 1,119,000 | .. | 2,196,000 | .. | 1,077,000 |
| 14.—Roumania ...... | 722,000 | .. | 1,779,000 | .. | 1,057,000 |
| 15.—Servia .......... | 648,000 | .. | 565,000 | .. | 83,000* |
| 16.—Sweden ...... | 909,000 | .. | 1,855,000 | .. | 1,706,000 |
| 17.—Norway ...... | | .. | 760,000 | .. | |
| 18.—Switzerland .... | 104,000 | .. | 1,100,000 | .. | 996 300 |
| 19.—Twrci .......... | 4,003,000 | .. | 6,981,000 | .. | 2,978,000 |
| Cyfanswm ...... | 106,027,000 | | 208,963,000 | | 102,936,000 |

*Lleihad.

Y mae hwn yn gynnydd aruthrol mewn amser mor fyr—bron dyblu y treuliadau milwrol mewn llai na deng mlynedd ar hugain o amser. A pharhau i gyflymu y mae y rhedegfa. Y mae ein treuliadau milwrol ni ein hunain bron dair miliwn o bunnau yn fwy eleni nag oeddynt y llynedd, ac yn fwy o bron bedair miliwn ar ddeg yn y flwyddyn nag oeddynt ddeng mlynedd yn ol. Ac y mae treuliadau y gwledydd ereill yn gyffelyb. Canlyniadau naturiol y gystadleuaeth ynfyd hon ydynt:—

1 Nad yw y cydymgeiswyr yn cyrraedd yr hyn y maent yn amcanu ato. Eu bwriad hwy ydyw gosod eu hunain mewn sefyllfa fanteisiol naill ai i wrthsefyll ymosodiad oddiwrth eu cymydogion neu i feddiannu rhyw safle o fantais rhag i'w cydymgeiswyr ei chael. Ond yn hyn y maent yn methu. Tra y maent hwy yn ychwanegu eu nerth, y mae y lleill yn ychwanegu eu nerth yn gyffelyb, fel nad ydynt yn y diwedd, o ran cymhariaeth, ond yn yr un fan.

2. Trwy y treuliadau anferth hyn y maent bellach wedi galw allan, yn ymarferol, eu holl ymadferthoedd mewn dynion, fel nad oes ganddynt le mwyach i gynyddu. Ar y cyfandir yn neillduol y mae hyn yn wir. Yn awr gorfydd pob dyn ieuanc mewn oedran a nerth priodol yn y teyrnasoedd hynny ddwyn arfau. A'r canlyniad yw fod uwchlaw tair miliwn ar hugain o wŷr ieuainc Ewrob heddyw—fel y dywedwyd, yn ymarferol holl nerth y teyrnasoedd—yn agored i gael eu galw allan unrhyw ddiwrnod, naill ai i wneud neu i wrthladd ymosodiad.

3. Trwy y fath dreuliadau ar weithrediadau nad ydynt yn cynhyrchu dim elw, lleiheir adnoddau cenedl o ran gallu a chyfoeth, fel y mae ei nerth milwrol yn troi yn wendid iddi.

4. Ychwanegir y dyledion gwladol i'r fath raddau nes y mae y teyrnasoedd hynny yn myned yn analluog i fenthyca mwyach ond am grogbris o lôg, ac yn y diwedd i fethu benthyca am unrhyw lôg. Y mae heddyw yn Ewrob deyrnasoedd fuont unwaith yn enwog am eu coel nad ymddiriedir symiau o arian iddynt am bris yn y byd. Nis gallant fenthyca mwy; ac y mae ereill yn eu prysur ddilyn.

Yn y cyfwng difrifol hwn yr ydym yn cael ein hunain yn awr; ac y mae amryw gwestiynau yn ymgymhell yn naturiol i'n sylw y tybiwn y dylid cael atebiad iddynt: 1. Pa fodd yr aethom i'r sefyllfa hon? 2. Pa beth ydyw cynygion Ymherawdwr Rwsia yngwyneb

hyn? 3. Beth fydd canlyniadau derbyniad neu wrthodiad y cynygion hyn?

1. Pa fodd yr aethom i'r sefyllfa hon? Fel y gwelir, dechreuodd y symudiad i gynyddu sefydliadau milwraidd fel y maent yn awr oddeutu 1869—70—adeg y rhyfel rhwng Ffrainc a Germani. Gellir dweyd fod y syniad yn yr awyr rai blynyddoedd cyn hynny. Yn 1863 y torrodd allan y rhyfel cartrefol mawr yn America. Yr oedd hwnnw yn ddiameu yn rhyfel na bu braidd erioed ei gyffelyb o ran nerth ac adnoddau y pleidiau, ynghyd a'r penderfyniad anhyblyg gyda'r hwn yr ymladdasant y frwydr allan. Ond un peth oedd yn taro yr edrychwyr yn fawr oedd, yn gymaint a bod y ddwy ochr ar y dechreu mor hollol amharod i ymladd, y draul ddigyffelyb yr oedd yn rhaid iddynt fyned iddi, nid yn unig i baratoi eu byddinoedd, ond hefyd i gasglu arfau a defnyddiau rhyfel. Yr oedd y teimlad yn gryf na ddylai y deyrnas hon, pe digwyddai i ryfel dorri allan rhyngddi â rhyw wlad arall, gael ei dal yn amharod, fel yr oedd America. Pan dorrodd y rhyfel ofnadwy rhwng Ffrainc a Germani allan yn 1870, parodd amharodrwydd y Ffrancod, ynghyd a pharodrwydd a threfniadau perffaith Moltke, a chyflymder a llwyredd y fuddugoliaeth ar ran y Germaniaid, yr effeithiau mwyaf. Rhag y gallai y fath beth ddigwydd i ninnau yr oedd mawr ofal calon, a pharodd i'n harweinwyr benbleth ddwys. Pasiwyd dilead pryniant swyddau yn y fyddin, ac, yn y flwyddyn 1871—72, dechreuodd y treuliadau milwraidd chwyddo. Cynyddasant y flwyddyn honno dros dair miliwn o bunnau—yn bennaf yn y llynges. Safasant yn y codiad hwn, heb ychwanegu nemawr, hyd 1884, pan y dechreuodd ysgrifennwr adnabyddus iawn, a gŵr sydd yn cymeryd y rhan fwyaf blaenllaw yn awr i geisio gostegu yr ystorm a gyfododd—Mr. Stead—ysgrifennu yn y papur newydd a olygai, y *Pall Mall Gazette*, ar "Y gwir o berthynas i'r Llynges." Haerai, gan fod ein masnach a'n cynhaliaeth yn dyfod bron yn llwyr o'r môr, y dylem fel gwlad feddu yr oruchafiaeth yn ddiamheuol ar yr elfen derfysglyd honno. Gwnaeth ei ysgrifau gyffro mawr. Yr oedd rhesymoldeb yn y peth, a chan fod cryn arian i'w gwario a'u gwneuthur—pwy bynnag oedd i dalu—trwy y symudiad, daeth yr ysgogiad yn boblogaidd, yn neillduol ymysg y fyddin a'r llynges, a'u pleidwyr dylanwadol a lliosog. O 1884—85 hyd yn awr, y mae y cynnydd yn nhreuliadau y fyddin a'r llynges wedi bod uwchlaw un filiwn ar bymtheg yn y flwyddyn. Dyna ran Prydain yn y rhedegfa. Nid hi, feallai, sydd yn gyfrifol am ddechreu rhedeg. Braidd na feddyliwn fod gan Ffrainc a Germani, ac yn neillduol Germani a Rwsia, y rhan fwyaf blaenllaw yn hyn. Ond wedi dechreu rhedeg, nid oes yr un wlad am gymeryd ei churo. Felly, os daw Rwsia, neu un o'r gwledydd ereill, i wario mwy nag arfer, bydd hynny yn ddigon o esgus gan Dŷ y Cyffredin bleidleisio symiau cyffelyb, pa un bynnag a allant eu gwario yn gyfaddas ai peidio. Yr unig gwestiwn ydyw, pa un a ddichon barhau yn hwyaf i wario? Y mae Prydain wedi penderfynu, nid yn unig y myn fod ar y blaen—yn ei llynges, doed a ddelo—ond hefyd pa faint y mae am fynnu bod ar y blaen. Nis gall fod yn dawel heb fod ganddi gymaint o nerth llyngesol ag unrhyw ddau allu morwrol a ddichon ymosod arni. Felly y mae y peth yn hollol glir. Os ydyw

Rwsia a Ffrainc, neu ryw alluoedd ereill, yn ychwanegu at eu llynges, rhaid i Brydain gael yr un faint â hwy. Oblegyd ei phenderfyniad dianwadal ydyw bod yn bennaf—ar y môr.

Ynglŷn â hyn y mae mater arall wedi dyfod i'r golwg. Nid yn unig yr ydym y teimlo y dylem fod yn barod i ryfel, ar rybudd byr, ac y dylai ein gallu morwrol fod gymaint ag unrhyw ddau o'r prif alluoedd; ond ers ugain mlynedd, ac yn neillduol ers deuddeg—sef ar ol i ni ddechreu ychwanegu o ddifrif at ein llynges—y mae rhyw awyddfryd angerddol wedi dyfod drosom, yn iaith Arglwydd Rosebery, mewn araeth o'i eiddo, i ddodi ein dwylaw ar bob llain o dir cyfagos i'r eiddom ni ein hunain, neu y byddai yn ddymunol i ni, oddiar unrhyw olygiad, ei feddiannu. "Cafodd hyn," meddai ei Arglwyddiaeth, "ddau effaith. Yr effaith cyntaf yw hwn: yr ydych wedi cyffroi i raddau braidd anioddefol eiddigedd cenhedloedd ereill sydd yn meddu trefedigaethau; ac, yn achos llawer, neu yn hytrach rhai gwledydd, y rhai oeddynt o'r blaen yn gyfeillgar, gallwch gyfrif, oherwydd eich gwleidyddiaeth dramor, pa un bynnag ai cam ai cymwys—ac yr wyf fi fy hun yn cael edrych arnaf fel pechadur yn yr ystyr hwnnw—gallwch gyfrif, nid ar eu caredigrwydd, ond ar eu hangharedigrwydd gweithgar; ac, yn ail, yr ydych wedi meddiannu y fath swm anferthol o ddaear, fel y byddwch flynyddoedd cyn y gallwch ei sefydlu, na'i lywodraethu, na'i wneud yn amddiffynadwy, neu yn gyfryw y gellir cymhwyso ato eich medrusrwydd goruchwyliaethol. A oes gennych chwi unrhyw syniad am yr hyn yr ydych wedi ei ychwanegu at yr Ymherodraeth o fewn yr ychydig flynyddoedd diweddaf? Yr wyf wedi cymeryd y drafferth i wneuthur i fyny y cyfrif, yr hwn, mi gredaf, sydd yn wir. Yn ystod deuddeng mlynedd yr ydych wedi ychwanegu at yr Ymherodraeth, naill ai yn y ffurf o uniad gweithredol, neu lywodraethiad, neu yr hyn a elwir yn gylch o ddylanwad, 2,600,000 o filldiroedd ysgwâr! . . . . Arwynebedd y Deyrnas Gyfunol—Lloegr, Ysgotland, Cymru, Iwerddon, Ynysoedd y *Channel*, ac yn y blaen—ydyw 120,000 o filldiroedd ysgwâr. Felly, at yr 120,000 o filldiroedd ysgwâr perthynol i'r Deyrnas Gyfunol, yr hyn sydd ran o'ch Ymherodraeth, yr ydych wedi ychwanegu, yn ystod y deuddeng mlynedd diweddaf, arwynebedd gymaint ddwy waith ar hugain a'r Deyrnas Gyfunol ei hun. Dywedaf hyn: fod hynyna yn nodi allan, am lawer o flynyddoedd, linell o wleidyddiaeth i chwi oddiwrth yr hon nis gallwch ymadaw." Yn ystod yr un cyfnod y mae Ffrainc wedi ychwanegu 927,000 o filldiroedd ysgwâr, a Germani 1,200,000 o filldiroedd ysgwâr at eu tiriogaethau—llai gyda'u gilydd nag yr ydym ni wedi ei ychwanegu ein hunain. Nis gellir rhoddi y ffigyrau am Rwsia, ond nid oes dim lle i gasglu y byddai y rhai hynny yn rhyw lawer iawn. Y mae oddeutu y bedwaredd ran o'r ddaear i gyd yn perthyn yn awr i ni. Felly, tra mai esgus arwynebol y teyrnasoedd wrth ymbaratoi i ryfel ydyw mai "y ffordd oreu i sicrhau heddwch ydyw bod yn barod i ryfel;" y rheswm gwirioneddol, yn neillduol y blynyddoedd diweddaf, dros yr ymarfogi beichus hwn, ydyw galluogi y gwahanol deyrnasoedd hyn i "feddiannu cyfaneddau nid yw eiddynt," ac i ysbeilio y cenhedloedd o'u gwledydd.

2. Y cwestiwn nesaf ydyw, Pa beth ydyw cynygion Ymherawdwr Rwsia yng ngwyneb hyn? Y mae yr Archiad Ymherodrol yn un

pwysig—yn gyfryw ag y cyfeirir yn ol ato yn ddiamheu mewn oesoedd sydd i ddyfod—ac, oherwydd hynny, yr ydym yn cael ein tueddu i roddi cyfieithiad o hono yma, h y. cyfieithiad o gyfieithiad. Rhêd fel y canlyn :—

"Cyflwyna diogelu heddwch cyffredinol, a'r posibilrwydd o leihau yr ymarfogi gormodol sydd yn pwyso mor drwm ar yr holl genhedloedd, eu hunain i ni yn amgylchiadau cyffredin yr holl fyd, fel y nôd at yr hwn y dylai prif ymgais yr holl Lywodraethau gyfeirio.

"Y mae syniadau dyngarol a dyrchafedig ei Fawrhydi yr Ymherawdwr, fy arglwydd goruchel, wedi eu hennill drosodd i'r golygiad hwn. Yn yr argyhoeddiad fod yr amcan goruchel hwn mewn cydymffurfiad a buddiannau mwyaf hanfodol a golygiadau cyfreithlawn yr holl Alluoedd, tybia y Llywodraeth Ymherodrol fod yr amser presennol yn adeg ffafriol i geisio, trwy drafodaeth rhwng y cenhedloedd, y ffordd fwyaf effeithiol i ddiogelu i'r holl bobloedd, fendithion heddwch sylweddol a pharhaus, ac, uwchlaw pob peth, i roddi terfyn ar ddadblygiad cynyddol yr ymarfogiad presennol.

"Yn ystod yr ugain mlynedd diweddaf y mae yr hiraeth am heddwch cyffredinol wedi cael ei deimlo yn ddwfn ynghalonnau cen dloedd gwareiddiedig. Y mae cadw yr heddwch wedi cael ei ddatgan fel nôd i gyrchu ato i wleidyddiaeth rhwng y cenhedloedd; yn ei enw y mae gwladwriaethau cryfion wedi ymffurfio yn gynghreiriau nerthol; mewn trefn i gadw yr heddwch yn well y maent wedi dadblygu i raddau digyffelyb o'r blaen eu galluoedd milwrol, ac i barhau i'w cynyddu heb gilio yn ol oddiwrth unrhyw ymaberthiad.

"Nid yw yr holl ymdrechion hyn er hynny wedi gallu dwyn oddiamgylch eto y bendithion daionus oddiwrth yr heddwch a ddisgwylid.

"Y mae nerth meddyliol ac anianyddol y cenhedloedd, llafur a chyfalaf, gan mwyaf yn cael eu troi oddiwrth y cymhwysiad naturiol o honynt, ac yn cael eu difa heb gynhyrchu dim. Cysegrir cannoedd o filiynau i feddiannu peiriannau dinystriol erchyll, y rhai, er eu bod yn cael eu hystyried heddyw fel gair diweddaf gwyddoniaeth, ydynt, yfory. wedi eu tynghedu i golli pob gwerth mewn canlyniad i ryw ddarganfyddiad newydd yn yr un maes.

"Parlysir neu gwanychir diwylliant, cynnydd gwladwriaethol, neu gynhyrchiad cyfoeth trwy eu dadblygiad. Ac, heblaw hynny, i'r graddau ag y mae ymarfogiad pob un o'r Galluoedd yn cynyddu, cyflawnant lai lai yr amcan y mae y Llywodraethau wedi eu gosod o'u blaen eu hunain i'w cyrraedd.

"Y mae y cyfwng cymdeithasol, dyledus mewn rhan i'r gyfundrefn o arfogi hyd yr eithaf, a'r perygl gwastadol sydd yn gysylltiedig â chrynhöad ynghyd ddefnyddiau rhyfel, yn trawsffurfio heddwch arfog ein dyddiau i fod yn faich anioddefol, yr hwn y mae y bobloedd yn teimlo mwy-fwy o anhawster yn ei ddwyn. Y mae yn hollol eglur, gan hynny, os parheir y sefyllfa hon ar bethau, y bydd iddi arwain yn anocheladwy i'r trychineb yr ydys yn chwenychu ei ochel, a dychrynfeydd yr hwn sydd yn peri i bob dyn ystyriol arswydo cyn ei ddyfodiad.

"I roddi pen ar yr arfogi diddiwedd hwn, ac i geisio y moddion i droi ymaith y trychinebau sydd yn awr yn bygwth yr holl fyd, dyna'r ddyledswydd oruchaf sydd yn orffwysedig ar bob Gwladwriaeth.

"Wedi ei lenwi â'r syniad hwn, rhyngodd bodd i'w Fawrhydi orchymyn i mi gynnyg, i'r holl Lywodraethau y mae eu llys-genhadon yn meddu cred lythyrau i'r Llys Ymherodrol, fod Cynhadledd yn cael ei chynnal, gwaith yr hon fyddai cymeryd y mater pwysig hwn i'w hystyriaeth.

"Byddai y Gynhadledd hon, dan fendith Duw, yn argoel dedwydd o'r ganrif sydd ar ymagor. Byddai iddi gyd grynhoi mewn un canolbwynt ymdrechion yr holl Wladwriaethau sydd yn dymuno yn ddiragrith am i'r syniad dyrchafedig o heddwch cyffredinol fuddugoliaethu ar yr holl elfennau o helbul ac anghydgordiad.

"Byddai iddi hefyd, yr un pryd, asio ynghyd eu cytundeb trwy ymgysegriad corfforedig o egwyddorion iawnder a thegwch, ar ba rai y gorffwys ddiogelwch y Gwladwriaethau a dedwyddwch y Bobloedd."

Pa beth bynnag a ddywedir am eiriad, neu gyfieithiad, yr Archeb Ymherodrol, y mae y syniad a'r ysbryd rhagorol sydd yn rhedeg

drwyddi uwchlaw pob canmoliaeth. Dywedai Mr. Chamberlain, pan gymerodd Rwsia Port Arthur, a phorthladd arall ym Manchuria, fod eisieu llwy hir wrth swpera gyda'r diafol—gan feddwl, mae'n eglur, y Tsar. Wedi'r cyfan nid rhyfedd iawn, pan oedd gwleidyddwyr Rwsia yn gweled Mr. Chamberlain a'i gyd-swyddogion mor awchus i draflyncu yr holl fyd, eu bod hwythau mor awyddus i sicrhau dau borthladd mewn dwfr agored, heb gael eu rhewi i fyny yn y gauaf. Yn awr, modd bynnag, y mae yn amlwg fod Archeb y Tsar wedi cael croesawiad cyffredinol, fel y dylasai gael, a bod yr hyn a fawr ddymunodd Cymdeithas Heddwch ei gael yn ei dull ei hun, wedi ei gyflawni, gan yr Hwn sydd yn gweithio pob peth wrth gynghor Ei ewyllys Ei Hun, mewn dull arall rhyfedd ac anisgwyliadwy.

3. Y cwestiwn mawr yw, Beth fydd canlyniad derbyniad neu wrthodiad y cynygion hyn? Meiddiwn ateb, Dim llawer. Tybier fod Cynhadledd yn cael ei chynnal, fel yr ydys yn tybio yn sicr y bydd. A thybier ymhellach fod y Gynhadledd honno yn penderfynu nas gellir rhoddi atalfa ar yr ymarfogiad. Y gwirionedd syml yw, fod yr atalfa honno, yn ymarferol, eisoes wedi cael ei sicrhau. Nis gall Ffrainc na Germani na Rwsia alw allan yr un milwr yn ychwaneg nag a allant ei wneud yn awr, gan fod pob dyn yn y gwledydd hynny sydd yn alluog i ddwyn arfau yn awr o dan rwymau i ddwyn arfau Ni newidia unrhyw benderfyniad y deuir iddo yn y gynhadledd i beidio atal cynnydd y milwyr, yn y gwledydd hyn, yr un iot ar hynny. Ac am danom ni, byddai i'r cynygiad am chwyddo y fyddin trwy ddwyn gorfodaeth filwrol i mewn, fel yn nheyrnasoedd y Cyfandir, beri chwildroad. Neu tybier fod yno benderfyniad i beidio atal adeiladu rhagor o longau. Y gwir yw fod yr atalfa honno yn awr mewn grym, yn syml, am nas gallant adeiladu llongau yn gyflymach nag y maent yn gwneud yn awr. Neu tybier fod y gynhadledd yn penderfynu na byddo iddi roddi terfyn ar fenthyca arian, yr hyn yw grym rhyfel Y gwirionedd syml heddyw ydyw nad oes yr un wlad yn Ewrob a ddichon wneuthur hynny fawr ymhellach, oddieithr Lloegr a Germani. Y mae pob gwlad yn Ewrob yn arfog hyd at gael ei llethu yn awr, fel na byddai pasio penderfyniad i beidio ymatal yn ymarferol nag yma nac acw.

Neu tybier fod pethau yn cael eu hatal: ymarfogi i gael ei roddi heibio. A oes rhywun yn tybied y byddai un milwr yn eisieu, neu un llong yn llai? Y mae chwarter y ddaear gan Brydain Fawr: a oes rhywun yn tybied y rhydd Prydain Fawr yr un gŵys o honi i fyny? Dim un. Yr un modd am Ffrainc, a Germani, a Rwsia. Pe deuai y gynhadledd i benderfyniad mai dyledswydd y gwledydd hyn yw diarfogi, a gollwng eu gafael o'r Aifft, a Madagascar, a Tunis, a Deheubarth Affrica, nid oes dim perygl y byddai i'r un o honynt dalu dim sylw i'r fath benderfyniad. Yr un modd am Rwsia. Y mae y gwledydd hyn yn rhwym o gadw yr hyn sydd ganddynt. Ni oddefai pobloedd y gwledydd hynny, os gallent ei rwystro, i gymaint a charreg gael ei rhoddi i fyny. Y gwirionedd syml ydyw nis gall gwledydd Ewrob heddyw fod yn fwy arfog nag y maent, ac nis gallant ymddiarfogi pe mynnent, gan eu bod yn rhwym o ddal eu gafael yn yr hyn sydd ganddynt.

A mwy na hynny. Nis gallwn weled pa fodd y gallant beidio eangu eu tiriogaethau, awyddfryd am yr hyn, mae'n amlwg, fu'n un achos—os nid y pennaf—o'r ymarfogiad. Pan y mae unrhyw allu gwâr yn dyfod i gyfarfyddiad â gallu anwar, y canlyniad anocheladwy ydyw iddynt fethu cytuno. Y tebygolrwydd ydyw i'r dyn gwâr bwyso ar y dyn anwar. Y mae y dyn anwar yn talu adref. Yna y mae y dyn gwâr yn ymosod arno, gan ddwyn ei wlad. Ac wedi ei dwyn, rhaid ei chadw. Ac felly yn y blaen. Y canlyniad yw y rhaid i derfynau y dyn gwâr ymestyn hyd nes y daw i derfynu ar derfynau dyn gwâr arall fydd mor alluog i amddiffyn ei iawnderau ag yntau. Dyna hanes y byd hyd yn hyn, ac, yn ol pob tebyg, dyna fydd ei hanes hyd y diwedd. Tra yr ydym, gan hynny, yn teimlo yn ddiolchgar i'r Tsar am ei ddymuniadau dyrchafedig a dyngarol—nis gallwn yn onest eu galw yn Gristionogol—gan obeithio y bydd i'r Gynhadledd y mae yn ei dymuno gael ei chynnal, drwg gennym nas gallwn ddwyn ein hunain i ddisgwyl llawer oddiwrthi er da nac er drwg. Y mae cyfrifoldeb mawr ar y rhai hynny sydd, trwy eu gorawydd am farchnadoedd a Sais-ddyrchafiad, wedi bod yn foddion i raddau pell iawn i godi ystorm nas gwyddant pa fodd i'w gostegu.

EVAN JONES.

*Caernarfon.*

---

## NODIADAU LLENYDDOL.

**The Gateway of Life: and other Poems and Hymns. By Rev. J. Thomas, B.A., Minister of Catharine Presbyterian Church, Liverpool Liverpool: Henry Young and Sons, 1899. 3s. 6d. Yn y Rhagymadrodd dywed Mr. Thomas fod yr oll o'r darnau, gyda dau neu dri o eithriadau, wedi eu hysgrifennu ymlaenaf oll er budd ei ferch, yr hon sydd yn awr allan ar y maes cenhadol yn India, i'r hon y danfonid hwy fel y caent eu hysgrifennu o wythnos i wythnos. Cawsom lawer o hyfrydwch wrth eu darllen, a hawdd iawn gennym gredu iddynt fod o gynorthwy mawr i'r neb yr anfonwyd hwynt iddi. Anfynych y gwelsom y mater y cyfeirir ato yn y darn canlynol wedi ei osod allan yn well; ac y mae yr holl ddarnau yn fyrion, cydnerth, byw, ac i'r pwynt.**

THE GATEWAY OF LIFE

I.

**Say, what is death?
What happens when our latest breath
Is breathed away,
And eyes are closed to death? O say,
Is life destroyed,**

Its wondrous powers and gifts employed
No more, but cast
Away as useless, and to last
Esteemed unfit?
Did God ordain that man should sit
Upon the throne,
And place upon his head alone
The lofty crown
Of all His earthly works, that thrown
From this high seat,
He should fall down before the feet
Of lesser things,
And even things which his hand brings
To being, and which
Continue in their blessing rich,
While he no more
Exists; adds nothing to the store
Of happiness;
Of all is in unconsciousness?
Is what is done
Greater than the doer? This run
On for ever,
And he not see, not know? Never.

II.

'Tis not to mar life, much less destroy,
That death's true friendship is employed,
But to complete it, fill its cup with joy,
And purge away all that alloyed.

It strikes us down, but only to exalt;
To set upon our head life's crown;
To evidence it is not e'en a halt
In life's grand progress and renown.

Development it is, and needful stage
In upward, everlasting growth,
No weakening of life's energy through age,
But entrance on unfading youth.

It draws aside the separating veil,
Lets glory fall upon the face,
Whose scan reveals the conflicts which prevail,
The faithfulness that wins the race.

Did we not die, life better had not been,
For then it would be like to seeds,
Whose bounteous harvest never had been seen,
With no fruition of its deeds.

Y TADAU APOSTOLIG. Cyfieithiedig gan J. Edwin Davies, B.A., Curad Llanwrin. Bangor: Jarvis a Foster. Cyfrol hynod o ddestlus, wedi ei hargraffu mewn llythyren fras, glir, ar bapur da, a'i rhwymo yn hardd. Cawn alw sylw at ei chynnwysiad mewn rhifyn dyfodol.

PRIF-YSGOL CYMRU. Guild Series of Welsh *Reprints*. Fel hyn y dywedir mewn cylchlythyr sydd wedi ei ddanfon allan yn hysbysu bwriad y Gymdeithas hon:—"The Guild of Graduates of the University of Wales has, through its Literature Section, arranged for the issue of a series of *Reprints of Welsh Prose Works* of the sixteenth, seventeenth, and eighteenth centuries. The importance of such works as those of Maurice Kyffin, Morgan Llwyd and Theophilus Evans for students of the Welsh language and literature is generally recognised, but copies of the original editions, in which alone it is possible to study the grammatical and orthographical peculiarities of each author, are in most cases difficult to

obtain. It is hoped that the publication of the projected reprints, which will be literal reproductions in each case of the best of the early editions, may to some extent supply this want, and extend the limited facilities now enjoyed by students of Welsh prose. Some of the reprints are designed to serve as text books in secondary schools. It is also believed that many not engaged in systematic Welsh studies will be glad to have in an attractive form upon their bookshelves carefully printed copies of the books which stand out as land marks in the history of Welsh prose literature."

Cyhoeddir y gyfres gan Mri. Jarvis a Foster, Bangor. Mae'r cyfrolau a ganlyn yn cael eu paratoi, y rhai a gyhoeddir yn fuan:—

Gwaith Morgan Llwyd o Wynedd: Welsh and English Tracts. Letters, Poems. Editor: Thomas E. Ellis, M.P., Warden of the Guild. This will appear in two volumes.

"Oll Synwyr Pen Kembero:" a collection of proverbs published by W. Sa'esbury about 1547. Edited by J. Gwenogfryn Evans, M.A. 'Yn y Lhyvyr hwnn:' the Welsh Primer of 1546. Edited by J. H. Davies, M.A. These two, the earliest of all Welsh printed books, will form one volume.

"Drych y Prif Oesoedd," Rhan i. (Theophilus Evans, 1740), with notes for School use. Editor: S. J. Evans, M.A., County School, Llangefni.

"Deffynniad Ffydd Eglwys Loegr," 1595 (Maurice Kyffin). Editor: The Right Rev. the Lord Bishop of Bangor.

"Patrwm y Gwir Gristion, neu Dilyniad Crist:" the Welsh version of the "Imitato Christi," 1723. Editor: Rev. H. Elvet Lewis.

"Kynniver Llith a Ban" (W. Salesbury), 1551). Editor: Rev. Professor Hugh Williams, M.A.

Dygir allan argraffiad terfynol rhagorach o bob un o'r gweithiau hyn, ar bapur gwell, wedi ei rwymo yn well, am saith a chwech i hanner gini y gyfrol, i danysgrifwyr yn unig. Y mae Ei Uchelder Brenhinol Tywysog Cymru, Canghellydd y Brifysgol, eisoes wedi tanysgrifio ei enw at 'Waith Morgan Llwyd o Wynedd,' ac ymysg y tanysgrifwyr cyntaf y mae y Dirprwy Ganghellwyr a'r Is-Ganghellydd. Argreffir rhestr o'r tanysgrifwyr. Dyma gyfle i'r genedl feddiannu hen weithiau nad oeddynt o'r blaen yng nghyrraedd ond ychydig iawn, a hynny am brisiau rhyfeddol o isel.

CYMRU: Ionawr 1899. Rhifyn dwbl. Pris Swllt. Caernarfon: Cwmni'r Wasg Genedlaethol. Rhifyn godidog. Y mae'r darluniau yn gampus, yn enwedig y Ffos Noddyn, neu'r *Fairy Glen*, ger Betws y Coed, Gwerthu'r Ferlen, a'r Gymwynas Llaw-gauad iawn ydyw'r Golygydd ar ei Hanes Cymru—rhydd bob mis *just* ddigon "i godi newyn oddiar ei nyth"—a dim chwaneg. Mae'r ysgrifau i gyd yn ddarllenadwy, a'r farddoniaeth yn dda iawn.

CYMRU'R PLANT: Hughes and Son. 1c. Yr hyn ydyw Cymru i Gymry mawr ydyw hon i'r Plant. Drychfeddwl hapus ydoedd cael darluniau o blant ysgolion Cymru; ond nid yw y darluniau yn cael eu hargraffu cystal ag y gellid dymuno. Ceiniogwerth ardderchog ydyw *Cymru'r Plant*.

Y DRYSORFA: Caernarfon: Llyfrfa'r Cyfundeb. Cryn antur oedd symud y *Drysorfa* o Dreffynnon, ond parhâ i edrych yn lanwaith, ac y mae'n amlwg fod y Golygydd yn cymeryd dyddordeb yn ei waith.

TRYSORFA'R PLANT. Caernarfon; Llyfrfa'r Cyfundeb. Argreffir y darluniau yn *Nhrysorfa'r Plant* cystal a dim yn y deyrnas, ac nid yw ei chymeriad ddim ar ol.

Y CERDDOR: Hughes and Son. 2g. Nid oes gan y Saeson ddim byd gwell, os cystal, â hwn. Prin yr ydym yn hoffi rhoddi cynwysiad y flwyddyn gyfan gyda rhifyn Ionawr, er y gallai hynny ateb rhyw ddibenion.

Ail Lyfr Samuel, gyda Rhagarweiniad a Nodiadau Eglurhaol. Gan y Parch. E. James Jones, M.A., Manchester. Caernarfon: Llyfrfa y Cyfundeb. 1s. 3c. Gwnaeth Mr. Jones un peth gyda'r esboniad hwn nad yw awdwyr ysgolheigaidd bob amser yn ei gofio Cadwodd mewn golwg yn ofalus, wrth ysgrifennu ei nodiadau, ar gyfer pwy yr ydoedd yn eu hysgrifennu. Ac oherwydd hynny, tra y ceir ynddynt bob peth ag sydd ar yr ysgolhaig ei eisieu, y maent wedi eu cyfaddasu yn arbennig i'r dosbarth yr ysgrifenwyd ef ar ei gyfer. Fel y dywedir yn ei ddechreu, "Cynnwysa, mewn cylch bychan ac mewn iaith syml, ffrwyth yr ymchwiliadau beirniadol diweddaraf." Gwna Ail Lyfr Samuel yn ddealladwy a dyddorol.

Ail Lyfr Samuel. Gan y Parch. R. J. Rees, M.A., Caerdydd. Caernarfon: Llyfrfa y Cyfundeb. 2c. Y mae Pwyllgor yr Ysgol Sabbothol yn gofalu dewis ysgrifenwyr o'r dosbarth blaenaf i ysgrifennu hyd yn oed ei llyfrau lleiaf. Ac y mae Mr. Rees wedi gwneud ei waith yn drwyadl gydwybodol ar y llyfr bychan hwn, yr hwn sydd yn rhyfeddol o rad.

Epistol Cyffredinol Iago yr Apostol, gyda Rhaglith a Nodiadau Eglurhaol. Gan J. Puleston Jones, M.A., Dinorwig. Caernarfon: Llyfrfa y Cyfundeb. 1s. 6ch. Byr ydyw Epistol Iago, yr hyn sydd wedi rhoddi mantais i Mr. Jones ysgrifennu Rhaglith a Nodiadau llawer meithach nag a geir yn gyffredin yn y Llawlyfrau hyn. Y mae amryw bethau nas gallant lai na tharo y darllennydd wrth ddarllen yr esboniad rhagorol hwn. Un peth ydyw rhagoroldeb yr iaith. Y mae Mr. Jones yn feistr trwyadl ar iaith ei fam, gan ei hysgrifennu yn hoyw a pharabl bêr. Peth arall llawn mor amlwg ydyw ei wreiddioldeb a'i anibyniaeth. Mae'n amlwg iddo ymgynghori â phob awdwr y gallai ddyfod o hyd iddo; ond y mae ganddo ef ei farn eglur a chroyw ei hun ar yr holl Epistol ac ar bob rhan o honno. Y mae ei ysgrifau ar Ffydd a Gweithredoedd, Dysgeidiaeth Iago ar weddi, a Dyfodiad yr Arglwydd yn draethodau cyflawn; tra y mae ei gyfieithiad newydd o'r Epistol yn rhwym o fod yn ychwanegiad pwysig at werth y gyfrol. Anfynych iawn y ceir llyfr o'r fath werth yn cael ei gynnyg am bris mor fychan.

The Conference Report of the Presbyterian Church of Wales. 6ch. Nid oes dim byd gwell yn cael ei gyhoeddi na'r Adroddiadau hyn. Y maent yn adlewyrchu y clod mwyaf ar bawb sydd yn dal cysylltiad â hwy. Ceir yn yr Adroddiad hwn lïaws mawr o ddarluniau, heblaw adroddiad cyflawn o weithrediadau y Gynhadledd, a'r cyfan am chwe' cheiniog.

Cardiff Free Libraries: Catalogue of Printed Literature in the Welsh Department. By John Ballinger and James Ifano Jones. Cardiff: Published by the Free Libraries Committee. Argraffwyd 2500 o gopïau o'r gwaith hwn, 500 ar bapur mawr, a 2000 yn yr argraffiad cyffredin. Gwerthir yr argraffiad rhad am 2s. 6ch. y copi. Anhawdd canmol gormod ar yr anturiaeth, y dyfalbarhad, yr ynni, a'r ysbryd gwladgarol y mae y gyfrol hon yn golgolofn mor odidog o honynt. Ddeng mlynedd yn ol yr ymgymerodd Pwyllgor Llyfrgell Rydd Caerdydd â'r gwaith o wneud casgliad o lyfrau, llawysgrifau, darluniau, &c., &c., yn dal cysylltiad â Chymru, a thrwy weithgarwch mawr a haelioni calon agored lïaws o garedigion llenyddiaeth Gymreig llwyddwyd i gael casgliad ardderchog ynghyd. Prynwyd dau gasgliad adnabyddus o lyfrau Cymreig a llawysgrifau, &c., fel cnewyllyn i'r Adran hon o Lyfrgell Rydd Caerdydd, sef (1) Casgliad teulu Rees, Llanymddyfri, a (2) casgliad Syr Thomas Phillipps, ac yn ychwanegol ceir yn y *Catalogue* restr o lyfrau Cymreig Mr. William Scott, Hazlewood, Caerdydd, wedi eu benthyca ganddo ar hyn o bryd. Erbyn hyn, mae'r casgliad yn un gwych iawn. O'r bron na cheir yn y llyfrgell gopi o unrhyw lyfr neu bam-

phled Gymreig a gyhoeddwyd erioed. Ac fe wneir pob ymdrech i gael gafael ar drysorau colledig llenyddiaeth ein gwlad. Heblaw llyfrau Cymreig, ceir ynddi lyfrau sydd yn dal cysylltiad â Chymru ac â'r rhannau hynny o Loegr sydd yn agos atom, megys Swyddi Mynwy, Henffordd, Amwythig a Chaer. Cynnwysa lyfrau hefyd o'r ieithoedd Celtaidd ereill, megys y Wyddelaeg, y Llydawaeg, &c Ceir nodiadau eglurhäol ar lawer o'r llyfrau, ac fe wnaed ymgais i roddi rhestr gyflawn o *holl* argraffiadau rhai o'r clasuron Cymreig, e.g., Dilyniad Crist, Canwyll y Cymry, Gweledigaethau y Bardd Cwsc, Llyfr y Tri Aderyn, Drych y Prif Oesoedd, &c. Ac mewn atodiad ceir rhestr o enwau barddonol, ffugenwau, &c., beirdd a llenorion Cymru, gyda'u henwau gwirioneddol. Cynnwysa y gyfrol dros 550 o dudalenau, ac fe deimla pawb a'i darlleno ei bod yn gofrestriad llawn a manwl o Lyfryddiaeth y Cymry. Gwnaeth y cyhoeddwyr a'r argraffwyr eu rhan yn ganmoladwy. Fe fydd llenyddiaeth Gymreig dan rwymau neillduol i Bwyllgor Llyfrgell Rydd Caerdydd am y gwasanaeth mawr a wnaed erddi drwy gyhoeddiad y gyfrol hon. Amser a ballai yn awr i ni ddweyd rhagor. Ceir sylw manwl ar ei chynnwys mewn rhifyn dyfodol.

Gweithiau Drummond: dan Olygiaeth Gwyneth Vaughan. Y Pennaf Peth yn y Byd. Wedi ei gyfieithu gan Mr. J. Bennett Jones, C.S. Gwrecsam: Hughes a'i Fab. 6ch. Llyfryn byr ar destun mawr, wedi ei gyfieithu yn llithrig, yn trosglwyddo ei feddwl i feddwl y darllennydd yn syth a didrafferth. Drychfeddwl da oedd dysgu Drummond, o'i fedd, i lefaru eto yn yr iaith Gymraeg.

Cyfres Milwyr y Groes. Dan olygiaeth y Parch. Griffith Ellis, M.A. John G. Paton, D.D. Gan y Parch. O. J. Owen, M.A., Rock Ferry. Gwrecsam: Hughes a'i Fab. 1s. Hanes Dr. Paton yn ddiamheu ydyw y llyfr cenadol goreu a ymddangosodd ers blynyddoedd lawer yn yr iaith Saesneg; a hufen hwnnw ydyw hwn. Cwynir weithiau nad oes lyfrau pwrpasol yn Gymraeg i'w rhoddi yn wobrwyon i blant am gasglu at y genhadaeth. Etyb hwn y diben hwnnw yn hollol. Y mae yn ddyddorol a phrydferth.

A Guide to Welsh. Stage II. For the use of Schools. Wrexham: Hughes and Son. 1s. Mae mwy yn dysgu yr iaith Gymraeg—yn gywir—y dyddiau hyn nag erioed; ac y mae llyfr fel hwn yn gynorthwy anhebgorol i hynny.

# Y TRAETHODYDD.

## Y BARDD CWSC.

*Gweledigaethau y Bardd Cwsc.* Gan ELLIS WYNNE. Dan Olygiaeth J. MORRIS JONES. Bangor: Jarvis and Foster. 7s. 6ch. a 3s. 6ch.

*It's a lang lane,* medd y ddihareb Ysgotaidd, *that has nae turning.* Y mae, yn ddiau, yn ffordd hir nad oes iddi dro. Mae llawer o amser wedi mynd heibio er pan ydym yn disgwyl am yr argraffiad hwn o'r *Bardd Cwsc.* Clywsom gyda hyfrydwch ei fod yn cael ei baratoi; yna ei fod yn y wasg; yna y byddai yn barod erbyn yr amser a'r amser; yna ei fod wedi ei argraffu oll ond ——, &c.; er y cwbl nid oedd yn dyfod i'r golwg. Bellach, sut bynnag, dyma y llyfr yn ein dwylaw, ac mae'n hyfryd gennym ddatgan ein mawr foddhad am y dull tra dymunol y mae wedi gwneud ei ymddanghosiad. Mae yr argraffwaith a'r rhwymiadau yn gelfydd a hardd, ac y mae'n amlwg na arbedwyd na thrafferth na thraul er ei gael, ymhob ffordd, mor debyg ag oedd yn bosibl i'r argraffiad cyntaf, oddieithr ei fod gryn lawer yn fwy destlus. Am waith y Golygydd,—yr hwn gyda thipyn o wastraff ar ostyngeiddrwydd a ddynodir yn unig fel "J. Morris Jones,"—y mae, o'r fath, y peth mwyaf boddhaol yn ein holl lenyddiaeth. Wedi yr holl "ddiwygio," a hyd yn oed yr holl "chwynnu," chwedl yntau, yn yr argraffiadau blaenorol, er codi Elis Wyn at safon ddyrchafedig ei olygwyr,—a hynny mewn llawer ystyr wedi gwneud ei lyfr y fath fel y buasai gradd o anhawster iddo ef ei hunan allu ei adnabod, ac y gallasai bron ddweyd gyda "Thaliessin ben-beirdd y Gorllewin,"

> Ac ni wyddis beth yw nghnawd,
> Ai Cig ai Pysgawd,—

wedi hyn oll, y mae yn dda fod ysgolhaig wedi dwyn allan argraffiad sydd yn rhoddi y llyfr o'n blaen, air am air a llythyren am lythyren—y gwallau argraffyddol a'r cwbl—fel y daeth allan y waith gyntaf o dan lygaid yr awdwr yn 1703. Y mae miloedd lawer o'n cydwladwyr wedi mwynhau y *Gweledigaethau* yn yr argraffiadau ereill; ond i efrydwyr, a Chymry deallus,—ac yn sicr heb eithrio y rhai sydd wedi darllen y llyfr lawer gwaith drosodd,—fe fydd yr argraffiad hwn o werth mawr. Rhydd gyfleustra teg i gymdeithasu yn uniongyrchol â'r awdwr athrylithgar ei hun, a cheir felly fynediad i mewn i hanes ac ysbryd ei amseroedd, a gweled pa fodd yr oedd ein tadau tirion yn meddwl ac yn byw, a pha fodd yn neilltuol y siaradent yr hen iaith. Y mae y Golygydd hefyd wedi casglu ynghyd a gosod yn y modd mwyaf

dyddorol o'n blaen yr oll sydd wybyddus am Elis Wyn, a'r hyn a wnaeth yn ei ddydd. Ac wedi yr holl ystŵr am y *Bardd Cwsc* fel heb fod yn ddim ond cyfieithiad o lyfr yr Ysbaenwr Quevedo, oedd wedi ei gyfieithu i'r Saesneg gan Syr Roger L'Estrange, a'i gyhoeddi yn 1647, y mae yn ddymunol gweled fod astudiaeth a chymhariaeth ofalus o'r ddau lyfr yn dangos fod y dŷb honno yn dra phell o fod yn gywir. Diameu fod Elis Wyn wedi darllen Quevedo, ac y mae ôl hynny i gryn fesur ar ei lyfr. Mae Mr. Morris Jones yn cael fod rhyw ddegwm go dda o'r *Bardd Cwsc* wedi dyfod oddiwrth Quevedo. Ond y mae yr un mor amlwg nad oedd Elis Wyn dan nemawr fwy o rwymau i'r Ysbaenwr nag ydoedd yntau i freuddwydwyr oedd wedi bod o'i flaen, neu nag ydyw beirdd a gweledyddion enwocaf yr oesoedd i feirdd a gweledyddion oedd wedi eu rhagflaenu. Y mae cynifer o'r syniadau a'r dychmygion yr ymwneir â hwynt, bellach, wedi dyfod i'r fath raddau yn eiddo yr hiliogaeth fel nad oes nemawr le i athrylith ddangos ei champ oddieithr yn y dull o'u gosod ger bron. Ac y mae Elis Wyn wedi dangos yn dra amlwg ei ragoriaeth yn y ffordd yma. Ni fenthyca o gwbl o Quevedo heb wneud yr hyn a fenthyca mor gwbl Gymreig â phe na chodasai erioed ond ym meddwl a chalon Cymro, nac ychwaith heb osod arno addurn a'i gwna bron yn greadigaeth newydd. Dyfynnir yma eiriau Goethe: "Beth fyddai'n aros i mi petai'r gelfyddyd hon o fenthyca yn difwyno athrylith?" A'r eiddo Milton, yn yr *Eikonoklastes*, sydd yn dangos mai "Y math o fenthyca na wellheir gan y benthyciwr a gyfrifir ymysg awdwyr da yn llen-ladrad." Ond fe geir fod Elis Wyn, fel y dywed Landor am Shakespeare, "yn fwy gwreiddiol na'r gwreiddiol; fe anadlodd ar gyrff meirw, ac a'u dug yn fyw." Rhoddir hefyd olwg gyflawn ac eglur ar gynllun y gwaith; danghosir prydferthion ei arddull; ac yn neillduol fe geir traethiad medrus ac athrawaidd ar ei Gymraeg. Ychwanegir Nodiadau a Geirfa, y rhai ydynt yn dra gwerthfawr. A hyn oll mewn Cymraeg ag y mae ei darllen yn bur fwynhâd. Yn gyffredin y mae ein llenorion wedi cael ei fod lawer islaw eu hurddas i gyhoeddi clasuron Cymreig heb osod eu rhagymadrodd a'u nodiadau ger bron yn yr iaith Saesneg, er na ddisgwylid i neb feddwl am geisio eu darllen heb fod yn deall Cymraeg. Os cyrraedd eu "noddwyr" o'r bendefigaeth oedd eu hamcan, trwy gyfieithiad yn unig y gallesid gwneud hynny, canys yr oedd ac y mae ein gwŷr mawr yn troi mewn cylch llawer rhy ddyrchafedig i feddwl am geisio deall Cymraeg. Yn y llyfr hwn, sut bynnag, fe ymwneir âg efrydwyr y Gymraeg, ac fe roddir iddynt lawer o wybodaeth ag y gosodant arni fawr werth. Gwelwn fod ein cyfaill diddan, Mr. Isaac Foulkes, yn y *Cymro*, yn gwneud ychydig feirniadaeth ar a ddywedir am y gair "poethfel." Yng ngweledigaeth Uffern mae yr ellyllon yn lluchio rhywrai "ar eu gilydd yn hunfeydd, i ben un o'r creigiau llosc i rostio fel poethfel." Dywed Mr. Foulkes: "Un o fy adgofion cyntaf ydyw am hen ŵr (nid wyf yn cofio ei enw), oedd yn byw mewn bwthyn o'r enw Llys y Feulli, ar odreu mynydd, yn myned ar hyd strydoedd Rhuthin tan waeddi nerth ei ben, 'Poethwel, poethwel,' a mul yn ei ddilyn gan dynu troliad o wreiddiau a bonion eithin wedi eu llosgi ar y mynydd, a chrino, nes eu gwneud yn briciau campus at dwymno pobty a chynneu tân." Teimlai efe yn bur sicr "fod yr hen ŵr hwnnw

ac Ellis Wynne yn golygu yr un peth wrth y gair *poethfel*, sef priciau crinion, parod i dân." Yr oedd y cysylltiad, felly, yn bur agos rhwng y tanwydd a'r oddaith a gynheuid trwyddo; ond diamau y buasai Mr. Morris Jones yn rhoi yr un gwerth ar yr hyn y cyfeiria Mr. Foulkes ato fel pwnc o "wybodaeth"—mewn gwrthgyferbyniad sydd braidd yn rhy gywrain a wna efe rhwng hynny a "dysgeidiaeth,"—ag a wna yn niwedd ei Ragymadrodd ar nodyn Mr. L. D. Jones, o Fwrdd-ysgol y Garth, ar yr hen ddefod o "Droi Crysau." Feallai na fyddai yn ormod crybwyll fod yr amryfusedd dysgedig y syrthiwyd iddo ynglŷn âg ystyr y gair "trwngc" dipyn yn ddigrifol! Ond y mae y goleuni a roddir yn y gyfrol ar iaith y *Bardd Cwsc* yn ffrwyth ymchwiliad eang a meddylgar. Byddai astudio y llyfr yng ngoleuni y Rhagymadrodd, y Nodiadau, a'r Eirfa a geir yma,—yn ychwanegol at y mawr hyfrydwch a roddai,—yn ddisgyblaeth dra gwerthfawr mewn efrydiaeth o'r iaith Gymraeg. Hyderaf y gwneir defnydd da o hono felly yn ein Colegau, &c., ac y bydd ol hynny yn amlwg ar Gymraeg y dyfodol. Mae yn llawn bryd cael terfyn ar yr hyn ag y mae y TRAETHODYDD droion wedi cael y blinder o orfod cwyno o'i blegyd, sef fod Cymry diwylliedig yn syrthio yn barhaus i amryfuseddau yn y defnydd o iaith eu mam ag y buasai cael eu ceryddu yn yr ysgolion am syrthio i'w cyffelyb mewn ieithoedd ereill yn cael ei deimlo ganddynt yn fawr waradwydd.

Yr oedd ein gwlad yn nyddiau Elis Wyn mewn dygn dywyllwch,—y werin mewn magddu o anwybodaeth, a'r rhai a ddylasent fod yn ei goleuo a'i dyrchafu, yn ol tystiolaeth Elis Wyn ei hun, heb feddwl ond am ennill neu bleser iddynt eu hunain. "Yr oedd Gruffudd Jones, Llanddowror, heb ddechreu sefydlu ei ysgolion; a pheth dieithr oedd gweled Beibl mewn tŷ Fe glywid ambell i bennill o ddyri a genir hyd heddyw; ond yr oedd bron yr holl hymnau a anwylir gan y genedl heb eu canu eto—Morgan Rhys a William Williams, Pantycelyn, heb eu geni." Nid rhyfedd gan hynny fod y genedl oll, o ran diwylliad a moes, mewn ystâd dra gwahanol i'r hyn, mewn niferi mawr o'n cydwladwyr, sydd wedi ei ddwyn oddiamgylch trwy y nerthoedd ysbrydol mawrion sydd o hynny hyd yn awr wedi bod ar waith er ein dyrchafiad. Feallai, gyda'r dirfawr ychwanegiad ymhob ffordd at nerth temtasiynau sydd yn dwyn ar gynifer o'n cydwladwyr gymaint trueni yn y dyddiau hyn, nad oedd rhai drygau y pryd hynny yn cymeryd ffurfiau mor eithafol ag yn ein dyddiau ni; ond yr oedd ein cenedl mewn mawr iselder, a cheir cyflawnder o brofion o hynny yn y llyfr sydd o'n blaen. Y mae yn hyfryd gweled hefyd fod awdwr y *Bardd Cwsc*, beth bynnag am lïaws ereill y gallesid disgwyl oddiwrthynt bethau gwell, yn dra anfoddlawn ar y sefyllfa ar bethau a welai yn ei wlad. Ni urddwyd ef yn offeiriad hyd 1705. Dywed traddodiad ei fod cyn hynny yn gyfreithiwr. Ond cyfieithodd *Reol Buchedd Sanctaidd* Jeremy Taylor, yr hwn a gyhoeddwyd ganddo yn 1701, bedair blynedd cyn ei urddiad. Cyflwynwyd y llyfr hwnnw "I'r Parchediccaf Dad yn Ghrist Humphrey, Arglwydd Escob Bangor." Tybir i'r Esgob Humphreys, wrth weled rhagoriaeth ei gyfieithiad o'r *Holy Living*, ei annog i gymeryd ei ordeinio, ac mai felly y daeth yn offeiriad. Ceir yn y llyfr hwnnw Englynion "*At Gyfieithydd* Rheol

*

Buchedd Sanct.", gan *Edm. Prys*, Ficar Clynog Fawr yn Arfon, a llinellau Lladin gan *Fulco Pricæus Lhanlhyvniæ Parochus Arvonensis*, Ffowc Prys, Plwyf Llanllyfni yn Arfon. Barnai Mr. Morris Davies o Fangor fod y ddau hyn yn ŵyrion i'r Archddiacon Edmund Prys, sydd mor fawr yn ein golwg fel awdwr y Salmau Cân. Ceir Englynion hefyd gan Elis Wyn ei hun "At Ddarllenydd Rheol Bu. Sanct.", a Rhagymadrodd, y rhai a argraffwyd mewn erthygl o eiddo y diweddar Mr. William Lloyd o Ruthyn ar "Ellis Wynne, Awdwr y Bardd Cwsg," yr hon a ymddanghosodd yn y TRAETHODYDD am 1851. Mae yn amlwg y teimlai y gwŷr uchod lawer o barch i Elis Wyn, ac y mae yntau yn ei Ragymadrodd yn cymeryd tôn uchel, ac yn dangos fod dyrchafiad ei gydwladwyr yn agos iawn at ei galon. Yn 1703, ddwy flynedd cyn ei ordeiniad, cyhoeddodd y *Bardd Cwsc.* Yn 1710 cyhoeddwyd argraffiad unplyg o'r *Llyfr Gweddi Gyffredin*, wedi ei ddiwygio ganddo ef, ac yn cael ei gymeradwyo gan yr Esgobion. Yn 1755 cyhoeddodd ei fab lyfr a elwid "*Prif Addysg y Cristion*, yn cynnwys Esponiad byrr ar y Catecism o waith y Parchedig Mr. Ellis Wynne o Lasynys Person Llanfair," gydag atodiad yn cynnwys "Hymnau a Charolau Duwiol, o waith Mr. Ellis Wynne o Lasynys." Cawn ei aralleiriad o Salm cxlviii. yn yr erthygl y cyfeiriasom ati. Rhoddwn ddau allan o'r pum pennill fel engraifft o'i allu yn y ffordd hon :—

**Brenhinoedd daear gron,**
**A'r bobloedd oll ynghyd,**
**Pob t'wysog sydd ar hon,**
**Holl swyddwyr, barnwyr byd,**
**Pob llanc, gwell yw,**
**Pob morwyn glau,**
**Pob hen, pob iau,**
**Addolwch Dduw.**

**Can's tra rhagorol yw**
**Ei unig enw ef,**
**Ei ardderchowgrwydd gwiw**
**Sy 'mhell uwch dae'r a nef;**
**Can's codi bydd**
**Garn grym a pharch,**
**I'w bobl, a'u harch**
**A glyw bob dydd.**

Gwyddom oll am ei emyn ragoro ,

**Myfi yw'r Adgyfodiad mawr, &c.,**

a ymddanghosodd gyntaf yn ei *Lyfr Gweddi* yn 1710. Mae y pethau hyn oll yn dangos ei fod yn dra gwahanol i'r lliaws o wŷr llên oedd o'i amgylch mewn awydd am wella cyflwr ei genedl. Buasai yn dda gennym wybod mwy yn ei gylch, ac yn enwedig am ei lafur a'i lwyddiant fel gweinidog yr Efengyl. Ond fe'i hadnabyddir gennym yn arbennig fel awdwr *Gweledigaethau y Bardd Cwsc;* a phan y mae dau ar hugain o argraffiadau o'r gwaith hwnnw wedi ymddangos o flaen yr argraffiad ysgolheigaidd hwn, heblaw dau gyfieithiad o hono i'r Saesneg, y mae yn amlwg ei fod wedi dyfod i aros yn ein plith.

Mae ei awdwr, trwy ei athrylith nawsaidd a'i ymdrech glodwiw i addysgu a dyrchafu ei gydwladwyr, wedi gallu gosod ei wersi o'u blaen mewn ffordd mor ddeniadol fel nad allent lai nag ennill eu sylw. Wedi dechreu darllen y *Bardd Cwsc*, yr oedd y blas a geid arno y fath fel nad oedd modd ei osod o'r neilldu heb fynd trwyddo. Rhyw ddeugain mlynedd cyn ei ymddanghosiad, yr oedd yr "Hen Ficer" yn rhigymu ei wersi gwerthfawr, ac mewn dull mor gartrefol a charedig fel yr oedd ei benillion yn ennill clust ei genedl, er mewn iselder mawr, ac yn aros mewn calonnau lawer yn hadau doethineb a gynhyrchodd fendigaid

ffrwyth. Ond adrodd ei chwedl y mae y *Bardd Cwsc*; dweyd wrth ei ddarllennydd hanes ei *Weledigaethau*. Dechreua ei ystori mewn dull mor brydferth a swynol fel nad allai neb lai na gwrando arno. "Ar ryw brydnhawngwaith têg o haf hir felyn tesog, cymerais hynt i ben un o Fynyddoedd *Cymru*, a chyda mi Spienddrych i helpu 'n golwg egwan, i weled pell yn agos, a phethau bychain yn fawr; trwy'r awyr deneu eglur a'r tês ysplenydd tawel canfyddwn ymhell bell dros fôr y *Werddon*, lawer golygiad hyfryd. O'r diwedd wedi porthi fy Llygaid ar bob rhyw hyfrydwch o'm hamgylch, onid oedd yr Haul ar gyrraedd ei gaerau 'n y Gorllewin; gorweddais ar y gwelltglas, tan syn-fyfyrio decced a hawddgared (wrth fy ngwlad fy hun) oedd y Gwledydd pell y gwelswn gip o olwg ar eu gwastadedd tirion; a gwyched oedd gael arnynt lawn olwg, a dedwydded y rhai a welseint gwrs y byd wrthifi a'm bath: Felly o hir drafaelio â'm *Llygad*, ac wedi â'm *Meddwl*, daeth blinder, ac ynghyscod Blinder daeth fy Meistr *Cwsc* yn lledradaidd i'm rhwymo; ac â'i goriadeu plwm fe gloes ffenestri fy Llygaid a'm holl Synhwyrau eraill yn dynn ddiogel. Etto gwaith ofer oedd iddo geisio cloi 'r *Enaid* a fedr fyw a thrafaelio heb y Corff: Canys diangodd fy Ysbryd ar escill Phansi allan o'r corpws cloedig; a chynta peth a welwn i, yn f' ymyl *dwmpath chwareu*, a'r fath gâd-gamlan mewn Peisieu gleision a Chapiau cochion, yn dawnsio 'n hoew-brysur." Yn annisgwyliadwy y mae yn ei gael ei hun felly ymysg y Tylwyth Têg, ac wedi gofyn a gymerent ef i'w plith, "dechreuasant sibrwd o glust i glust ryw ddirgel swynion ac edrych arnai, a chyda hynny torrodd yr hwndrwd, a phawb a'i afel yno 'i, codasant fi ar eu 'scwyddau, fel codi Marchog Sir; ac yna ymaith â ni fel y Gwynt dros Dai a Thiroedd, Dinasoedd a Theyrnasoedd, a Moroedd a Mynyddoedd, heb allu dal sulw ar ddim gan gyflymed yr oeddynt yn hedeg." Mae dyn a all ysgrifennu fel yna yn gwneud ei ddarllenwyr yn garcharorion iddo, ac nid oes dim bellach y gallant feddwl am dano ond gwrando ei chwedl, a dilyn ei helynt hyd y diwedd. Wedi cael ei hun mewn sefyllfa ag y teimlai ei bod yn beryglus, y mae yn "griddfan rhyw ochenaid tuac i fynu am faddeuant a help," a gwêl "ryw *Oleuni* o hirbell yn torri allan, oh mor brydferth!" A chyda *Disclair* o angel tirion a'i cymerai dan ei nawdd, y mae yn cael golwg ar "Ddinas anferthol o faintioli, a miloedd o Ddinasoedd a Theyrnasoedd ynddi; a'r Eigion mawr fel Llynn-tro o'i chwmpas, a moroedd eraill fel afonydd yn ei gwahanu hi 'n rhannau." Dyma y Ddinas Dihenydd, Dinas Distryw; a than arweiniad yr Angel y mae yn cael llawn olwg ar ei thair Stryd—Balchder, Pleser, ac Elw,—ac felly yn cael "Gweledigaeth Cwrs y Byd," neu yn gweled fel y mae pobl yn byw wrth ymroddi i'r naill neu y llall o'r tair temtasiwn fawr a gynrychiolir gan y merched uchod o eiddo Belial ag y mae y byd trwy yr oesoedd yn myned ar eu hôl. Y mae yno, "ar ohyd i'r tair anferthol hyn, *Stryd groes arall*, a honno nid oedd ond bechan a gwael wrth y lleill, ond ei bod hi 'n lanwaith, ac ar godiad uwchlaw y Strydoedd eraill, yn mynd rhagddi uwch, uwch tua'r Dwyrein, a'r tair arall ar i wared tua'r Gogledd at y Pyrth mawr." Mae y Stryd fach yn arwain i Ddinas Immanuel, a'r lleill i Ddistryw. Mae y disgrifiad o'r hyn a wêl yn ddarlun perffaith o fywyd y Cymry ar y pryd; a chan mai yr un yw y natur ddynol, ac mai cyffelyb yw

hudoliaethau pechod iddi ymhob oes, y mae a ddywed am y Strydoedd yn llawn o addysg i ninnau. Dywed bethau plaen am bobl barchus fawn, pethau pe buasent yn eu deall, a gyfrifasent yn "gablu urddas," os nad hefyd yn "chwyldroadol." Mae yr Angel yn dweyd mewn cyfeiriad at ryw sylw digon naturiol o'i eiddo: "Nid wyti ond ehud; Onid yw'r cnâ êl a'i gleddy'n ei law a'i reibwyr o'i ôl, hyd y byd tan ladd, a llosci, a lladratta Teyrnasoedd oddiar eu hiawn berch'nogion, ac a ddisgwyl wedi ei addoli yn Gyncwerwr, yn waeth na Lleidryn ar y Ffordd-fawr? Beth yw Taeliwr a ddwg ddarn o frethyn, wrth Wr mawr a ddwg allan o'r Mynydd ddarn o Blwy? Oni haeddei hwn ei alw 'n Garn-lleidr wrth y llall? ni ddug hwnnw ond cynhinion oddiarno *ef*, eithr efe a ddug oddiar y *tlawd* fywioliaeth ei anifail, ac wrth hynny ei fywioliaeth yntau a'i weiniaid." Bythgofiadwy yw "cyfeddach y saith cymdogion sychedig, *Eunych*, a *Lliwydd*, a *Gof*, *Mwyngloddiwr*, *'Scubwr-simneiau*, a *Phrydydd*, ac *Offeiriad* a ddaethai i bregethu sobrwydd, ac i ddangos ynddo 'i hun wrthuned o beth yw *meddwdod;* a dechreu 'r ffrwgwd diweddar oedd dadleu ac ymdaeru fasei rhyngddynt, p'run o'r seithwyr a garei bot a phibell; a'r Prydydd aethai a'r maes ar bawb ond yr Offeiriad, a hwnnw, o barch i'w siacced, a gawsei'r gair trecha, o fod yn ben y cymdeithion da, ac felly cloes y Bardd y cwbl a'r gân:

O'r dynion p'le 'r adwaenych,
Ar ddaiar faith saith mor sych,
A'r goreu o'r rhain am gwrw rhudd,
Offeiriedyn a Phrydydd."

Wedi dinoethi gwahanol agweddau ar ffurfioldeb a rhagrith, "Oddiyno," meddai, "ni aethom i *'Scubor*, lle'r oedd un yn dynwared Pregethu ar ei dafod-leferydd, weithieu'r un peth deirgwaith olynol. Wel, eb yr Angel, mae gan y rhain yr iawn *spectol* i weled y pethau a berthyn i'w heddwch, ond bod yn fyrr yn eu hennaint un o'r defnyddiau angenrheitia, a elwir cariad perffaith." Ymhellach ymlaen y mae yn cael golwg ardderchog ar Eglwys Loegr, a Phorthor yn agor "llwyth o feibl dirfawr o faint; Dyma, ebr ef, ein hunic Lyfr *Statut* ni yma, profwch eich hawl o hwn, neu ymadewch." Mae y *Pap* yn ymadael, a'r *Cwaceriaid* yn cael eu troi ymaith am fod cynddrwg eu moes. "Wedi hynny, dechreuodd rhai o dylwyth y 'Scubor a safasai yno er's ennyd, lefaru. Nid oes gennym ni, meddent, ond yr un Statut a chwitheu, am hynny dangoswch i ni'n braint. Arhoswch, ebr y Porthor discleirwyn gan graffu ar eu talcennau hwy, mi ddangosa i chwi rywbeth; D'accw, ebr ef, a welwch i ol y rhwyg a wnaethoch i'n yr Eglwys i fynd allan o honi heb nac achos nac ystyr? ac y rwan a fynnech chwi le yma? Ewch yn ol i'r Porth cyfyng ac ymolchwch yno'n ddwys yn Ffynnon *Edifeirwch* i edrych a gyfogoch i beth gwaed Brenhinol a lyncasoch gynt, a dygwch beth o'r dwfr hwnnw i dymmeru'r clai at ail uno y rhwyg accw, ac yna croeso wrthych." Yr oedd efe yn Eglwyswr cryf, ond er gwaethaf ei ragfarnau fe welai fod gan bobl y Scubor barch i'r Llyfr, a bod ganddynt yr iawn spectol i weled y pethau a berthynent i'w heddwch. Nid oedd Ymneillduaeth ar y pryd ond peth newydd; a phrin y gallesid disgwyl iddo ef, oedd mor

ymlyngar wrth yr hyn a olygai fel y drefn sefydledig ar bethau, edrych ar unrhyw ymadawiad oddiwrth hynny ond gyda dwfn anghymeradwyaeth. Ond pe buasai ei oleuni yn gliriach, ni fuasai yn anodd iddo weled digon o "raid ac achos"—ïe, yn ol ei dystiolaethau ef ei hunam yr hyn a gondemniai; ac yn enwedig pe buasai yn byw yn y dyddiau hyn, pan y mae y fath lïaws anferth o urddasolion yr Eglwys mor ddigyfrif o'r "Llyfr Statut," ac yn troi at chwedlau, ofergoelion, a dychmygion gwag, mae yn ddiameu y buasai ei dôn tuag atynt hwy yn dra gwahanol, ac y buasai ganddo barch calon i'r bobl ag y mae eu "Scuboriau," erbyn hyn, wedi troi yn Demlau sydd yn harddu ein hardaloedd, a'u hymlyniad wrth bethau mawrion y Llyfr Statut yn para mor ffyddlon ag erioed. Ni fyddai ond ofer manylu ar y llïaws o bethau da a ddygir o'n blaen yn y Weledigaeth hon, yn gystal ag yn y ddwy sydd yn dilyn,—Gweledigaeth Angau, a Gweledigaeth Uffern. Mae'n ddiau y teimla llawer o ddarllenwyr y dyddiau hyn fod ei iaith yn lled fynych yn isel. Ond rhaid cofio mai dyna oedd iaith ei amseroedd, ac fod y cyfnewidiad sydd erbyn hyn wedi cymeryd lle, er i fesur helaeth yn ddiau yn ffrwyth yr addysg well sydd wedi ffynnu yn ein gwlad, eto hefyd i gryn raddau, fel yn briodol y sylwa Mr. Morris Jones, i'w briodoli i ffasiwn, yr hou, fel mewn gwisg ac ymddygiad, sydd yn cario ei harglwyddiaeth hefyd ar iaith ac arddull. Y mae cwyn arall ag y gallwn gyda llawer mwy o briodoldeb ei ddwyn yn ei erbyn, sef ei fod, wrth son am bethau mor ofnadwy ag Angeu ac Uffern, yn dwyn ymlaen gymaint o gecraeth isel, a chellwair ac ysmaldod. Fe ellid ofni ambell dro fod dwndwr y pethau hynny yn tueddu yn gryf at lesteirio yr argraffiadau da a ddylasent feddiannu darllenwyr y llyfr am arswydlonedd yr amgylchiad o farw yn amharod, o'r gosbedigaeth dragwyddol sydd yn aros gelynion Duw. Ond am hynny hefyd rhaid dweyd fod gwersi da yn cael eu dysgu yn barhaus, ac mewn dull a barai eu bod yn cyrraedd ei gydwladwyr yn dra effeithiol; ac hefyd fod y delweddau a osodir ger bron, ynghyda'r ymadroddion cryfion a byw a thanllyd a ddefnyddir i'w dangos, y fath ag nad allent llai na gadael ar feddwl a chalon y bobl argraff ddofn o'u hofnadwyaeth. "Ai dieithr genniti uffern," meddai Lucifer wrth y Tafarnwr, "a thithe 'n cadw uffern gartre? dos fflamgi at dy benyd." Yn union wedyn "dyma ddeg o Gythreuliaid yn bwrw eu beichie ar y llawr tanbaid tan erthwch yn aruthr. Be sy gennych yna, ebr *Lucifer?* Mae gennym ebr un o'r ceffylau cythreulig, bump o bethau a elwid echdoe yn *frenhinoedd.* (Edrychais lawer a welwn i *Lewis* o *Ffrainc* yn un) Teflwch hwy yma, ebr y brenin; yna taflwyd hwy at y *pynneu coronog* eraill tan draed *Lucifer.*" Drachefn ceir y colledigion benben a'u gilydd, "yn enwedig y sawl oedd â hên 'lanasdra rhyngddynt, ddant yn nant nad yw bossibl eu tynnu oddiwrth eu gilydd. Mae'r *Sawdwyr* benben a'r *Physygwyr* am ddwyn eu trad *llâdd.* Mae myrdd o *Logwyr* benben a'r *Cyfreithwyr* am fynnu rhan o'r trâd 'speilio. Mae'r *Cwestwyr* a'r *Hwndlwyr* ar falu y *boneddigion,* am *dyngu* a *rhegu* heb raid, lle'r oeddynt hwy yn byw wrth y trâd. Mae'r *Putteiniaid* a'i Cymdeithion, a *myrddiwn* eraill o hên Geraint a Chyfeillion gynt wedi syrthio allan yn chwilfriw. Ond gwaeth na dim yw'r gâd sy rhwng yr hên *Gybyddion* a'u plant eu hunain am afradloni'r da a'r arian a gostiodd i ni (medd y *Caffiaid*) gryn

boen ar y ddaiar, ac anfeidrol ing *yma* dros byth A'r meibion o'r tu arall yn rhegu ac yn rhwygo'r cribinwyr yn felltigedig, gan roi eu galanasdra tragwyddol ar eu Tadau, am adel iddynt ugain gormod i'w gwallcofi o falchder ac oferedd, lle gallasai *ychydig* bach gyda bendith eu gwneud yn happus yn eu dau fyd ; wel, ebr Mr. *Lucifer*, digon ! digon ! rheitiach arfeu na geiriau." Cyfeiriaf yn unig ymhellach at y cydystyriaeth rhwng Lucifer a'i ben-cynghoriaid am y ffordd oreu i wrthsefyll y drygau oedd yn eu bygwth ym Mhrydain adeg y Diwygiad Protestanaidd, lle y danghosir meddylgarwch neillduol. Mae gan *Cerberus* Diawl y *Tybacco*, a *Mammon* Diawl yr *Arian*, ac *Apollyon* gyda *Balchder*, ac *Asmodai* Diawl yr *anlladrwydd*, a *Belphegor*, Pennaeth y Diogi a'r *Seguryd*, a *Satan* Diawl yr *Hûg* neu Ragrith, a *Belzebub* Diawl yr *anystyriaeth*,—y mae ganddynt oll eu cynlluniau, a phob un yn barnu yn sicr mai yr eiddo ef oedd y goreu i'r amcan o ddiogelu Prydain ym meddiant Lucifer. Y mae y Brenin yn ateb yr oll gan roddi y ganmoliaeth ddyladwy i bob un am ei gynllun ac am ei waith. Ond yn y diwedd y mae trwy ei fawr ddoethineb yn canfod mai Hawddfyd oedd y gallu cryfaf i gadw y wlad hon yn ei feddiaut. "Hon fy Nghares yr wy 'n awr yn ei hordeinio'n Rhaglaw ar holl achosion fy llywodraeth ddaiarol yn nesa' attaf fy hun, hi a elwir *Hawddfyd. Hon* a ddamniodd fwy o ddynion na chwi i gyd, ac ychydig a delwch oll hebddi *hi*." Er maint allai y drygau ereill wneud. ac er mor hyfryd y cydweithient er sicrhau dinystr dynolryw, y mae yn gweled nad allent oll wneud ond ychydig heb Hawddfyd, tra y gall hi wneud y defnydd goreu o'r holl nerthoedd, a Hawddfyd gan hynny a ordeinia fel ei Raglaw. "*Hawddfyd* ynteu yw fy *Rhaglaw* ddaiarol i, dilynwch *hon* i *Brydain*, ac ufuddhewch iddi, megis in' Brenhinol Oruchelder ni 'n hunain." Ond wedi'r holl ddrygau a'r erchyllderau y welsai yn Uffern, y mae yr Angel glan oedd yn cymeryd ei ofal ac yn dangos iddo y cyfan yn dweyd wrtho : "Ond ni welaisti etto ddim wrth y *cwbl* sydd o fewn cyffinieu *Destryw*, a phe gwelsit y cwbl, nid yw hynny etto ddim wrth sy o drueni anrhaethawl yn *Annw'n*, canys nid yw bossibl bwrw *amcan* ar y byd sy'n *Uffern-eitha*." Ar hynny fe'i cipiodd i entrych y Fagddu felltigedig lle, fel ystyr eithaf y cwbl, y mae yn cael "llawn olwg ar yr anfad anghenfil o *Gawres*" y gwelsai ei thraed hi o'r blaen. "*Gawres dri-wynebog* oedd hi, un wyneb tra sceler at y *Nefoedd*, yn cyfarth, yn chwyrnu, ac yn chwydu ffieidd-dra melltigedig tu ac at y Brenin nefol, wyneb arall têg tu a'r *Ddaiar*, i ddenu dynion i aros yn ei chysgod, a'r wyneb anaelef arall at *Annwn* i'w poeni byth bythoedd. . . . Hon yw Mamm y pedair Hudoles ddihenydd, hon yw Mamm *Angeu*, a hon yw Mamm pob *drygioni* a *thrueni* ; a chanddi grap ofnadwy ar bob Dyn byw. Hi a elwir PECHOD. *Y sawl a ddiango o'i bachau hi gwyn ei fyd fyth*, eb yr Angel." Dyma ddrwg y drygau oll, ac yn erbyn y drwg hwn y mae ergyd yr holl lyfr. Geiriau olaf yr Angel wrth ei adael oedd, "*'Scrifenna'r hyn a welaist, a'r sawl a'i darllenno 'n ystyriol, ni fydd byth edifar ganddo*."

Yr ydym wedi cyfeirio at Gymraeg y llyfr, ac y mae yn werth talu sylw iddo. Ei gamp ydyw ei fod mor naturiol a Chymreig. Mae'n wir fod ynddo lawer o eiriau nad ydynt yn Gymraeg, ac i genedl gymen y "Purdebwyr,"—diolch i Mr. Morris Jones am fathu gair mor

bwrpasol i ddynodi y *Purists*,—y mae hynny i'w gondemnio yn fawr. Nid oes unrhyw drafferth yn ormod gan y bobl syber hyn os gallant osgoi unrhyw eiriau a dybiant yn estronol. Ni chymerant dê, ond sug dail yr India, ac ânt allan a'u hugan fawr am danynt, a gwlawlen yn eu llaw, feallai gan ysmygu myglys, a throant i'r faelfa i ymofyn cyflenwad newydd o'r nwydd gwerthfawr hwnnw, yr hwn a gyfleant yn ofalus yn eu llogell; yna feallai ânt i'r llythyrdy i roi eu llythyr i mewn, neu at orsaf y rheilffordd i anfon pellebyr, os digwydd fod eu hysbeithell gyda hwynt, at berthynas yng Nghaerludd; os nad oes ganddynt arian mân, rhaid gofyn am newid penadur, a chan nad yw pobl y swyddfa bellebrol, feallai, yn delio mewn penaduron, mwy nag y maent yn gallu deall y Gymraeg a siarada efe a hwynt,—er yn Gymry glân,—nid oes ganddynt ond eidduno cael gweled cefn y fath fonheddwr, ac na byddo iddo eu blino byth mwy! Mae y bobl barchus yma yn ein gwlad ers llawer dydd. Cyfeiria Morris Kyffin yn rhagymadrodd ei Ddeffyniad Ffydd Eglwys Loegr yn 1594 at "goeg ddynion a ddoedant, wele, geiriau seisnigaidd a geiriau lladingaidd yw y rhain, yn dwyno'r gymraec." Ond nid allai efe lai na gwaeddi uwch eu pen, "Druain gwerin, ychydig a wyddant, llai a welsant, ac nid gwiw son am ddyscu iddynt." Mae estroniaid yn barhaus yn gwladychu yn ein plith, fel yr ydym ninnau yn eu gwledydd hwythau, ac y maent yn cael eu cydnabod dan eu henwau estronol fel rhan o boblogaeth ein gwlad. Pam na chaiff *pethau newyddion* hefyd, a than eu henwau priodol eu hunain, eu cydnabod yr un ffunud yn ein hiaith? Yr unig amod a ofynna Elis Wyn yn ei eiriau estronol ydyw eu bod wedi gwladychu yng Nghymru, ac felly yn cael eu deall. Felly, ni phetrusa eu defnyddio. Cawn ganddo scwtsiwn, breibwyr, ferdit, ceisbwl, siopwyr, stiwardiaid, biliau, bandiau, siwglaeth, stori, dwndrio, spectol, stât, siars, crio, muwsig, sciabas, twrneiod a cblarcod, briwlio, serio, seler, potecariaid, cwaceriaid, pshaw, mwrdrwr, considro, marsiandwr, bîr, swrffedig, &c., &c. A hyn oll heb feddwl am eu gosod mewn llythrennau Italaidd. Am eiriau gwerinol Cymreig, llawn o fywyd, y maent yn ddiamdlawd ar hyd ei dudalennau,—megis anescorol, goreugwyr, o'i lledol, cyfrwysgall, lleidryn, carnlladron, pumpunt, chwantio, bolera, bytheirio, ymddygwd, pensyfrdan, penchwiban, cymhendod mindlws, taerddwys, henddyn, anghred, rhydrwm, corynfoel, dygwyl, scyrlwgach, goleu-gyhoedd, costog, maleisddrwg, gwarsyth, chwidr, ystlys cenad, lled-ffrom, môl-glafaidd, cuwch, cuwchdrwm, ymleferydd, chwap, ymsythu, gosododd arna'i'n gythreulig, pembwl, ceubal di-wala, cefngefn, cymeiriaid, wal ddiadlam, llynclyn diphwys, collborth, ar sugnedd, heldrin, burgyn o'm bath i, dirfawr wâg, archfa o fygfeydd, oddifynu, damniaid, wylofain croch, echryslef, cimmwch o gythraul, crugo, ymrostio hirnos Gaia, carcharbwll, cyfarth cabledd a chelwydd, palff o ddewin, fflamgi, hen gelffaint, marchogesau, ogo greisionboeth, poen echrys, ynghynffon y llu, anoddef, diawl ceghir, corgi o ddieflyn bach, Empriwr yr erchyllion, chwi ddrewgi diog, chwi hen ufferngi, cystwyo, yn nal, catffwl, cybydd henffel, llais garw-gry rhuadwy cynddeiriog, llymeitian cwrw, cogio, cigweiniau, &c., &c. Am ystwythder, naturiolrwydd, a grym ei frawddegau, a'u mawr ragoriaeth ar anurddiant ffurfiau siaradach, a'r dynwarediad siafaidd

o brïod-ddulliau Seisnig, a'r clogyrnwch sydd yn nodweddu cymaint o ysgrifennu Cymraeg y dyddiau hyn, y mae sylwadau Mr. Morris Jones yn deilwng iawn o ystyriaeth. Feallai mai "yn ei ffrwst" y dywedodd ein cyfaill rhadlon fod ysgrifennu Cymraeg yn ein dyddiau ni wedi mynd "yn gelfyddyd goll;" ond er hynny fe ddylid derbyn ei gerydd ac ystyried ei wersi. Rhoddwyd iddo "ystlys" cerydd gan y Cymro caredig y cyfeiriasom ato o'r blaen am "alw William Salesbury yn 'ymyrrwr,' a chyfeirio mewn dull trahaus at eraill nad yw'n gweled lygad yn llygad â hwy." Prin y tybiwn ei fod yn haeddu hynny. Tra yn dadleu dros i'r hen iaith gael ei defnyddio yn ei phurdeb a'i cheinder cynhennid, yr oedd yn berffaith gyfreithlon iddo gondemnio gwŷr da am wneud camdrin â hi a'i hamharchu. Mae William Salesbury, er cystal ydoedd, wedi ei gwneud yn *rhywbeth arall*, yn "Gamberaec," ac am i ni gymeryd y fath eiriau a commun, eccleis, discupul, euangel, Deo, scripthur, popul, hypocritiaid, testion, cyntwrf, cympwyllesant, paam, &c., &c., fel geiriau Cymraeg. Nid rhyfedd i Morris Kyffin ddweyd mewn cyfeiriad at ei gyfieithiad o'r Testament Newydd, "Ond yr oedd cyfled llediaith a chymaint anghyfiaith yn yr ymadrodd brintiedig, na alle clust gwir Gymro ddioddef clywed mo'naw'n iawn." Dywed Mr. Charles o'r Bala hefyd, y lledneisiaf o feibion dynion, am yr un gwaith, "Fod yr orgraff yn wrthun, yr iaith yn anystwyth, ac, hefyd, yn annealLus yn ein dyddiau ni, yn aml." A'r cwbl am fod y gŵr da wedi ysgrifennu, nid yn Gymraeg fel y deallid hi gan ei gydwladwyr, ond fel yn ei fryd ef y dylasai fod, yn "Gamberaec." Yn debyg y Dr. W. O. Pughe, a'r osgordd o gydwladwyr a enillodd i'w ddilyn. Fe dybid ei fod ef yn wyrth o ysgolheigdod, ac mai efe oedd yr unig un oedd yn deall yr iaith Gymraeg. Ac yr oedd yntau wedi ffurfio ei fympwy am y peth a *ddylasai* fod, heb falïo blewyn am yr hyn ydoedd yn neall ac ar dafod ei gydwladwyr. Yr wyf yn cofio clywed pan yn fachgen ei fod ef wedi cyfieithu campwaith Milton i'r Gymraeg, a bod ei gyfieithiad mor benigamp fel yr oedd yn rhagori ar y gwaith gwreiddiol. Wedi ymboeni cryn lawer uwch ben y cyfieithiad hwnnw, a chael ei fod yn y Saesneg,—wedi dysgu ychydig o'r iaith honno,—gymaint yn haws ei ddeall nag yn Gymraeg, yr oedd yn dipyn o gysur i mi weled fod Iolo Morgannwg yn ei alw yn "Rhigwm y Rhew Mawr," a Dewi Wyn yn taeru mai

> Llef hogi llïf ei *Goll* o,
> Caine a nâd oi'n cynudo.

Nid fel y gwŷr uchod y mae y Cymry sydd wedi ennill sylw a gallu addysgu eu cenedl, wedi siarad ac ysgrifennu Cymraeg; ac y mae'n amlwg mai nid *hwy* sydd wedi ei defnyddio fel y dylid ei defnyddio. Y mae y Cymry, fel pawb ereill, yn siarad eu hiaith i drosglwyddo eu meddyliau i'w gilydd; a chânt fod hynny yn ateb y diben, canys y maent yn deall y naill y llall; a chan mai yr un diben sydd i iaith ysgrifenedig, y mae yn rhodres ffol i neb feddwl y dylai honno fod yn wahanol, oddieithr yn unig mewn gorffenrwydd a dillynder, i iaith lafar. Y rheol barhaus, canon yr oesoedd ydyw,

> Ut usus volet,
> Cum penes arbitrium est et jus et norma loquendi.

Fel y myn arfer,
Gyda'r hwn y mae rhaith a barn a threfn ymadroddi.

Ac am Elis Wyn, fe deimla yr holl genedl fod ei iaith ef yn Gymraeg bur, a hynny am ei fod yn "dilyn natur." Wrth reswm ni feddyliai neb ei fod, ym mhopeth, i'w ddilyn; ond da y gwnelai pawb ei efelychu yn ei fedr i gyrraedd meddwl ei gydwladwyr a gosod ar eu hysbryd argraff dda.

Fe wneir sylw yn y llyfr hwn ar ei Orgraff. Ac yn hyn, y rhagoriaeth a briodolir iddo ydyw ei fod yn ysgrifennu yr iaith fel yr ydoedd efe a'i gymdogion yn *ei siarad*, heb gymeryd ei faglu am darawiad gan yr hyn a brofodd yn gymaint tramgwydd i Dr. Pughe a'i ddilynwyr, sef *tarddiad* ei geiriau. Holl werth geiriau ydyw eu bod yn ddatganiad o'n meddyliau. Ein pwnc yn barhaus ydyw, nid beth ydyw tarddiad gair, ond beth ydyw ei ystyr. Y gair byw ydyw y gair fel y mae yn cael ei seinio; am hynny fel y mae yn cael ei seinio y dylid ei ysgrifennu. Mae'n debyg y cydnebydd ein hawdurdodau Cymreig,—sydd yn fynych yn ddigon oraclaidd wrth draethu eu llên ar y mater yma, er yn profi eu hunain yn ddieuog o wybod ond ychydig iawn yn ei gylch,—fod Dr. Murray, Golygydd *Geiriadur* mawr y Gymdeithas Ieithegol, a gyhoeddir yn Saesneg, yn gwybod rhywbeth am fater o'r fath yma. A dyma a ddywed efe: "Y cynhaniad ydyw gwir ffurf neu ffurfiau byw y gair, hynny yw, *y gair ei hun*, nad yw y sillebiad sydd iddo ar y pryd ond arwyddlun o hono,—yn wir nid yw yn gyffredin ond arwyddlun traddodiadol o ffurf gynharach, a hwnnw weithiau yn amherffaith i gychwyn, ac yn amlach na hynny wedi ei lygru wrth ei drosglwyddo i'n hamser ni. Y ffurf fyw hon yw y *ffaith ddiweddaf* yn ffurf-hanes y gair, cychwyn-bwynt pob ymchwiliad i'w hanes boreu, yr unig ffaith yn ei ffurf-hanes y gall y geiriadurwr yn bersonol ddwyn tystiolaeth iddi. O herwydd yn ei holl nodiadau am hanes blaenorol y gair, nis gall efe ond ail-ddyfynnu tystiolaeth tystion a aeth o'i flaen neu dynnu casgliadau oddiwrth ddulliau cynharach o arwyddlunio y ffurfiau oedd i'r gair yr adeg honno, a phrofi a rheoleiddio'r casgliadau hynny yn ol deddfau ac egwyddorion Seineg Gan hynny y mae safonau'r cynhaniad sy'n bod yn awr, yn hanfodol mewn geiriadur a drina'r iaith yn ol egwyddorion hanesyddol." A phan gofiwn fod y Gymraeg yn seinegol, ac y gellir yn hawdd lythrennu pob gair ynddi yn ol y sain sydd iddo,—yr hyn a fyddai yn anodd iawn ei ddwyn oddiamgylch yn y Saesneg,—fe welir yn amlwg mor resymol fyddai gwneud hynny, ac felly osod y gair mewn ysgrifen neu argraff, fel y dymunai Dr. Murray gael geiriau, yn gorfforiad ffyddlon o'i sain.

Y mae darllenwyr y TRAETHODYDD wedi sylwi fod yr Orgraff a ddilynir ynddo bellach ers cryn nifer o flynyddoedd yn wahanol i'r hyn a arferai fod, ac yn wahanol i'r hyn hyd yma a ffynna yn lled gyffredin yn y Wasg Gymreig. Gan mai myfi sydd yn gyfrifol am y cyfnewidiad hwn, feallai nad amherthynasol y cyfrifid ar yr adeg yma air o eglurhad a ddanghosai pa fodd a phaham y dygwyd oddiamgylch y cyfnewidiad. Yr oeddwn ers cryn amser wedi hen flino ar y dull a arferid o lythrennu nifer mawr o eiriau, eto yn betrusgar i newid y dull ag oedd wedi bod ar arfer cyhyd, ac y gellid ystyried hefyd fod iddo y fath awdurdod. Cefais ohebiaeth werthfawr ar y mater efo'r

Prifathraw John Rhys, yr hyn a'm cryfhaodd yn fwy fyth i adael allan y llythrennau na feddylid byth am eu seinio, ac i roddi i mewn y rhai a seinid, ac nid ereill. Yr oedd rhai pethau wedyn y petruswn yn eu cylch, a chan nad oedd yn gyfleus i ni gael ymddiddan ar y mater, anogodd Mr. Rhys fi i weled Mr. Morris Jones, yr hwn oedd y pryd hynny ers ychydig amser yn Ddarlithydd mewn Cymraeg yn y Coleg y mae yn awr yn Broffeswr ynddo, gan roddi iddo dystiolaeth uchel, a dweyd ei fod yn deall yn hollol ei olygiadau ef ar orgraff y Gymraeg. Canlyniad hynny fu i Mr. Morris Jones a minnau gael aml i ymddiddan ar y mater, a chymeryd hamdden i fyned yn bwyllog ac ystyriol i'w holl fanylion. Daethom hefyd i gyd-ddealltwriaeth, a chorfforasom ein golygiadau yn sillebiaeth y daflen o eiriau a ymddanghosodd yn ei ail erthygl ef ar "Yr Orgraff" yn y TRAETHODYDD am 1890, tud. 325—327: "Rhestr o eiriau," fel y noda efe, "a gasglwyd gan mwyaf gan y Golygydd, ac a gywirwyd yn fanwl gennym ein dau." Dyma orgraff y TRAETHODYDD o hynny hyd yn awr. Wedi hynny cododd "Cymdeithas yr Iaith Gymraeg" y mater i sylw, mewn cysylltiad â'r amcan o gyhoeddi llaw-lyfrau Cymraeg at wasanaeth Ysgolion Elfennol; ac ynglŷn âg Eisteddfod Bangor penodwyd Pwyllgor i ystyried yr holl achos ac i wneud ei Adroddiad. Gwelais awgrym am gael Pwyllgor eto, ond nid hawdd gweled yr atebai hynny nemawr ddiben; canys er nad oedd rhai ag oedd ar y Pwyllgor hwnnw wedi dangos o gwbl eu bod yn awdurdodau mewn Cymraeg, eto yr oeddent yn gwybod rhywbeth am Ieitheg, ac yn meddu cryn gymhwyster i roi barn ar a osodid o'u blaen gan aelodau ereill ag yr oedd eu gwybodaeth mewn Ieitheg *a* Chymraeg yn llawer iawn mwy nag eiddo neb ag oedd wedi bod yn ceisio rhoi barn ar y fath achos erioed o'r blaen. Penodwyd Mr. Morris Jones yn Ysgrifennydd y Pwyllgor hwnnw, ac efe a ysgrifennodd ei Adroddiad—*The Report of the Orthographical Committee of the Society for Utilising the Welsh Language*—yr hwn a gymeradwywyd, ac a gyhoeddwyd gan y *Welsh National Press*, Caernarfon, yn 1893. Yr oedd yr Adroddiad hwn yn seiliedig ar yr un egwyddorion, ac yn cynnwys rhestr gyffelyb o eiriau i'r un a ymddangosasai yn y TRAETHODYDD, ond ei bod yn helaethach, ac mewn ychydig eiriau dipyn yn wahanol. Mae yr egwyddorion hynny yn dra syml. 1. Gwneir i ffwrdd yn gwbl â dybliadau y cydseiniaid nad ydynt byth yn cael eu hynganu. Mae cymaint o sain c, p, t, m, s, yn acw, apwyntio, ateb, cymod, cyson, ag a ellir roddi wedi eu gwneud yn accw, appwyntio, atteb, cymmod, cysson. Mae y llythrennau uchod mewn gwirionedd yn naturiol ddwbl, ac nid yw dodi dwy o honynt ynghyd yn ateb un diben. Ni allent ar y goreu fod o unrhyw wasanaeth ond i ieithegydd, ac y mae a ddynodant at wasanaeth ieithegydd mewn llawer o eiriau yn gamarweiniol; ac yn sicr y mae yn ormod o sarhad ar y gŵr ysgolheigaidd hwnnw i ddyblu y cydseiniaid yn dragwyddol er ei fwyn, pan nad ydyw hynny mewn un modd yn angenrheidiol iddo. 2. Mewn geiriau lle y daw *n* neu *r*, ar ol sill fer acennol, fe geir fod y pwys o sain a roddir arnynt yn drymach o lawer nag ar ol sill hir, neu sill agored. Mae cân yn hir, cánu yn agored, cànu yn fer. Felly tŵr, tŷrau *(towers)*, a thỳrau *(heaps)*. Pa un ydyw y ffordd oreu i ddangos y gwahaniaeth rhwng yr acen fer a'r un agored? Yn y geiriau uchod dynodir hynny

trwy osod acen uwchben y llafariad. Ond pethau anhylaw yw y rheiny i'w defnyddio, a hawdd camgymeryd gyda hwynt. Heblaw hynny, nid ar y llafariad y gosodir y pwys ychwanegol o sain, ond ar y gydsain; ac ar y gydsain y mae ieithoedd ereill bob amser yn dangos hynny. Llawer mwy rhesymol fyddai i ninnau wneud yr un modd, ac ysgrifennu cân, canu, cannu; tŵr, tyrau, tyrrau. Nid oes eisieu i neb ond ymgynghori â'i glust, na chaiff ei foddloni ar unwaith pryd y dylai ddyblu y cydseiniaid hyn. Gan yr awdurdodau Cymreig o'r dechreuad ceir *hynny*, hyd Dr. Pughe, "ymyriad" yr hwn a'i gwnaeth yn *hyny*, ac y mae ei ufudd weision o hynny hyd yn awr yn ei wneud yn *hyny*. Mae y *Bardd Cwsc* yn deall ei ddyledswydd yn berffaith yn hyn, ac yn ysgrifennu:—a ddarllenno, rhannu, ninnau, mynnu, hwnnw, honno, pennaeth, annwyd, ennaint, bynnag, calonnau, tynnu, pinneu, gofynnais, oedrannus, cynnyg, perllannau, &c. Ond nid oes perygl ei gael yn peidio defnyddio y llythyren sengl pan yn son am ganu, *to sing*, ac mewn achosion cyffelyb. Clywais ŵr urddasol wrth ddarllen y llinell

Amser canu, diwrnod nithio,

bron yn rhoddi i'r ail air y sain "cânu," ac felly yn ei osod mewn dirfawr bellter oddiwrth air y pennill, *cannu*. Mi glywais hefyd gyfaill o weinidog teilwng yn dweyd am yr olwg hyfryd a geid mewn seiat, lle'r oedd llawer o Gymry deallus, ar y llinellau

Mae'n Dduw i fynu'r orsedd
A'r ddiafol, cnawd, a byd,

pan gymerid mai *i fyny ar ei orsedd* oedd y meddwl. Wedi dyfod adref a gweled mai *i fynu* oedd y geiriau, prin y gallai faddeu iddo ei hun am y dylni a ddangosasai. Pe'r argraffesid *i fynnu*, fe fuasai y fath gamgymeriad yn amhosibl. 3. Dybler yr n lle bynnag y bo yr acen fer yn rhoi pwys arni, ond gadawer hi yn sengl ymhob man arall. Felly presennol, presenoldeb; ysgrifennu, ysgrifenedig, &c. Yr un modd efo *r*. Mae Elis Wyn yn gofalu am ysgrifennu torrodd, cyrrau, cyrraedd, &c, yn barhaus; ac fe ŵyr pawb nad oes eisieu dyblu yr r ond lle nad yw yr acen yn rhoi y pwys dwbl arni. Y mae tipyn o anhawster efo'r *an* negyddol mewn geiriau yn dechreu efo n neu t neu d. Mae rhestr y Pwyllgor y cyfeiriasom ato yn rhoddi anhebyg, anheg, anheilwng, anibynnol, aniolchgar. Felly Elis Wyn,—anhrefnus, anhrugarog, anheimladwy, anhirionach, aniffoddadwy; ond dyry hefyd anniffoddadwy. Bu trafod llawn ar hyn yn adeg ffurfiad rhestr y TRAETHODYDD yn 1890, a chytunem fod yr *an* negyddol, yn ddiameu, yn galw am acen fer, àn, ac heb hynny fod gradd o berygl i'r *a* gael ei seinio fel cysylltiad, neu ebychiad,—megis a naturiol, neu á naturiol. Felly yn y rhestr honno ceir annatodol, annaturiol, annedwydd. Pan ddefnyddiwn *an*, yr ydym yn rhoi pwys ar y ffaith *nad* ydyw y peth y naill ffordd, ond y ffordd arall,—yn an-naturiol, &c., ac am hynny dylid dyblu yr n mor sicr ag y dylid yn annedd neu annerch. Er i acen y gair ar y pryd beidio bod ar y sill gyntaf, eto y mae cymaint o bwys yn y negyddiad ag a eilw am ddyblu y llythyren. Mae yn wahanol yn rhestr y Pwyllgor; ond da gennyf weled fod Mr. Morris Jones ei hun yn y Rhagymadrodd i'r *Bardd Cwsc* yn ysgrifennu annhebygrwydd, annibynnol, &c., er ei fod

unwaith, mae'n debyg mewn amryfusedd, yn rhoddi anherfynol. 4. Ond tra na ddyblwn lle nad yw y sain yn galw am hynny, neu yn wir yn ei oddef, a thra y dyblwn yn ofalus pan y gwnawn hynny yn ein llafar, gofalwn hefyd ymhob ffordd arall ar fod ein geiriau yn cael eu gosod ger bron fel yr ydym yn eu llefaru. Nid ydyw hyn wrth reswm yn golygu bod iaith llên i gymryd i fyny neillduolion pob siaradach, neu y trawsffurfiad ar eiriau a wneir mewn cornelau neu ardaloedd neillduol. Yn ol geiriau synhwyrol Dr. John Rhys, ni a gymerwn fel ein safon y modd y siaredir yr iaith "gan Gymry deallus" Ac y mae hyn bellach yn ddigon adnabyddus. Y mae llawer yn ein plith yn cofio dyddiau da y "teithio;" y pryd hynny pan fyddai pregethwyr o'r naill dalaeth i Gymru yn llefaru wrth bobl y dalaeth arall, ni ddeallent lawer o'u geiriau ond yn amherffaith, ac am gryn nifer ni ddeallant hwy o gwbl. Yn awr, mewn canlyniad i addysg well a chynefindra â iaith lenyddol, prin y gallai y rhai sy'n gwrando ein pregethwyr wneud allan o ba dalaeth y gallent fod. Mae llafar "Cymry deallus" yn safon diogel a chymwys. 5. Ac ar wahan i bwnc y dybliadau, y mae amryw faterion ereill y teimlir anhawster yn eu cylch ac y gwnelid yn dda eu dwyn at y safon yma. Dyna y defnydd o'r *h* Mor aml y gwneir yr hyn na ddylid, ac y gadewir heb ei wneud yr hyn a ddylid ei wneud gyda'r h! Pa reswm all fod dros ysgrifennu anghen, cynhen, cynheu, cymhwys, cymhell, cyrhaedd, cyngherdd, &c., —yn lle angen, cynnen, cynneu, cymwys, cymell, cyrraedd, cyngerdd, fel y mae pawb yn eu seinio? Drachefn, pam y petrusai neb, yn nhraigl y cyfryw eiriau, yr un modd ddilyn llafar y genedl, ac ysgrifennu anghenion, cynhennau, cynheuant, cymhwyster, cymharu, cymhellion, cyrhaeddyd, cyngherddau? Yr wyf yn cofio cyfaill coeth, sydd ers llawer dydd wedi mynd i orffwys, yn cwyno yn fawr am y gair "cenhadon" a welai ar ein tudalennau, ac yn dal yn gryf mai cenadon a ddylai fod. Yr ydoedd, sut bynnag, yn llafurio dan ddwy anfantais i roi barn ar y fath achos; yr oedd wedi dysgu ei Gymraeg yn Lerpwl, ac yr ydoedd wedi gwneud eilun o Dr. Pughe. Mae pobl Cymru, er yn ddiarwybod iddynt eu hunain, yn deall yn well, a phob amser yn myned i'r cyfarfod cenhadol, ac yn cyfrannu at yr achos cenhadol, ac yn anfon cenhadon allan. Felly Dewi Wyn,

> **Cenhadon cân' eu hwda—o fyned,**
> **Neud drws agored, nid rhyw segura.**

Ac felly y Beibl, "Ewch genhadon cyflym," &c. Eto dyna y rhagddodiad *di* a *dy*. Hyd ddyddiau Gwilym Owain, nid oedd neb wedi teimlo anhawster am y rhain. Ond fe ddarganfyddodd efe fod y naill yn fanyn nacäol a'r llall yn gadarnhaol, ac am hynny y dylid ysgrifennu y fath eiriau a distaw, diddan, dieithr, diben, a disgybl,— yn dystaw, dyddan, dyeithr, dyben, a dysgybl. Erbyn edrych, fodd bynnag, fe geir fod dy yn negyddol yn *dybryd*, a di yn fynych yn gadarnhaol ei wala; fod di, mewn geiriau cyfansawdd, yn cyfateb i *de* Lladin, ac yn golygu *allan*; felly *diben* yn golygu y pen eithaf; *disgwyl*, edrych allan; *didoli*, torri allan. Yr ydym yn *di*noethi, noethi allan ac allan, difetha, dibennu, &c., fel y gwnelai Cymry yr oesoedd. Am *dysgybl*, meddyliai Pughe ei fod yn dyfod o *dysgu*; os felly, o ble y caed

y terfyniad *ybl*? Mae y gair yn dyfod yn ei grynswth o *discupulus* y Lladin, er y myn Pughe anwybyddu hynny, a'i olrhain, fel y gwna gyda lliaws mawr o eiriau a gawsom o ieithoedd ereill, i bethau y breuddwydiai efe eu bod yn wreiddiau Cymreig. Y mae *ay*, o'r ochr arall, yn ateb i'r *do* Wyddeleg, ac yn golygu *at*, *ynghyd*; am hynny ysgrifennwn dygynnull, cynnull ynghyd; dyfynnu, mynnu at; dygyfor, casglu ynghyd. Drachefn dyna *an* ac *yn*. Efo geiriau yn dechreu gydag n, neu d, ceir nn; annaturiol, annedwydd; ond gyda rhai yn dechreuo efo t, ychwanegir h, annhrefnus. Gyda geiriau yn dechreu efo c, daw yr n c yn ng, gydag h,—an-cywir, ang-nghywir, anghywir; a chyda geiriau yn dechreu efo p, daw yr np, yn mh,—an perthynasol, am-mherthynasol, amherthynasol. Yn gyffelyb gydag *yn*. Mewn geiriau yn dechreu efo b a p, daw yn *ym*: yn Bangor, ym Mangor; yn y blaen, ym mlaen, neu ymlaen; yn Pwllheli, ym Mhwllheli; yn pell, ym mhell, neu ymhell. Efo geiriau yn dechreu gydag g ac c, daw yn yng: yn gair, yng ngair; yn Caer, yngh Nghaer; yn cyd, yng nghyd, neu ynghyd. Mae y fath gyfuniadau ag anmharod, anmharchu, yn mhell, yn mynwes, yn mherthynas, yn Mangor, yn Nghaernarfon, &c., fel yn sicr yn Bangor, yn Caernarfon,—yn annaturiol, ac ni allesid eu goddef oni bai ein bod wedi dysgu tric nad ydyw natur yn ei gydnabod, fel mae y rhai sydd wedi treisio natur trwy ddysgu ysmocio tybaco ac yfed diod feddwol, ar ol cynefino â'r pethau hynny, yn teimlo nad allant wneud hebddynt. Mae cenhedlaeth gymen y Purdebwyr bob amser yn dra gofalus i ysgrifennu yn llawn llythyr y ffurfiau rhagferfol yn mha, yn mlaen, yn mhen, yn mhell, yn mhob, yn nghwr, yn nghanol. Ond mae y genedl, trwy reddf, yn cyfuno y geiriau, ac yn dweyd—ymha, ymlaen, ymhell, ymhen, ymhob, ynghwr, ynghanol. Wrth gwrs pan fydd eisieu dynodi sefyllfa, gosoder yr arddodiad a'r enw ar wahân. Felly gallai dyn fynd ymlaen, nes ei gael ei hun cyn hir ym mlaen y fyddin; neu o ddyfal ddringo, ei gael ei hun ymhen amser, ym mhen y mynydd. Mae Elis Wyn, fel gwir Gymro, yn defnyddio y ffurfiau rhagferfol hyn heb ddim petruster, ac yn ysgrifennu—hyd ymhell, ymhob, ymhen, ymhris pedwar, ymysc, yngolwg, &c. Fe gymerir trafferth dra afreidiol mewn geiriau cyfansawdd i ysgrifennu y ddwy gydsain, yn niwedd y naill air a dechreu y llall, fel y maent, tra y mae llafar yn galw am galedu y gyntaf; nid pobdy, ond popdy; nid adgas ond atgas; nid hebgor, ond hepgor; nid crogbren, ond crocbren; nid dadguddiad, ond datguddiad. Ac nid oes eisieu ysgrifennu y ddwy gydsain pan y maent yn naturiol ymdoddi i un sŵn. Felly popeth, gwynepryd, prifordd. Clywais gyfaill doniol yn ceisio gwneud digrifwch o "popeth" trwy ddweyd ei fod yn peri iddo feddwl am *pop*. Nid oedd yn sicr *lawer* o reswm yn hynny. Y cwestiwn yw, a feddyliai neb am geisio swnio y ddwy lythyren yn pobpeth, a gwynebpryd? Ni ellid gwneud hynny heb ymdrech na feddyliai neb sydd yn ei synwyr am geisio ei gwneud. Os felly, pam yr ysgrifennir y ddwy? Yr un modd am eiriau fel y rhai hyn, y rhai hynny, dyweyd, cymydogion, cymeryd, ocheneidio, llythyrennog, gwrthwynebu, gorchymynion, tragywyddoldeb. Ysgrifenna Elis Wyn hwynt fel yr ydym yn seinio,—y rhain, y rheiny, dweyd; cawn ganddo cymydog, cymdogion; cymryd, ochneidio, llythrennog, gwrth'nebu, gorch'mynion, tragwyddoldeb. Am eiriau o

ieithoedd ereill sydd wedi gwladychu yn ein hiaith, ni raid eu hysgrifennu ond fel geiriau Cymraeg. Felly sêl, ac nid zêl. Felly argraff a phroffwyd, ac nid argraph a phrophwyd. Cawn yr Italaeg yn wir yn defnyddio *filosofia* am philosophi. Nid oes eisieu y *ph* yn Gymraeg ond fel y sain chwern am p,—a phan, a phawb. Ac fel y gwnawn i ffwrdd â dybliadau y cydseiniaid, ysgrifennwn Saboth hefyd ac nid Sabboth. Am eiriau estronol sydd wedi hen gartrefu yn ein plith ac yn cael eu deall a'u defnyddio gan bawb, y mae yn ffolineb digymysg ceisio eu hosgoi trwy gymeryd trafferth i greu geiriau Cymraeg ar eu cyfer, a hynny pan na allwn ddisgwyl iddynt hyd yn oed gael eu deall gan y genedl Gymreig, heb son am eu defnyddio. A pham nad ysgrifennwn hwynt fel yr ydym yn eu swnio? Hyd yn ddiweddar teimlid ei fod fel llygriad i ysgrifennu Beibl, er mai felly y swniai pawb y ffurf anghynanadwy o'r gair, Bibl. Y mae yr holl ieithoedd ereill yn derbyn geiriau newyddion yn barhaus, ac felly yn eu cyfoethogi eu hunain, a hynny heb feddwl am fynd at ryw ystôr o wreiddiau y gallont dybied eu bod yn eiddo iddynt, i wneud geiriau newyddion; ac yn gyffredin y maent hefyd yn eu swnio fel y maent yn eu cael, neu mor agos i hynny ag y gallant. 6. Am y nodau a ddefnyddir, goreu po gynhilaf ein hymwneud â hwynt. Nid oes eisieu y cyplysnod ond pan ddymunwn i'r ddau air a gyfunir gael eu hystyried ar wahan, megys iawn-farnu, iawn-gyfrannu, cysegr-ysbeiliad. Yn y llinellau

Pe bai'm sêl i yn ddibaid,
Pe fy nagrau'n ddiball gaid,

dylasai yn *ddibaid* fod yn ddi-baid, er gochel rhoi yr acen ar y sill gyntaf, ac felly andwyo yr odliad. Am yr acen grom, ^, nid oes ei heisieu ond lle bo perygl i air gael ei gymeryd fel acen fer, ´, neu \` ; ac fel rheol, pan ddyblir y gydsain, neu pan y mae y gydsain yn naturiol ddwbl ar ol acen fer, nid oes eisieu acen o gwbl. Goreu po anamlaf y defnyddir y sillgoll hefyd, yn enwedig mewn ffurfiau talfyredig nad all neb fethu eu deall, megis dweyd, mynd, gweld, ers. Am y didolnod, ¨, nid oes ei eisieu ond lle bo llythrennau i'w didoli, megis gwacäodd. Am ysgrifennu "efe a ä," neu "hwy a änt," y mae yn ddi-reswm. Sut y gellir didoli *un* lafariad? Mae a, fel yna, yn sefyll am aa, ac ant am aant; o chan na ellid gwneud seiniad felly, fe wesgir y ddwy a ynghyd i wneud un hir, â. Felly yn y Beibl yn barhaus: "efe a â," "a'r rhai hyn ânt," er y gofala y Mynegeiriau—i'w gosod, bid sicr, fel y "dylent" fod—am eu gwneud yn ä, ac änt. Am y nodau ereill, gofaler yn unig am eu defnyddio yn y ffordd a osodo y brawddegau yn fwyaf clir o flaen meddwl y darllennydd. Feallai ei fod yn werth crybwyll mai prawf o anaddfedrwydd yw bod yn hael ar ryfeddnodau. Os na fydd y *peth* yn rhyfedd, a'r datganiad o hono yn glir a byw, ychydig iawn all y rhyfeddnod wneud i helpu yr argraff. Felly gyda gorfynychu geiriau mewn llythrennau Italaidd. Ac felly gyda defnyddio y fath eiriau ag uwchaf ac uwchafiaeth, pan y mae uchaf ac uchafiaeth yn uwch ac yn harddach; gogymaint a gogystal, pan y mae cymaint yn fwy, a chystal yn well, heblaw bod y naill a'r llall yn fwy cryno a seinber. Mae pob gormodedd yn anharddwch. "Cadw dy afraid erbyn dy raid." Mae symledd yn anhepgor i ysgrifennu da.

Am y pethau hyn a'u cyffelyb nid, wyf fi yn gwybod am unrhyw Athraw ag y byddai yn well i'r rhai sydd am ddeall a gallu defnyddio yr iaith Gymraeg eistedd wrth ei draed a chymeryd eu dysgu ganddo na Mr. J. Morris Jones. Efe, mae'n ddiameu, fyddai yr olaf o bawb i honni anffaeledigrwydd. Mae'n debyg hefyd y teimlai rhai ag y mae efe weithiau yn lled lawdrwm arnynt, beth mwynhad wrth weled ei fod yntau mewn rhai pethau yn llithro. Ceir ganddo testun a thestyn, Ysbaenwr ac Yspaenwr, portreir a phortreadu, mynd a myn'd, annibynnol ac anherbynol, ymgynnefino, a chynnyrcher, benthyca a benthycca, dafarniad, cynhenid, o herwydd ac oherwydd, ymddanghosodd ac ymddangosodd: a hyn oll er ei fod gyda chryn ddyhewyd yn erchi, "Yn unig bydder yn gyson." Nid sicr y gallwn deimlo o bywioliaeth; pam nad bywoliaeth, fel gwaedoliaeth? Mae llenlleidr a llenlladrad yn ddieithr, yn enwedig gan un sydd yn dal mor bybyr dros ysgrifennu yn ol y sain. Mae "am Ddante," neu "ar Ddante," yn gamu braidd yn rhy bell ar yr ochr dde; felly Bedd Gelert, pan foddlona pawb ar ysgrifennu enwau o'r fath, fel y maent bob amser yn eu dweyd, fel un gair. Felly am piwritan, ceriwbiaid, ciwrad, pan ydys o'r dechreu wedi eu hysgrifennu efo u. Mae neilltu a neilltuo ac Ymneilltuwyr, dipyn yn ormod. Digon tebyg fod y swn beth yn gryfach na *d*, ond yn sicr nid ydyw cyn gryfed â *t*; a chan mai "gair petrus" ydyw, pam y dodir y t ynddo, ac felly alw ar bobl i'w swnio mewn dull nad allai lai na dolurio'r glust? Yn ei ail erthygl yn y TRAETHODYDD am 1890, darllennwn: "Ar ol ll, th, ch, ff, s, bydd cydsain fud yn feddal. Ysgrifenner 'alldud,' 'neilldu,' 'chwithder,' 'nychdod,' 'ysbryd,' &c. Ond y mae'n amheus a yw t wedi meddalu ar ol s. Yn hytrach ysgrifenner 'eistedd,'" &c. Mae "datblygiad," a *welwn* ambell dro, yn beth nad oes nemawr berygl i ni byth ei *glywed*. Sonnir yn *Report* 1894 am ryw air nad yw ei ffurf yn rhesymegol gyson, ond ychwanegir "but it must stand." Oni raid iddi fod felly hefyd am lawer o eiriau, yn enwedig pan ydym yn gadael o'r neilldu ddamcaniaethau ymyrwyr a phurdebwyr, ac yn llythrennu y seiniau byw? Sonnir am "y glod," ac am "ddychymyg gref." A glybuwyd erioed y geiriau hyodledd a hyotlach? Yn 1890 a 1894 ysgrifennid daear, fel y mae pawb yn ei swnio; yma daiar a geir. Yr un modd y mae disglaer a thalaeth, wedi mynd yn ddisglair a thalaith; ond megis a gwyddis, o'r ochr arall, wedi mynd yn megys a gwyddys, tra y mae dinystr wedi mynd i ddinistr. Tybed y rhaid i gebystr fynd ar ei ôl? Nid ydyw yn hawdd bod yn sefydlog gyda llawer o'r manylion hyn, fel yr addefa Mr. Morris Jones ei hun. Ond nid oes unrhyw ddadl am yr *egwyddor* a osodir yma o'n blaen; ac am y doraeth fawr o'n geiriau, y mae ei *chymhwysiad* hefyd yr un mor ddiamheuol. Mae rhai o'n cyfeillion wedi bod i fesur yn llithrig wrth geisio ei gwawdio; carwn eu gweled yn profi ei geudeb, neu yn gallu dangos ei gwell Os nad allant wneud y naill na'r llall, pam na ddefnyddiant hon? Gydag ychydig eithriadau,—megis dybliad afreidiol y cydseiniaid caledion, a pheidio dyblu yr n a'r r mewn llawer achos pan mae y pwys o sain a roir arnynt yn amlwg yn galw am hynny,—dyma lythreniad ein cyfieithiad o'r Ysgrythyrau. Cawn Huw Tegai yn ei "Ramadeg Athronyddol" yn cwyno yn dostur, pan oedd pob peth arall a argreffid yn cael

llawenychu yng ngheinder yr orgraff newydd, fod y Llyfr Goreu yn gorfod ymddangos yn barhaus yn yr hên. Diolch na chafodd yr "ymyrwyr" anurddo yr hyn, mewn Cymraeg ac orgraff hefyd, fel ymhopeth arall, sydd yn aros fel ein hawdurdod mwyaf safonol. Nid oes eisieu ond cymhwyso yn llawnach yr egwyddor lywodraethol a geir yma, ac felly yn neilltuol yng ngoleuni dysgeidiaeth addfed ieitheg ddiweddar, na cheid terfyn bythol ar yr hyn y cwynir am dano fel "dadl anorffen yr orgraff," ac y sicrheid i ni yr hyn y syniai Dewi Wyn ei fod wedi ei gael pan ganai,

O ddysg hen Gambold e ddaeth
Llythyreg gall, lithrig, goeth.

Dymunwn adael yr achos yma yn llaw Mr. Morris Jones, fel un ag y mae ei allu a'i ddysg a'i ddirfawr lafur yn rhoddi iddo y cymhwyster uchaf i ymwneud ag ef; ond gan awgrymu yn unig—os goddefol cymaint hyfdra!—ar iddo falio llai am awdurdodau o'r canol oesoedd, fel y'u ceir yn y cynganeddion a'r odliadau, yn y mater o gynhaniad, a glynu yn fwy diysgog,—yn ol ei athrawiaeth ef ei hun ac eiddo Dr. Murray,—wrth iaith lafar fyw "Cymry deallus" y dyddiau hyn. Pe ceid o'i law felly Ramadeg Cymraeg, a Geiriadur Cymraeg cryno, fe wnai gymwynas â'i genedl, ac âg efrydwyr yr iaith o bob cyfeiriad, a fawrheid dros ddyddiau lawer.

DANIEL ROWLANDS.

---

## Y DIWEDD.

OFNADWY awr! Y Diwedd Mawr
Yn llawn o Dduw sy'n dod i lawr!
Y Diwedd!—olaf gydiad byw
Amser a Thragwyddoldeb yw!
Gogoniant claer a'i dilyn ef,
Barlysa'r ddae'r, oleua'r nef;
Cysgodion ei ddyfodiad sydd
Yn gloywi'r nos, yn dallu'r dydd;
Clafycha'r bydoedd ar eu taith;
Chwithigrwydd döa'r Wybren faith;
Y Crëad rydd ochenaid ddofn;—
Yn wŷn o fellt y saif gan ofn!—
*A yw yn euog?* Crŷn,—arswyda!—
Rhag ofn y certh Ysgydwad Ola'!

Amser yn brysur sydd yn marw;—
Yn crynu ar y Dibyn garw;
Yn rhoi ffarwel i'r gorymdeithiau
Sy'n symud, symud, trwy'r wybrennau

Tra'n edrych idd ei fedd, ymeifl
Yn ei gyfrolau, ac a'u teifl
Ynghyd—heb golli ffaith na darn,
Yn gryno oll ar Fwrdd y Farn!
Ac yna trenga. "Angel" hedd
Ddyd "Dragwyddoldeb" ar ei Fedd!

Ust! ust! clyw gynwrf y Cysgodau
Yn gwasgu'u gilydd at y Rhodau
Tra'r Diwedd Mawr yn tori'u beddau!

*Jehovah sy'n agos!* Mae'r meirw'n fyw
I seiniau pell-dreiddiol Udgorn Duw!
Yr Olaf Wawr sydd yn llesmeirio,
A'r Daran olaf, dan fytheirio,
Sy'n crwydro 'mhell am le i farw
Yn ngoleu'r Fellten Olaf, acw!

Bron tori ei chalon mae'r Wybren dêr!
Mae'n colli ei heuliau; yn wylo ei sêr;
Y Ddaear ysgydwa fynyddoedd i'r nen,
Tra'r Diddim a egyr ei byrth led y pen!
O! danllyd allorau! anfeidrol eu hyd!—
Pa beth?—a yw Duw yn aberthu y byd!

* * * * * *

Ust! dyna "dwrf" rhyw "fyned heibio!"—
Y *Cysgod* yw,—yn cael ei reibio
Gan fflam y Diwedd. Gwêl yr Adwy
Yn llawn o'r Sylwedd Mawr Ofnadwy!
Y Diwedd! Diwedd *pob cyfnewid—*
*Pob goruchwyliaeth,—pob addewid!*
Diwedd pob berw! Tragwyddoldeb
Fydd mwy yn syllu yn ein hwyneb!
Y Nef neu Uffern, hedd neu glwy'
A'n deil. Ac ni bydd DIWEDD mwy!

JOHN T. JOB.

---

## CAN Y CANIADAU.

DIAU fod amryw o'n darllenwyr, o bryd i bryd, wedi teimlo peth anhawsder i ddeall y rhan hon o'r Ysgrythyr Lân, a'i hawl i fod i fewn ynddi o gwbl. Rhaid cydnabod fod darllenwyr duwiolfrydig yn petruso gyda golwg arni. Wrth ei gweled yn rhan o *ganon* y Gyfrol Ysbrydoledig disgwylient gael ynddi ryw wers ysbrydol; ac eto teimlent mai ychydig iawn, os dim, o'r gwir ysbrydol sydd ynddi. Ymddengys

*

iddynt hwy fel pe byddai ynddi fwy o "swyn serch" nag o feithriniad i grefydd ysbrydol. Gwir fod y "cynwysiad" ar ddechreu y penodau yn ein Biblau ni yn bur ddibetrus am ei hystyr. Dywed ar ddechreu y bennod gyntaf, "Cariad yr Eglwys at Grist," &c.; ac ar ddiwedd yr olaf, "Yr eglwys yn gweddïo am ddyfodiad Crist."

Eithr hysbys yw i bawb bellach nad oes i'r "cynwysiad" hwn, o flaen unrhyw bennod trwy'r Bibl, awdurdod Ysbrydoliaeth. *Nid* "dynion sanctaidd Duw a lefarasant" y rhan hon; ond dynion ffaeledig iawn, megys ninnau, a'u gosododd fel eu heglurhad hwy ar y bennod; ac nid ydym yn rhwym o'i dderbyn mewn unrhyw fodd. Mewn oes fel hon, pan y beirniadir pob rhan o'r Beibl, yn sicr nis gall y rhan hon, yn anad un, ddianc yn ddisylw a digwestiwn.

Cytuna y Beirniaid bron yn ddieithriad fod y gân brydferth hon, gan nad beth yw ei dehongliad a'i phwrpas, yn gynnyrch "Oes euraidd" dyddiau Solomon. Dywedir yn 1 Brenhinoedd iv. 32, "Ac efe a lefarodd dair mil o ddiarhebion; *a'i ganiadau ef oedd fil a phump.*" Nid ydym i feddwl mai Solomon ei hun oedd awdwr pob un o'r caneuon hyn; ond mai efe a'u casglodd ynghyd, a'u golygodd, ac a'u cyhoeddodd. Allan o'r "mil a phump" caneuon hyn, nid oes ond hon ar gael—"Cân y Caniadau, eiddo Solomon." A theimla pawb sydd a dim gronyn o farddoniaeth, yn ei ysbryd ei bod yn llawn o'r "awen wir."

Pa le y clywodd neb linellau tlysach na'r rhain?—

"Megys lili ym mysg y drain,
Felly fy anwylyd ym mysg y merched."
"Megys pren afalau ym mysg prennau y coed,
Felly y mae fy anwylyd ym mysg y meibion."

. . . . .

"Wele, y gauaf a aeth heibio,
Y gwlaw a basiodd, ac a aeth ymaith,
Gwelwyd y blodau ar y ddaear,
Daeth yr amser i'r adar ganu,
Clywyd llais y durtur yn ein gwlad."

. . . . .

"Deffro di, ogledd wynt,
A thyred ddeheu-wynt,
Chwyth ar fy ngardd,
Fel y gwasgarer ei pheraroglau;
Deued fy anwylyd i'w ardd,
A bwytaed ei ffrwyth peraidd ei hun."

. . . . .

"Pwy yw hon, a welir fel y wawr,
Yn deg fel y lleuad,
Yn bur fel yr haul,
Yn ofnadwy fel llu banerog?"

Neu ymha le y ceir cryfach y rhai a ganlyn?

"Cariad sydd gryf fel angau,
Eiddigedd sydd greulawn fel y bedd,
Ei farwor sydd farwor tanllyd,
Gwir fflam Jehofah" (*Cyf. Diwygiedig*)

Gwir fod rhai darnau o honi yn *ymddangos* i ni, bobl oerion y gogledd orllewin, yn ymylu ar yr amheus mewn chwaeth bur. Ond cyn barnu yn derfynol, gweddus yw cofio dau beth perthynasol a phwysig:—Yn gyntaf, nad yw ein cyfieithiad ni yn hollol gywir mewn amryw linellau; a bod yr hyn sydd yn ol yr eiddom ni yn cyfeirio at rannau o'r corff, mewn gwirionedd, yn ol y gwreiddiol, yn cyfeirio at y rhannau hynny *o'r wisg, neu yr addurniadau.*

Yn yr ail le, yr oedd iaith yr hynafiaid, ymhob gwlad, ac yn arbennig felly yn y Dwyrain, yn fwy rhydd a llai mursennol, yn fwy dirodres, ond nid yn llai pur, nag iaith diwedd y ganrif hon—sydd yn gwisgo y meddyliau aflanaf yn yr iaith ddillynnaf, ac yn peri i "Satan yntau ymrithio yn angel goleuni."

Cymharer y Gân hon âg unrhyw gân serch yn hen farddoniaeth y byd, ac yn arbennig â'r eiddo goreugwyr barddoniaeth serch yn y Gymraeg—megys Dafydd ap Gwilym—a gwelir ei bod yn rhagori yn anfesurol ar eu pethau goreu mewn chwaeth a phurdeb.

Ond pa beth yw ei hystyr? Paham y'i hysgrifennwyd? Pa fodd y daeth i'r Gyfrol Sanctaidd? Os yw yr holl Ysgrythyr yn fuddiol i ddysgu, Pa addysg a geir yn y gân hon?

Rhaid addef nad yw y gân ei hun, o ran ei ffurf na'i chynnwys, yn gwneud yn hawdd iawn ateb y cwestiynau hyn; ac ymhellach, y mae dull yr oesau o'i hesbonio a'i dehongli wedi cynyddu yr anhawsder yn ddirfawr. Dichon nad oes unrhyw ran o'r Beibl wedi dioddef mwy oddiwrth esbonwyr na'r rhan hon: yn ddios hi a ddioddefodd "ymdrech mawr o helbulon." Bron nad allai y gân ddweyd am yr esbonwyr, yn ei geiriau ei hun am y Sulamees:—"Y gwylwyr y rhai a aent o amgylch y ddinas a'm cawsant, a'm tarawsant, a'm harchollasant; gwylwyr y caerau *a ddygasant fy ngorchudd oddi arnaf.*"

Eglur yw mai testyn y gân, ar ei gwyneb, yw serch Solomon at y Sulamees. Ond mynnai yr esbonwyr mai "*alegori*" (aralleg) yw hyn oll. Y Rabbiniaid a gychwynodd y dull yma o'i hesbonio, yn y Targum. *Alegori* ydyw, meddynt, o gariad Duw at ei bobl Israel. "Du ydwyf fi," medd y genedl; oblegyd ei darostyngiad gan y gelynion; "ond hawddgar," oblegyd ei ffyddlondeb i'w Duw, a hoffder ei Duw o honi hithau. "Llais y durtur" oedd y newydd da am y Messiah yn dyfod, &c., &c.

Dilynwyd y dull Rabbinaidd hwn o esbonio gan y Tadau Cristionogol; ond eu bod yn rhoi Crist a'r Eglwys i fewn yn lle Duw ac Israel. Ysgrifennodd Origen esboniad o'r natur yma ar y gân mewn deg o gyfrolau! Pregethodd Sant Bernard 86 o bregethau alegorïaidd arni; ac nid oedd wedi cyrraedd ond hyd at pen. iii. adn. 1, pan y "lluddiwyd iddo gan farwolaeth i barhau!" Glynodd y mwyafrif wrth y dull hwn ar hyd yr oesau hyd y dyddiau presennol. Un o'r cwynion a ddygid yn erbyn Dr. Robertson Smith, o fewn yr ugain mlynedd diweddaf, oedd ei fod yn methu gweled yn y gân yr un ystyr ysbrydol. Chwareu teg, hefyd, i'r hen esbonwyr gwych, yr oedd rhyw gymaint o sail i'w hesboniadaeth. Mynych y llefarai y proffwydi am Dduw a'i eglwys fel gŵr a gwraig. Hefyd nis gellir esbonio amryw o'r Salmau yn gyflawn a boddhaol heb gymeryd yr ystyr alegorïaidd i fewn; engraifft amlwg a nodedig o hyn yw Salm xlv. Ac yn derfyn ar bob

ymryson, geilw yr Arglwydd Iesu ei Hun "Y priodfab," a'i ddisgyblion yn "blant yr Ystafell briodas;" a geilw ei hoff Apostol yr eglwys, "Y Briodasferch, gwraig yr Oen."

Er hyn oll, yn ein byw y gallwn deimlo, wrth ddarllen "Cân y Caniadau" drosodd a throsodd drachefn, fod yr esboniad hwn yn gorffwys yn deg arni. Nid oes ynddi unrhyw gyfeiriad at grefydd, addoliad, na dim o'r cyfryw; nid yw enw Duw i'w gael o'i mewn (oddigerth yn viii. 6—mewn cydmariaeth—"a fflam angerddol," Hebreig, "fflam *Jah*"). Ni ddefnyddid hi unrhyw amser yn ngwasanaeth y deml, megys y defnyddid y Salmau; ac nid oes unrhyw gyfeiriad ati nac unrhyw ddifynniad o honi o fewn y Testament Newydd o gwbl.

Credu yr ydym yn gryf mai cyfeiliornad mewn esboniad yw gwneud "Caniad Solomon" yn alegori, a dim ond hynny. Ond fel y dywedai y gŵr craff a phwyllog, a hynod hyddysg yn yr Ysgrythyr, y diweddar Barch. Joseph Thomas, "Y mae'r Ysbryd Glân yn ddigon caredig i fendithio cyfeiliornad mewn esboniad i fod yn foddion gras; y mae wedi gwneud hynny lawer gwaith; a gall Efe wneud hynny eto."

Awn at y Gân ei hun, i weled beth a gawn ganddi hi, heb na nôd nac esboniad; ac y mae yr argraff yn gryf ar ein meddwl mai math o *drama* delynegol (*lyrical*) ydyw; neu, feallai, nad amhriodol fyddai i Gymro ei galw yn *fugeil-gerdd*.

Gwelir yn eglur fod ynddi fwy nag un yn llefaru. Ond pan ofynnir pwy ydynt, a pha rannau o'r gân a berthyn iddynt, y mae cryn ddyryswch i'w deimlo.

Nid oes enwau ar ddechreu y gwahanol rannau, fel mewn "*dramas*" yn gyffredin; ac nid yw yr esbonwyr yn cytuno ar hyn. Wedi darllen, a chymharu, a meddwl llawer, cynygiwn yr eglurhâd canlynol ar gynnwys ac ystyr y gân. Prif gymeriadau y *drama* ydynt: Y Brenin Solomon, y forwynig o Sulamees, ei hanwylyd—y bugail, boneddigesau y llys ("merched Jerusalem"), a'r dinaswyr. Yn ystod ei deithiau trwy ei wlad yng nghyfeiriad Libanus, canfu y brenin Sulamees, swynwyd ef gan ei phrydferthwch, a dygodd hi yn ol i'w balas yn Jerusalem, gyda'r bwriad o ennill ei serch. Ond nid yw y ferch ieuanc o gwbl yn gysurus; y bugail oedd ei hanwylyd hi, ac efe ydyw eto, er goreu Solomon. Ymdrechir ei pherswadio i adael ac anghofio y bugail syml; ac i ymserchu yn y brenin. Dadleua'r brenin ei hun â hi; cefnogir ef yn hyn gan foneddigesau y llys ("merched Jerusalem"). Eithr ofer yw y cwbl; ni fyn hi ymadael â'i chariad cyntaf; drachefn a thrachefn hi a ddywed, "Fy anwylyd sydd eiddof fi; a minnau yn eiddo fy anwylyd." Gwell ganddi y mynyddoedd lle y bugeilia efe ei braidd, y gerddi a'r gwinllanoedd lle y mae efe, na holl ogoniant Solomon—"ei dŷ a adeiladasai efe, a bywyd ei fwrdd, ac eisteddiad ei weision, a threfn ei weinidogion, a'u dillad, a'i drulliadau ef, a'u gwisgoedd," &c.

O'r diwedd, wedi gweled mai ofer yw pob ymgais, gollyngir hi adref i'w chartref syml, ac at ei hanwylyd dinod; a chroesawir hi yn gynes ganddo ef, a chan ei pherthynasau. Dyma fraslun o'i chynnwys, os ydym yn ei deall. Er cynorthwy i'r darllennydd ystyriol a garai gael mwy o fanylion, cynygiwn y dosraniad a ganlyn ar y llyfr; ond cofier mai mantais fawr i ddilyn y rhaniadau yw dilyn y Cyfieithiad Diwygiedig, yr hwn a edy ysbaid rhwng y gwahanol lefarwyr.

## ACT I.

GOLYGFA 1.—(Pen. i: adn. 2—7).

Pen. i. Adn. 2, 3.—Un o'r boneddigesau yn canmol Solomon.—Adn. 4. (Y ddwy frawddeg gyntaf): Y Sulamees yn datgan ei hiraeth am ei bugail yn Libanus.—Adn. 4 (Y tair brawddeg olaf): Y boneddigesau yn canmol Solomon. —Adn. 5—7. Y Sulamees.—Adn. 8. Ateb y boneddigesau iddi *yn wawdlyd.*

GOLYGFA 2.—Solomon yn dyfod i mewn.

Adn. 9—11. Y brenin yn anerch y Sulamees.—Adn. 12—14. Y Sulamees yn ei ateb trwy son am ei bugail absennol.

Pen. i. 15—ii. 6. Ymddiddan rhwng y brenin a'r forwynig; efe yn siarad *â hi;* a hithau yn *siarad am* ei hanwylyd yn y gogledd.

Pen. ii. 7. Y Sulamees yn apelio at y boneddigesau i ymatal rhag ceisio cynyrchu cariad at Solomon trwy foddion celfyddydol. Gweler Cyfieithiad Diwygiedig: "Na chyffrôch, ac na ddeffroch gariad (nid *fy* nghariad) hyd oni fynno." (Y mae "fy" mewn llythyrennau Italaidd yn y Gymraeg hefyd, ac i'w adael allan).

## ACT 2.

GOLYGFA 1.—Y Sulamees a'r boneddigesau.

Pen. ii. Adn. 8—15. Y Sulamees yn mynegi iddynt ran o'i bywyd blaenorol, a hanes ymweliad ei bugail â hi, ynghŷd âg un o ganeuon y winllan: "Deliwch i ni y llwynogod, y llwynogod bychain," &c.—Adn. 16, 17. Ail-adroddiad o'i hymlyniad wrth y bugail.

GOLYGFA 2.

Pen. iii. Adn. 1—4. Y Sulamees yn adrodd breuddwyd o'i heiddo.—Adn. 5. Ail-adroddiad o Pen. ii. Adn. 7.

## ACT 3.

GOLYGFA 1.—Dinasyddion Jerusalem, a gorymdaith frenhinol yn agoshau.

Pen. iii. Adn. 6—11. Y dinasyddion yn ceisio perswadio y forwynig trwy ddatgan yr anrhydedd a'i herys os cydsynia i briodi y Brenin.

GOLYGFA 2.—Yn y palas: Y brenin, y Sulamees, a'r boneddigesau.

Pen. iv. 1—7. Cyfarchiad y brenin i'r Sulamees.

GOLYGFA 3.—Y Sulamees yn *dychymygu* ymddiddan â'i bugail.

Pen. iv. Adn. 8—16. Gwahoddiad (*tybiedig*) y bugail iddi.—Adn. 16. Ei hateb hi.

Pen. v. Adn. 1. Ei wrth-ateb yntau.

GOLYGFA 4.

Pen. v. 2—7. *Ail* freuddwyd y Sulamees.—Adn. 8. Datganiad ychwanegol o'i serch.

## ACT 4.

GOLYGFA 1.—Y Sulamees a'r boneddigesau.

Pen. v. Adn. 9. Cwestiwn y boneddigesau.—Adn. 10—16. Ei hateb—yn disgrifio ei hanwylyd.

Pen. vi. Adn. 1. Cwestiwn ychwanegol. Adn. 2, 3. Ateb ychwanegol.

GOLYGFA 2.—Solomon yn dyfod i fewn.

Pen. vi. Adn. 4—9. Ymgais adnewyddol y brenin i ennill ei serch hi.—Adn. 10—13. Adgofion y brenin, neu y Sulamees, am ei chyfarfyddiad cyntaf â'r gosgordd brenhinol yn ei chartref pell.

Pen. vii. Adn. 1—9. Y brenin yn ei chanmol yn fwy cynes.—Adn. 10. —Pen. viii. 3. Y Sulamees yn parhau yn ffyddlon i'w hanwylyd.—Adn. 4. Adroddiad eto o 2 : 7.

ACT 5.

GOLYGFA.—Y bugeiliaid, y Sulamees, a'i hanwylyd—*gartref.*

Pen. viii. 5. Bugeiliaid Sulem yn canfod y forwynig yn dynesu.—Adn. 5–7. Y Sulamees yn cyfarch ei bugail —Adn. 8–12. Y Sulamees yn cyfarch y gwyddfodolion; gan adrodd yr hyn a gynlluniai ei brodyr er ei lles, a'r modd y darfu iddi hi ddyfod i fyny â'u disgwyliadau.—Adn. 13. Y bugail yn gofyn iddi am gân.—Adn. 14. Ei hateb hithau.

---

(Gweler Ewald; Driver; Robertson-Smith yn yr *Encyclopædia Britannica*, o dan y gair "*Canticles;*" *Expositor's Bible*, &c., &c.

Na ddyweded neb fod egluro y gân fel hyn yn esboniad tlawd ac isel a chyffredin. "Y pethau *a lanhaodd Duw*, na alw di yn gyffredin."

Un peth a wna y Bibl yn adeiladol a dyddorus y tu hwnt i bob llyfr arall ydyw amrywiaeth ei gynnwys. Ceir yn yr Hen Destament bob math o lenyddiaeth Hebreig yn dal perthynas â rhagluniaeth, crefydd, moesoldeb, a serchiadau dynol; a'r rhai hyn o awduriaeth ac amseriad gwahanol, fel ag i roddi i ni ddarlun-len *(panorama)* ddidor o hanes a dadblygiad y genedl etholedig. Gan mai dyna yw y Bibl, buasai yn anghyflawn i'w amcan ymarferol pe na chawsid ynddo engraifft o'r farddoniaeth a nodweddai oes euraidd y doethaf o ddynion.

Gofynnodd gweinidog ieuanc i Niebuhr dduwiol a dysgedig, "Paham yr oedd cân serch wedi ei rhoddi i fewn yn yr Ysgrythyr Lân?" Ac atebodd y gŵr mawr, "Buasai rhyw ddiffyg hyd yn oed yn y Bibl pe na buasai ynddo fynegiad o'r teimlad cryfaf a dyfnaf o'r holl deimladau dynol." Ac onid yw y Bibl yn fwy anwyl a chysegredig wedi i ni ddeall—trwy "Gân y Caniadau"—fod yr "Hwn sydd ofnadwy mewn Sancteiddrwydd" yn cyfrif serch dynol yn beth teilwng i'w osod yn ei gysegr Ei Hun? Wele y manna hwn a gesglir oddiar wyneb anialwch daear, ym more'r dydd, wedi ei roi i'w gadw ganddo yn nghrochan aur y gân hon, a'i osod "ger bron yr Arglwydd" yn ei sancteiddiolaf.

Wedi'r cwbl, feallai fod yr hen esbonwyr, Origen a Bernard, a'u tebyg, yn nes atom, yn eu syniad hwy, nag y tybiem ar y cyntaf. Nid oes i ni gystal dameg a chariad daear i egluro "Cariad y Nef." Trwy ein cysylltiadau daearol, agos a dirgelaidd—trwy serch a thynerwch a phurdeb mamau, gwragedd, a chwïorydd;—trwy nerth a gwroldeb a doethineb tadau, a phriod, a brodyr, y deuwn i adnabod yr Hwn y dywedir am dano—"Duw, *cariad yw.*"

H. BARROW WILLIAMS.

*Llandudno.*

---

## LLYFRGELLOEDD RHYDD CAERDYDD.

*Catalogue of Printed Literature in the Welsh Department.* By John Ballinger and James Ifano Jones. Cardiff, 1898. 2s. 6d.

UN o arwyddion goreu y Deffroad Cenedlaethol yng Nghymru yw'r awydd am gasglu pob peth deifl oleu ar hanes ein gwlad. Myn rhai wneuthur casgliad o wahanol fwnoedd ein gwlad, ereill o lysieuau, rhai

a gasgl hen arfau ein henafiaid, ereill eu llestri a'u crochanau. Ond, o bob math o gasglwyr, dewisiem y dyn sydd yn crynhoi llyfrau a llawysgrifau, gyda chwaeth bur i bigo yr hyn sydd oreu, a gwelediad craff i ganfod yr hyn sydd werthfawr. Nid oes eisieu dweyd mai y llyfrgell oreu yw'r llyfrgell sydd gyflawnaf o bigion llenyddiaeth, ac nid yr un sydd yn cynnwys y nifer mwyaf o lyfrau, heb ond ychydig o'r llyfrau gwerthfawrocaf. Anhawdd iawn ydyw gosod rheolau i lawr ar bwnc fel hwn, ond yr ydym yn tueddu i feddwl ambell dro ei fod mor anhebgorol i'r gŵr sydd yn ffurfio llyfrgell fod heb rhai llyfrau ag ydyw iddo berchenogi llyfrau ereill. Nid yw yn weddus gwel'd llyfrau da, mwy na dynion da, mewn cwmni drwg; a gwelir yn aml un llyfr drwg, digymeriad, yn andwyo casgliad o lyfrau rhagorol. Wrth weled llyfrau gwael mewn llyfrgell, casgla'r gŵr cyfarwydd fod rhyw ddiffyg yn chwaeth y perchennog; ac, yn yr un modd, pan wêl ef ddau neu dri o hen lyfrau profedig, ond wedi eu hanghofio gan y lliaws, ar astell ei gymydog, penderfyna yn ei feddwl ei hun fod gŵr o chwaeth dda wrth ei ochr. Y mae'r llyfrgellydd cyfarwydd yn chwilio am fannau priodol yn ei lyfrgell i roddi ei lyfrau i lawr; nis gall oddef gweled llyfrau anhebyg eu hanianawd wrth ochrau eu gilydd. Nis gŵyr neb ond ef am y pleser sydd i'w gael wrth adael ei lygaid i grwydro ol a blaen hyd estyll ei lyfrgell, gyda llygad craffus i ganfod ambell i frycheuyn, i'w symud i fan arall, ac i gyfleu hen gyfaill profedig, llychlyd, diolwg, yn ei le. Ond nis gall llyfrgellydd cyhoeddus bigo a chwynnu ei lyfrau fel hyn; rhaid iddo ef gasglu pob peth, pa un bynnag ai gwerthfawr ai diwerth; ac nid wrth yr un llinyn mesur y mesurir gwerth llyfrgell sydd dan ei ofal ef a llyfrgell y gŵr sydd yn casglu er mwyn plesio ei hun.

Y mae Llyfrgell Caerdydd yn esiampl dda o hyn; cynhwysa rai llyfrau prin iawn, llawer o'r llyfrau goreu yn yr iaith Gymraeg, ond heb fod yn lyfrau prin, a llwythi lawer o lyfrau hollol ddiddefnydd. Am y rheswm hwn nid ydyw'r dasg o edrych trwy'r llyfr sydd o'n blaen mor ddyddorol ag yr oeddem ar y dechreu yn tybied y byddai, canys yr ydym yn blino wrth ddarllen enwau llyfrau sydd heb fod o'r dyddordeb lleiaf i ni, tra yn chwilio am lyfrau prin a gwerthfawr. Etto nis gall dyn lai na sylwi fod llenyddiaeth Cymru yn rhydd iawn oddiwrth bob math o lyfrau llygredig. Yn wir y mae yn anhawdd credu fod llenyddiaeth un genedl arall yn gyffelyb iddi yn y mater hwn. Ond os ydym yn rhydd oddiwrth lyfrau anfoesol, credaf fod gennym gyfartaledd mwy na'r cyffredin o lyfrau annyddorol: llyfrau na fu, na sydd, ac na fydd neb byth yn eu darllen. Meddylier, er esiampl, am y canoedd o lyfrau barddoniaeth a gyhoeddwyd yn ystod y ganrif hon, llyfrau y gallasai gŵr ddarllen ddeg awr y dydd am wythnos gyfan heb ddod ar draws dernyn o wir farddoniaeth. Ond nid ydyw'r llyfrau barddoniaeth ddim i'w cyffelybu mewn rhif, a'r llyfrau diwinyddol. Ni fuasai yn ormod i ddweyd fod mwy na thri chwarter o'r holl lyfrau Cymreig a gyhoeddwyd o 1546 hyd y flwyddyn bresennol yn llyfrau diwinyddol. Yn eu mysg ceir llawer o lyfrau rhagorol, a rhai o glasuron ein llenyddiaeth; ond nis gall neb wadu fod y mwyafrif o honynt erbyn hyn bron yn ddiwerth. Gall pobl Caerdydd ymhyfrydu mewn casgliad da o'r llyfrau uchod, y casgliad

mwyaf helaeth sydd i'w gael, o bosibl, ag eithrio Llyfrgell y diweddar Mr. Salusbury yng Ngholeg Caerdydd.

Gwŷr pawb a fu yn casglu llyfrau Cymraeg erioed mai dyma'r dosbarth hawddaf i ddod o hyd iddynt; ac ni fyddai yn fawr o gamp llanw ystafell â hwynt; ond, wedi eu casglu, nid ynt o werth yn y byd. Cyfieithiadau o'r Saesneg ydynt bron yn ddieithriad, a Chymraeg gwael a salw yw'r iaith ynddynt. Felly nid ydym yn rhoddi fawr o bwys ar y casgliad rhagorol o'r llyfrau hyn sydd yng Nghaerdydd, ond yr ydym yn cydnabod fod yn rhaid i rywun eu casglu, a llyfrgell gyhoeddus yn ddiau yw'r lle priodol iddynt.

Y mae yn destyn syndod fod mor ychydig o gasglu wedi bod ar lyfrau Cymreig. Moses Williams a chydoeswr iddo, William Thomas, oedd y rhai cyntaf, mi gredaf, i ymgymeryd â'r gwaith; ac, fel y mae yn hysbys, cadwyd llyfrgell Moses Williams yn ofalus gan deulu y Parkers, Arglwyddi Macclesfield, hyd y dyddiau presennol. Ni wyddom beth ddaeth o lyfrau William Thomas, ond ceir rhai o honynt yn yr Amgueddfa Brydeinig. Bu Risiart Morris o Fôn hefyd yn gasglydd diwyd; ac er fod llawer o'i lyfrau wedi eu gwasgar, ceir y goreuon yng Nghasgliad y Cymrodorion yn yr Amgueddfa. Ymddengys mai un John Jones, amaethwr cyfrifol yn Nyffryn Clwyd, a fu farw tua 1860, oedd pen casglwr yr oes ddiweddaf. Ni wyddom fawr o'i hanes, ac yn hollol ddamweiniol y daethom ar draws ei enw. Sylwem yn fynych fod nodiadau mewn llawysgrifen dda ar amryw lyfrau prinion yn llyfrgelloedd Llundain, Abertawe, Caerdydd, ac ereill, ac wrth gasglu llyfrau ein hunain daeth bron yn rheol fod pob llyfr prin iawn yn dwyn marc y gŵr hwn. Methasom yn lân a chael dim gwybodaeth yn ei gylch hyd nes gofyn rhyw dro i'r bardd a'r llyfryddwr enwog, Gwilym Cowlyd; ac oddiwrtho ef y cawd o'r diwedd yr hanes, sef, mai'r John Jones crybwylledig, o Ddyffryn Clwyd, oedd y gŵr. Yr oedd y diweddar Barch. Owen Jones, Llansantffraid, hefyd wedi casglu ynghyd lyfrgell gyflawn iawn o lenyddiaeth Gymreig.

Ag eithrio ychydig o ddynion fel y rhai uchod, ni fu neb hyd yr oes bresennol yn hèl hen lyfrau y Cymry ynghyd. Y mae hyn yn fwy rhyfedd am fod, yn ein barn ni, ddyddordeb neilltuol yn perthyn i lyfrau Cymreig. Yn gyntaf mae terfyn ar eu casglu hwynt; ac nid ydynt, fel rheol, yn ddrud; y rhai mwyaf diwerth a chyffredin yn aml yw'r drutaf. Pan bryna'r llyfryddwr hen lyfr prin am ychydig geiniogau, o dan lygaid y llyfrwerthwyr, y mae ei lawenydd yn cyrraedd y man uchaf, ac y mae hyn yn digwydd yn fynych gyda llyfrau Cymreig. Eto mae hanes rhyfedd a phrudd yn perthyn i lawer hen lyfr, sydd yn gwneud y llyfr ei hun, er ei dloted fel llenyddiaeth, yn werthfawr. Meddylier, er esiampl, am lyfrau y Pabyddion Cymreig yn yr unfed a'r eilfed ganrif ar bymtheg, neu lyfrau bychain John Penry, Morgan Llwyd, a Charles Edwards; ond yn aml, fel yn yr engreifftiau olaf, y mae'r llyfrau sydd â hanes yn perthyn iddynt ym mysg y rhai gwerthfawrocaf fel llenyddiaeth. Ers tua dwy flynedd buom yn chwilio tir a môr am yr argraffiad cyntaf o *Lyfr y Tri Aderyn* o waith Morgan Llwyd, ond yn hollol ofer. O'r diwedd cawsom ganiatad i fynd trwy lyfrgell Moses Williams yn Shirburn Castle; ac wedi mynd yno, ac edrych drwy'r llyfr-restr, tybiem, i'n siomedigaeth, nad oedd y llyfr yno. Sut

bynnag, wrth edrych drwy'r llyfrau ereill ar yr estyll, daethom ar draws, i'n dirfawr lawenydd, i gopi perffaith o'r argraffiad cyntaf o hono, ac, ar y ddalen gyntaf ynddo, enw Morgan Llwyd yn ei lawysgrif ei hun. Yr oeddem wedi taro nid yn unig ar yr argraffiad cyntaf o'r llyfr, ond ar gopi'r awdwr ei hun. Y mae yn anhawdd peidio teimlo yn eiddigeddus o'r arglwydd ieuanc sydd yn perchen y fath drysor—heb wybod dim am ei werth. Ychydig o lyfrau Cymreig a gyhoeddwyd erioed er mwyn gwneyd elw. Yn wir buasai'r gwrthwyneb yn fwy cywir, sef, fod colled ariannol ar y rhan fwyaf o honynt. Arferid dweyd mai'r ffordd sicraf i wybod beth yw gwir edifeirwch ydoedd cyhoeddi llyfr yn yr iaith Gymraeg. Eto meddylier am yr anhawsterau yn ffordd yr hen awdwyr wrth gyhoeddi eu llyfrau. Ni fu argraffwasg yng Nghymru cyn 1719, ac am haner canrif wedi hynny argraffwyd mwyafrif o'r llyfrau Cymreig tu allan i Gymru. Bu Williams Pantycelyn yn marchogaeth yr holl ffordd i Fryste i argraffu ei gân anfarwol, "Golwg ar Deyrnas Crist." Aeth John Evans, Tre Rhedyn, wedi iddo gael ei droi allan o'r Eglwys gan y Dirprwywyr Eglwysig, yr holl ffordd i Lundain, i ganol ei elynion politicaidd, i gyhoeddi ei *Madrvddyn y Difynyddiaeth Diweddaraf.* Gorfod i Siôn Glanygors ymguddio am ddwy flynedd rhag llid y Llywodraeth, wedi iddo gyhoeddi ei *Seren tan Gwmwl*, a diangodd Morgan ab Ioan Rhys i'r America. Y mae traddodiadau fel hyn ynglŷn âg ugeiniau o hen lyfrau, fel y gwel y darllennydd os digwydd iddo fod yn berchen y llyfr tra dyddorol, *Llyfryddiaeth y Cymry.* Erbyn heddyw y mae llawer o lyfrau yn ddiau wedi llwyr ddiflannu, ac os na ofelir am danynt bydd ychwaneg yn cael eu colli o flwyddyn i flwyddyn. Dyma un rheswm paham yr ydym yn llawenychu wrth wel'd Caerdydd yn ymgymeryd â'r gwaith o ffurfio llyfrgell Gymreig, canys ni ellir gwasgar na gwerthu y llyfrgell byth tra parhao'r Gorfforaeth. Heblaw hynny y mae yn rhydd i bob llenor fyned yno i ymgydnabyddu â hen lyfrau prinion neu ddrudion, ac i gymharu gwahanol lyfrau â'u gilydd.

Y mae llawer o fanteision gan sefydliad o fath llyfrgell Caerdydd i gasglu llyfrau, canys y mae digonedd o arian wrth ei chefn, ac y mae'r cyhoeddusrwydd roddir iddi yn peri i berchenogion llyfrau gynnyg lliaws mawr o bethau prin ac anghyffredin iddi; a thra nad yw oes dyn ond cymharol fer, y mae llyfrgell gyhoeddus yn bod am byth, ac ond iddi ddangos digon o amynedd daw pob llyfr yn sicr iawn i'w meddiant.

Nid peth hawdd yw mesur a phwyso gwerth llyfrgell. A chan fod y safon ynglŷn â llyfrau Cymreig yn newid cyn amled, y mae yn rhaid i ddyn farnu i raddau mawr yn ol ei chwaeth ei hun. Buasai y diweddar Morris Davies, Bangor, ac Owen Jones, yn ddiau yn rhoddi llawer o bwys ar nifer y llyfrau Hymnau o bob math yn y casgliad, tra buasai Ioan Pedr yn sicr o chwilio am weithiau yr hen Babyddion, ynghyd a hen gerddi ac almanaciau. Os nad ydym yn camsynied, rhoddasai yr Hybarch Silvan Evans bwys ar y casgliad o glasuron mewn llyfrgell, hynny ydyw, argraffiadau cynnar o weithiau Griffith Roberts, Morris Kyffin, Edward James, Rowland Vaughan, Charles Edwards, ac ereill, tra buasai Dr. Owen Thomas yn chwilota am hen draethodau a phamffledau dadleuol.

Nid oes gennym y petrusder lleiaf i ddweyd mai syniad go wael o lyfrgell Caerdydd ffurfiai y neb a'i barnai wrth y profion hyn. Dywedai y diweddar Barch. Owen Jones wrthym ryw dro fod ganddo dros gant o lyfrau hymnau argraffedig cyn 1800; nid oes ddim yn debyg i hyn o honynt yng Nghaerdydd. Cyn belled ag yr ydym yn gweled nid oes mwy na rhyw ugain neu ddeg ar hugain o hen gerddi argraffedig cyn 1800 yng Nghaerdydd, tra y mae yng nghasgliad Myrddin Fardd o bedwar i bum cant o honynt. Nid oes cymaint ag un o weithiau yr hen Babyddion yn y llyfrgell. Ac hyd yn oed am glasuron ein hiaith, casgliad lled gyffredin sydd o honynt. Mewn gwirionedd rhaid cyfaddef nad yw casgliad Caerdydd, cyn belled ag y mae llyfrau hynod a llyfrau o werth llenyddol yn myned, yn fawr o beth.

Cymerwn brawf arall arni. Sut y mae hi'n sefyll ynglŷn â hen lyfrau Cymreig? Faint o lyfrau yn yr iaith Gymraeg argraffedig cyn 1600 sydd ynddi? Cynhwysa llyfrgell Shirburn dri ar ddeg o honynt, yr Amgueddfa Brydeinig un ar ddeg; llyfrgell Sir John Williams, wyth; llyfrgell Abertawe, pump; a Chaerdydd, ddau yn unig. Felly nis gellir ei rhestru yn uchel iawn fan hyn eto. Ond beth am y llyfrau a gyhoeddwyd cyn 1700? Y mae rhwng pedwar ugain a chant o honynt yn Shirburn, gwyddom am lawer o gasgliadau yn cynnwys o driugain i bedwar ugain, a llyfrgell Caerdydd tua deugain. Buasai yn ormod o lafur i ddilyn y rhestr ymlaen hyd 1800, ond fe welir fod llyfrgell Caerdydd ymhell ar ol llawer o lyfrgelloedd ereill cyn belled ag y mae hen lyfrau Cymreig i'w cyfrif.

O'n rhan ni, dyma'r llyfrau mwyaf pwysig mewn llyfrgell Gymreig, canys dyma'r llyfrau sydd yn dwyn perthynas yn uniongyrchol â bywyd gwlad yn ei gwahanol agweddau. Ffurfiodd y diweddar Mr. Salusbury, casglydd y llyfrgell ardderchog sydd yn awr yng Ngholeg Caerdydd, syniad tra gwahanol. Casglai ef nid yn unig bob llyfr yn yr iaith Gymraeg, a phob llyfr yn dwyn perthynas â Chymru mewn ieithoedd ereill, ond hefyd bob llyfr a ysgrifennwyd gan Gymro, a phob argraffiad o'r llyfrau hynny. Ni chyfyngai ei hun i Gymru, ond cymerai i mewn y siroedd sydd yn ffinio â hi, ac yn enwedig Sir Gaerlleon. Nid rhyfedd felly fod ei gasgliad ef, er nid i'w gymharu â chasgliadau ereill fel llyfrgell Gymreig, yn cynnwys y fath nifer enfawr o lyfrau. Digwyddodd Richard Baxter gael ei eni yn Sir Amwythig, felly yr oedd ei lyfrau ef yn dyfod o fewn cylch y llyfrau a gasglai Mr. Salusbury, ac mewn canlyniad clywsom ar awdurdod da fod cynifer a chwe' chant (600) o wahanol argraffiadau o lyfrau Richard Baxter yn ei lyfrgell.

Syniad tebyg sydd gan awdurdodau llyfrgell Caerdydd yn ddiameu; ac er yn cyfadde mai dyma ddylasai nôd pob llyfrgell gwir genedlaethol fod; eto, os gwneir hyn, ni ddylesid barnu gwerth llyfrgell wrth ei maint, canys cyhoeddir miloedd o lyfrau gan Gymry yn yr iaith Seisnig sydd heb ddwyn y berthynas leiaf â'n gwlad.

Credwn felly mai'r prif brawf ar lyfrgell Gymreig yw'r llyfrau yn yr iaith Gymreig sydd ynddi. Yr ail brawf yw nifer a phwysigrwydd y llyfrau mewn ieithoedd ereill sydd yn taflu goleu ar hanes gwladol a chymdeithasol Cymru. A'r prawf olaf, a lleiaf ei werth, yw nifer y llyfrau a ysgrifennwyd gan Gymry mewn ieithoedd estronol. Yr ydym

eisoes wedi dangos fod llyfrgell Caerdydd yn syrthio yn isel wrth ei barnu yn ol y safon gyntaf Awn ym mlaen i sylwi ar y llyfrau estronol sydd yn dwyn perthynas â hanes Cymru yn ei gwahanol agweddau. Ymddengys fod pob llyfr pwysig ar hanes Cymru fel gwlad yn y llyfrgell, ond wrth reswm nid ydyw yn fawr o gamp cael gafael ar rhain. Ond beth am y llyfrau a ysgrifennwyd gan Gymry yn yr iaith Seisnig, llyfrau sydd yn dal perthynas uniongyrchol â hanes ein gwlad? Yr ydym yn cyfeirio yn arbennig at weithiau John Penry, Vavasor Powel, Christopher Love, Walter Cradock, ac eraill. Ysgrifennodd Penry bedwar o draethodau sydd yn bwysig i bob hanesydd Cymreig; ac y mae un o honynt yng Nghaerdydd. Heblaw hwn y mae un arall o'i draethodau yno, ond nid yw yn dwyn perthynas â Chymru. Er hynny cofier fod llyfrau Penry yn anghyffredin o brin, ac nid yw yn syndod yn y byd fod Caerdydd heb gael gafael arnynt i gyd. Dau o lyfrau Vavasor Powel yn unig sydd yn y llyfrgell, sef ei "*Bird in the Cage,*" a'i "*Concordance*"; ac nid oes un o'r cyfieithadau Cymreig o'i lyfrau yno. Y mae casgliad da iawn o weithiau Love a Cradock, ac un lled dda o lyfrau rhyfedd Erbury, yn y Lyfrgell.

Y mae yno hefyd nifer da o'r teithiau trwy Gymru a ysgrifennwyd yn y ganrif olaf a dechreu y ganrif hon. Felly, ar y cyfan, deil y llyfrgell ei thir yn bur dda ar yr ail brawf. Wrth gymeryd y trydydd brawf, er nad ydym yn ei ystyried o fawr bwys un ffordd na'r llall, eto nid yw y llyfrgell yn gyfoethog o lyfrau Seisnig gan awdwyr Cymreig. Yn ol pob tebyg nis gall gymharu â llyfrgell Mr. Salusbury yn y gangen hon; ond yr ydym yn tybied na fydd neb yn achwyn o achos hyn. Nacäol a fu ein beirniadaeth hyd yn hyn; ond gadawer i ni droi i'r cyfeiriad arall, ac i ddweyd gair am y llyfrau sydd yn y llyfrgell. Y mae un peth yn ein taraw ar unwaith, sef yr ymdrech rhagorol i wneud rhestr o'r argraffiadau o'r prif lyfrau Cymreig. Yn y modd hyn teflir cryn oleu ar lyfryddiaeth Canwyll y Cymru, Dilyniad Crist, Gweledigaethau'r Bardd Cwsc, Taith y Pererin, Llyfr y Tri Aderyn, a Drych y Prif Oesoedd. Mae gair o ganmoliaeth yn neilltuol yn ddyledus am y rhestr o argraffiadau llyfr enwog Vicer Pritchard. Ysgrifennodd Mr. Ballinger ugeiniau o lythyrau, a threuliodd wythnosau lawer i wneud y rhestr yn berffaith, ac eto y mae'r holl lafur wedi ei grynhoi tu fewn i hanner tudalen yn y llyfr. Synnir llawer un yn ddiau i wybod fod cynnifer a thri ar ddeg ar hugain o argraffiadau o'r Ganwyll, ynghyda phump o argraffiadau Seisnig, a chwech argraffiad o ddetholion o waith yr hen Vicer. Y mae y rhan fwyaf o honynt i'w gweled yng Nghaerdydd heddyw. Mae'r casgliad o weithiau Morgan Llwyd hefyd yn un rhagorol, ac nis gallwn lai na galw sylw at un llyfr bach, sef "Hymnau ar amryw achosion. Ar ei Droedigaeth [gan Morgan Llwyd]. Caerfyrddin, 1738." Ysgrifennodd Ioan Pedr erthygl ar y gân hynod hon yn y TRAETHODYDD (1876), ond ni wyddai ar y pryd iddi gael ei hargraffu o'r blaen Cyhoeddodd hi hefyd mewn llyfryn bychan ar wahan, ond y mae'r gân yn argraffiad Caerdydd yn fwy cywir ac yn cynnwys llawer o bennillion sydd heb fod yn llyfryn Ioan Pedr. Feallai mae'r llyfr prinaf yn y casgliad yw'r canlynol: "Hanes y Ffydd er Dechreuad y Byd hyd yr oes hon. 1666. [Gan Charles Edwards]." Ysgrifennodd Ioan Pedr erthygl ar y llyfr yn y TRAETHODYDD am y flwyddyn 1873,

ac, os nad ydym yn camsynied, y copi hwn oedd o'i flaen ar y pryd. Ni welsom un copi arall o'r argraffiad hwn, yr argraffiad cyntaf o'r llyfr, ac ni synnem glywed ei fod yn unigol. Un o'r pethau cyntaf a wnaethom ar ol cael y Llyfr Rhestr oedd edrych am y llyfrau o dan enw Williams, Pantycelyn, canys o'r holl lyfrau yn yr iaith, dyma'r llyfrau y cara'r llyfryddwr ddod ar eu traws. Nis gallwn lai na llawenychu wrth weled y fath gasgliad rhagorol o honynt, ac yn enwedig pan ddeallsom fod un o'r marwnadau heb ei hail-gyhoeddi erioed, sef: "Galarnad ar farwolaeth Mari, gwraig John Jones, o Landeilo fach, yn Sir Forganwg, yr hon a fu farw yn niwedd y flwyddyn 1781. Ynghyd a galarnad am John Philip, o Lwyngyfarthwch, yn agos i Lanelli, yn Sir Gaerfyrddin, yr hwn yntau a fu farw o ddeutu yr un amser. Aberhonddu: E. Evans, 1782." Gobeithiwn wel'd hon cyn bo hir yn cael ei chyhoeddi yn gyflawn yn un o'n cylchgronau. Credwn fod dau gamgyflead pwysig wedi llithro i mewn o dan enw Williams, sef y llyfrau "Llef soniarus ym mhyrth merch Sion. Newport, 1812," a "Sylwadau ar bregethu, canu, &c. Aberystwyth, 1813." Os nad ydym yn camsynied, gwaith William Williams, Aberteifi, pregethwr gyda'r Bedyddwyr, yw'r ddau—y gŵr, mae'n debyg, "a geisiodd brydyddu senn i'r ysbryd a ddisgynodd ar rai gwrandawyr bywiol yn ddiweddar, ac a'u gwnaeth hwy i ganu a dublu canu mawl i Dduw," &c., ac a gafodd "ateb" gan Williams Pantycelyn ei hun.

Nis gallwn ymatal rhag difynnu gwyneb-ddalen un llyfr arall, gan ei fod mor brin, ac yn dwyn cysylltiad agos âg un o brif ddynion y byd, sef Benjamin Franklin. "Y dull o fedyddio â dwfr: Wedi ei egluro allan o Air Duw, yn gyttunol ac iawn resswm; mewn ymressymiad syml cyfeillgar ynghylch y pwngc hwnnw rhwng Mr. J. P. a Mr. B. W. Mehefin 6, 1726. A gyhoeddwyd gyntaf yn Saisneg er addysc mewn Cyfiawnder, ac yn awr a Gymreigiwyd i'r un diben; ynghyd a rhessymmau'r Doctor Owen tros Fedydd Plant. A'i argraffu yn Philadelphia, yn yr argraff-dŷ newydd yn ymmyl y Farchnad, gan B. Franklin a H. Meredydd, 1730. Pris 1s." Nid dyma'r llyfr cyntaf yn yr iaith Gymraeg a gyhoeddwyd yn yr America, ond yr ydym yn tybio mai hwn yw yr unig un a argraffwyd yn swyddfa Franklin. Yr oedd H. Meredydd yn ddiau yn Gymro, ac yn gyfrannog â Franklin yn y gwaith. Carem gael lle i gyfeirio at un neu ddau o lyfrau ereill, ond y mae'r ysgrif eisoes yn ddigon hir. Sut bynnag ni fuasai yn deg i beidio dweyd gair o ganmoliaeth am y medr a'r gallu a ddangosir yn nhrefniant y llyfr. Y mae'r llyfr yn cyfuno rhagoriaethau'r *Author Catalogue* a'r *Subject Catalogue*, h.y., rhoddir pob llyfr yn gyntaf o dan enw ei awdwr; ac, os yn gyfieithiad, o dan enw y cyfieithwr a'r awdwr; ac yna, os bydd y llyfr yn cyfeirio at bwnc neilltuol, rhoddir ef, a phob llyfr arall ar yr un pwnc, gyda'u gilydd o dan un penawd. Yn y modd hyn y mae llawer o lyfrau yn cael eu rhestru ddwy waith a thair gwaith drosodd, ac, wrth reswm, yr oedd hyn yn ychwanegu yn fawr at lafur yr awdwyr. Yn niwedd y llyfr ceir rhestr hirfaith o enwau barddonol a ffugenwau awdwyr y llyfrau yn y Casgliad, o Gocos-Fardd y De (ni welwn enw *y* Bardd Cocos) i fyny at Dewi Wyn. Nid yw enw Eben Fardd yn eu mysg, ond yr

oeddem yn llawenychu yn fawr i gael gwybod enw eisteddfodol y gwrth-eisteddfodwr pybyr J. Gwenogryn Evans. Gwaith anhawdd fuasai casglu llyfr fel hwn at ei gilydd heb fod amboll i gamgymeriad yn llithro i mewn, ond beiddiwn ddweyd mai yn anaml y cyhoeddwyd llyfr-restr erioed yn cynnwys llai o honynt.

Yr ydym yn galw sylw at ychydig o feiau, am ei fod yn bwysig i'w cyfnewid os cyhoeddir ail-argraffiad o'r llyfr.

Ar dud. 282 dywedir fod yr ail-argraffiad o Eiriadur Thomas Jones, Mwythig, dyddiedig 1760, yn Saesneg-Gymraeg, tra mae'r llyfr yn Gymraeg-Saesneg, ac yn cytuno air am air â'r trydydd argraffiad a gyhoeddwyd yn 1777.

Ar dud. 363 dywedir fod y llyfr *Cas gan Gythraul* wedi ei argraffu gan Stafford Prys yn 1711, tra nad oedd Prys yn argraffu hyd tua 1760, pan ddaeth ail-argraffiad o'r llyfr hwn allan. John Rogers oedd argraffydd y llyfr a gyhoeddwyd yn 1711.

Ar dud. 362 rhestrir y "Dyriau Duwiol," &c., o dan enw Foulke Owens, Nantglyn, tra y dylasai fod dan enw Thomas Jones, Mwythig, canys efe gasglodd y llyfr ynghyd, a thra nad oedd llyfr Foulke Owens yn debyg i hwn o ran maint, cynwysai rai darnau sydd heb fod yn llyfr Thomas Jones.

Ar dud. 519 priodolir *Nautical Odes or Poetical Sketches*, &c., 1810, i'r Parch. John Williams, Ystradmeurig (yr hen Syr ?), tra y dylesid ei briodoli i'r Parch. Eliezer Williams, Ficer Llanbedr, yr hwn a fu am dymhor maith yn gaplan ar un o longau rhyfel Prydain Fawr.

Ar dud. 231 a 232 gwahaniaethir rhwng H. Hughes, Chester, golygydd gweithiau D. Charles, Caerfyrddin, a Hugh Hughes, artist, awdwr *Beauties of Cambria*, tra yr oedddynt yr un. Nid ydym yn gweled yn y catalog y pamphledau a ysgrifennodd dan yr enw "Cristion," na'r traethawd a ysgrifennodd dan yr enw "Amicus" i wrthbrofi syniadau Arthur James Johnes yn ei *Church and Dissent*. Efe hefyd, y mae yn debyg, gyhoeddodd *Brut y Cymry*, tud. 69, ond ni phriodolir hwn iddo yn y llyfr o'n blaen.

Ar dud. 384 dywedir taw Josiah Rees, Gelligron, oedd golygydd *Trysorfa Gwybodaeth neu Eurgrawn Cymraeg*, 1770, tra y priodolir ef yn gyffredin i'r Parch. Peter Williams, Caerfyrddin, ac Ifan Thomas (gwêl *Traethodau Llenyddol Dr. Edwards*).

Y mae rhain yn frychau bychain iawn pan edrychwn ar y gwaith yn ei grynswth, ac ni fyddai yn werth galw sylw atynt oni bae fod yn anghenrheidiol gwneud llyfr o'r fath yn hollol ddifrychau.

Yr ydym o'n calon yn llongyfarch pobl Caerdydd ar eu Llyfrgell ardderchog, ac yn neilltuol am iddynt fod mor ffodus a chael Mr. Ballinger yn llyfrgellydd.

Iddo ef yn ddiau y dylid rhoi'r clod am y gwaith rhagorol a wneir ynglŷn â'r llyfrgell; ond, os nad ydym yn camsynied, syrthiodd baich y gwaith ynglŷn â'r llyfr o'n blaen ar ysgwyddau ei gydweithiwr galluog, Mr. J. Ivano Jones, yr hwn sydd yn prysur ennill enw iddo ei hunan fel bardd a llenor o fri.

Addawa Mr. Ballinger gyhoeddi cofrestr o'r llawysgrifau a'r mapiau sydd yn y Llyfrgell, a bydd hwn yn ddiau yn gaffaeliad mawr. Dylasem ddweyd fod llyfrau Mr. William Scott ar fenthyg yn y

Llyfrgell, a cheir yn eu mysg lawer iawn o bamffledau prinion heb son am y fath drysorau a Bibl Dr. Morgan, a'r ail argraffiad o'r Llyfr Gweddi Gyffredin.

Dangosa Mr Scott haelfrydedd a doethineb mawr yn hyn o beth, a gresyn na fuasai rhai o fawrion ein cenedl, yn lle cadw hen lyfrau mewn cistiau i bydru a magu llwch, yn eu rhoddi ar fenthyg yn y llyfrgelloedd cyhoeddus. Gobeithiwn hefyd y daw rhai o drefi mawrion Cymru i ddilyn esiampl rhagorol Caerdydd, ac i wneud cyfiawnder o'r diwedd â llenyddiaeth odidog ein gwlad.

J. H. DAVIES.

*Cwrtmawr.*

---

## GOHEBIAETH Y PARCHEDIG THOMAS CHARLES, B.A., O'R BALA.

### IV.

THOMAS JONES TO THOMAS CHARLES

My dear friend,

Last Saturday I arrived at Chester. You may truly say that I am a very inconsistent man, talking a great deal about strict regularity, and yet now very irregular in my practice—wearing a surplice in barns. Those who are strictly regular or habitually irregular are both consistent with what they profess, but both may, with propriety, condemn me. But indeed I am so insignificant that I hope all parties will take no notice of me, but let me glide quietly towards a better country, where all shall see eye to eye. Retirement agrees best with my feelings, and a long habit of being so much a one unfits one for company and profitable conversation. Indeed I feel a degree of shame and sorrow to think that I live and walk so little with God in retirement. I have gone no farther yet in religion than to see and feel that I am very far from God in the temper of my Soul. I dare not judge of my own state by any fine feelings enjoyed now and then, but by what I am habitually, and that is a poor, dry, dead state, always hoping it will be better; but a sluggard makes no progress. I expect to stay two Sundays more in Chester, and then to return to my curacy.

THOMAS JONES AT THOMAS CHARLES.

Fy anwyl gyfaill,

Y Sadwrn diweddaf cyrhaeddais i Gaer. Gallwch yn wir ddweyd fy mod yn ŵr anghyson iawn, yn son llawer am reoleidd-dra manwl, ac eto yn awr yn dra afreolaidd yn fy ngweithredoedd—yn gwisgo gwenwisg mewn ysguboriau. Y mae y rhai hynny sydd yn hollol reolaidd, neu yn arferol o fod yn afreolaidd, yn gyson â'r hyn a broffesant, ond gall y ddau ddosbarth yn hollol briodol fy nghondemnio i. Ond yn wir yr wyf mor ddinod fel y gobeithiaf y bydd i bob plaid fy anwybyddu, a gadael i mi ymlithro yn dawel i wlad well, ymha un y gwel pawb lygad yn lygad. Neillduedd sydd yn cytuno oreu â'm teimladau, ac y mae hen arferiad o fod gymaint mewn unigedd yn anghymwyso dyn at gymdeithas ac ymddiddan buddiol Yn wir teimlaf fesur o gywilydd a galar wrth feddwl fy mod yn byw ac yn rhodio leied gyda Duw mewn ymneilltuaeth. Nid wyf ym mhellach yn mlaen mewn crefydd eto nag i allu gweled a theimlo fy mod ymhell oddiwrth Dduw yn nhymher fy Enaid. Ni feiddiaf farnu fy nghyflwr fy hun oddiwrth unrhyw deimladau aruchel a fwynheir yn awr ac eilwaith, ond wrth yr hyn ydwyf yn wastadol—mewn cyflwr tlawd, sych, a marw, yn gobeithio fyth y bydd i bethau wella; ond ni wna y diog gynnydd. Disgwyliaf aros dau Sul eto yng Nghaer, ac yna i ddychwelyd i'm curadiaeth.

I am exceedingly pleased with the Welsh Magazine altogether, and can mention nothing by way of improvement; hold on according to this beginning, and the work will be likely to prove an abundant blessing. By way of preparing for something more, I have sounded my friend, D. Ionawr, about it. He answers my enquiry thus:—"I am glad to give you so favourable an account of the Welsh Magazine,—*Trysorfa Ysprydol.* It is calculated to enlighten the minds, not to inflame the passions, of our ignorant countrymen As yet I have seen but the first number, and it is but justice to confess that it excels all our former periodical publications in piety, good sense, and purity of language." I wish you could get Mr. Thomas Jones or any other proper person to make him a present of the numbers as they come out, and take no notice of what he has said to anybody.

Who at Tre'rddol has robbed you? Is it old Richard Thomas or one of his sons? I am perfectly satisfied with the use you have made of my MS. The Lord bless you and your dear wife.

I am,
Faithfully yours,
THOMAS JONES.

Chester,
Sept. 24th [1800?]

Yr wyf wedi'm boddhau yn fawr gan y Cylchgrawn Cymraeg drwyddo, ac nis gallaf awgrymu un gwelliant. Daliwch ati yn ol y dechreuad hwn, a phrofa r gwaith yn fendith helaeth. I baratoi at rywbeth pellach, crybwyllais y peth wrth fy nghyfaill, Dafydd Ionawr. Atebodd fy nghais fel hyn:—"Y mae yn dda gennyf roddi cyfrif mor ffafriol i chwi o'r Cylchgrawn Cymraeg—*Trysorfa Ysprydol.* Y mae yn addas i oleuo meddyliau, ac nid i gynhyrfu nwydau ein cydwladwyr anwybodus. Hyd yn hyn ni welais ond y rhifyn cyntaf, ac nid yw ond cyfiawnder i addef ei fod yn welliant ar bob un o'n cyhoeddiadau cyfnodol blaenorol, mewn duwioldeb, synwyr da, a phurdeb iaith." Buasai yn dda gennyf pe gallech gael Mr. Thomas Jones neu ryw un priodol arall i'w anrhegu â'r rhifynau fel y deuant allan a chymeryd dim sylw o'r hyn a ddywedodd wrth neb.

Pwy yn Nhre'rddol sydd wedi lladrata oddiarnoch? Ai yr hen Richard Thomas neu ei feibion? Yr wyf yn berffaith foddlawn o'r defnydd wnaethoch o'r Llawysgrif. Bendithied yr Arglwydd chwi a'ch anwyl wraig.

Ydwyf,
Yr eiddoch yn ffyddlawn
THOMAS JONES.

Caerlleon,
Medi 24ain [1800?]

[Dylasai y llythyr hwn gymeryd ei le cyn y diweddaf yn Rhifyn Mawrth. Nid ydyw yr Ysgrifennydd wedi rhoddi y flwyddyn yn y dyddiad, a thrwy hyn y cododd yr amryfusedd. Ond y mae yn lled debyg oddiwrth ei gynnwys mai yn 1800 yr ysgrifennwyd ef.]

## V.

### THOMAS JONES TO THOMAS CHARLES.

*Creaton, Jan.* 2, 1801.

My dear Brother,

I have indeed suffered much in my mind on account of your affliction. The last account you gave of the state of your hand was very favourable, but since then our friend John Williams told me that you must lose your thumb, if not your hand. If so, tho' a very painful visitation, you have this strong consolation, you lose your limb in the service of God our Savour, who laid down his precious life for you. Many have served their lusts to the loss of health, limbs, and life, and had none to comfort them, but you can look up and say,—Lord, how much is it to lose some of my members in

### THOMAS JONES AT THOMAS CHARLES.

*Creaton, Ion.* 2, 1801.

Fy anwyl Frawd,

Dioddefais lawer yn fy meddwl oherwydd eich cystudd. Yr oedd yr hanes diweddaf a roddasoch am gyflwr eich llaw yn dra ffafriol, ond er hynny dywedodd ein cyfaill John Williams wrthyf fod yn rhaid i chwi golli eich bawd, os nad eich llaw. Os felly, er fod yr ymweliad yn boenus iawn, eto y mae y cysur nerthol gennych i chwi golli eich aelod yng ngwasanaeth Duw ein Hiachawdwr, yr hwn a roddodd ei fywyd gwerthfawr i lawr drosoch. Llawer a wasanaethant eu nwydau i golli eu hiechyd, eu haelodau, a'u bywyd, ac nid oedd ganddynt neb i'w cysuro; ond gallwch chwi edrych i

thy service than to be left to dishonour thy name. Doubtless, as man, you feel the affliction bitter, and as a man of faith, I doubt not, you say, "It is the Lord, let him do what seemeth good in his sight;" there is no losing on God's hand. This we know, yet our nature will not easily be brought to silence when we are tried; but faith will say, all is well, and our bitter cups will heighten the songs of heaven in the end. "So our light afflictions," &c.

fyny a dywedyd, "Arglwydd, gymaint yn well ydyw colli rhai o'm haelodau yn dy wasanaeth na chael fy ngadael i ddifrïo dy enw. Diau, fel dyn, chwi a deimlwch y cystudd yn chwerw, ac fel dyn o ffydd, nid amheuaf, chwi a ddywedwch, "Yr Arglwydd yw Efe, gwnaed yr hyn byddo dda yn ei olwg." Nid oes colli ar law Duw. Hyn a wyddom, ac eto ni allwn ddistewi ein natur pan y profir ni; ond fe ddywed ffydd fod pobpeth yn dda, a bydd i'n cwpanau chwerw ddyrchafu caniadau y nefoedd yn y diwedd. "Canys ein byr ysgafn gystudd," &c.

As a nation, we live in dark days; our land has long groaned deeply under the great load of our sins and iniquities, and now God discovers his displeasure and warns us by gentle rebukes. Oh! that our present trials may bring us to repentance and reformation. All descriptions of people are gone out of their places. I have in this country seen in plentiful years so much of the extravagance and total want of economy in the poor, till I feel less pity for them in their sufferings than perhaps I ought to feel. On the other hand, I witness in too many of the rich, such sordid avariciousness and such want of fellow-feeling as stir up in me very improper tempers towards them.

Fel cenedl yr ydym yn byw mewn dyddiau tywyll. Y mae ein gwlad wedi gruddfan yn hir dan bwys mawr ein pechodau a'n camweddau,—ac yn awr datguddia Duw ei ddig a rhybuddia ni drwy geryddon tyner. O na ddygai ein treialon presennol ni i edifeirwch a diwygiad! Y mae pob math o bobl wedi myned o'u lle. Yr wyf wedi gweled yn y wlad hon, mewn blynyddoedd breision, gymaint o wastraff a diffyg darbodaeth yn y tlodion, hyd nes y teimlaf lai o dosturi tuag atynt nag a ddylwn feallai. Ar y llaw arall, yr wyf yn gweled mewn gormod o'r cyfoethogion y fath drachwant ffiaidd a'r fath ddiffyg cydymdeimlad fel ag i ennyn ynof dymherau annheilwng iawn tuag atynt.

I have talked a great deal in public and in private on the duties of all descriptions of men in these trying times; and not altogether in vain,—and about a month ago have published a 2d. pamphlet on the subject, in six dialogues on the dearness of provisions between two labourers. As I found the country in a very peevish mood, I judged it expedient to write the pamphlet in a very humorous style, in order to gain a hearing. The whole edition of a 1000 copies are nearly all sold,—and I have reason to believe that they produced considerable effects in some parishes at least, and induced them to sell milk for the poor and other articles.

Yr wyf wedi siarad cryn lawer yn gyhoeddus ac yn gyfrinachol ar ddyledswyddau pob dosparth o ddynion yn yr amseroedd profedigaethus hyn; ac nid yn hollol ofer; ac oddeutu mis yn ol, cyhoeddais draethodyn dwy geiniog ar y mater, mewn chwech o ymddiddanion rhwng dau lafurwr ar bris uchel ymborth. Gan fy mod yn cael y wlad mewn ysbryd anniddig, bernais yn ddoeth i ysgrifennu y traethodyn mewn arddull ffraeth er mwyn cael gwrandawiad. Y mae yr holl argraffiad o fil o gopïau yn agos wedi eu gwerthu, ac y mae gennyf le i gredu eu bod wedi cynyrchu cryn effaith mewn rhai plwyfi, o'r hyn lleiaf, ac arweiniwyd hwynt i werthu llaeth a phethau ereill i'r tlodion.

When you are free from pain and your mind quite composed, will you tell me what is to be done with Mr. C. Evans' book? It appears to me that if the first edition of mine is all sold that it would be expedient to republish it with some addition and make it as compleat as can be on the subject. This in my opinion would be far pre-

Pan y byddwch yn rhydd oddiwrth boen, a'ch meddwl yn hollol dawel, a wnewch chwi ddweyd wrthyf beth sydd i'w wneud â llyfr Mr. C. Evans? Ymddengys i mi, os ydyw yr argraffiad cyntaf o'm llyfr i wedi ei werthu i gyd, y byddai yn ddoeth ei ailgyhoeddi gyda rhai ychwanegiadau, a'i wneud mor gyflawn ag y byddo modd ar y pwnc.

ferable than filling the country with scolding pamphlets, and this method would throw Mr. Evans into an unpleasant situation, where he would not know well what to do. A compleat answer might be given him in this way, without appearing to take any notice of him.

I have already, for my amusement, written most that I see necessary in a cool manner, and have softened some expressions in my last. Argument alone shall meet his torrent of abuse. You are on the spot, and must both see and feel more for the welfare of Wales than I can, and you must judge for me in this business. My book with the addition will be only 1s. It is not even practicable for me to distribute them. I have no objection to be at a few pounds expense. Wishing you all the support and comfort you need, I remain always

Your affectionate friend and brother,

THOS. JONES.

I have still 13 copies of Caradoc's Sermons unsold, nor do I see any prospect of selling them soon. The age has a very weak constitution, and a vitiated stomach, and likes to feed on nothing but trash.

I beg you will favour me with a line, *as soon as you can*, to inform me how it is with you. I still entertain hopes that Mr. Williams's account was not true. Mr. Griffin is likely to continue at Ipswich; he had heard nothing about your hand, till I informed him lately, and he expressed great concern.

Byddai hyn, i'm syniad i, yn fwy dymunol na llenwi'r wlad â thraethodau cecrus, a byddai i'r dull hwn roddi Mr. Evans mewn safle annymunol, yn mha le ni ŵyr yn dda pa beth i'w wneud. Gellid rhoddi atebiad cyflawn iddo yn y ffordd hon heb ymddangos fel pe yn cymeryd unrhyw sylw o hono.

Yr wyf eisoes wedi ysgrifennu, i ddifyru fy hun, y rhan fwyaf o'r hyn a welaf yn angenrheidiol, mewn dull pwyllog, ac wedi tyneru rhai ymadroddion yn fy niweddaf. Caiff ymresymiad yn unig gyfarfod llifeiriant ei sarhad. Yr ydych chwi ar y fan, ac o angenrheidrwydd yn gweled a theimlo mwy dros les Cymru nag a allaf fi, a rhaid i chwi farnu drosof ar y mater hwn. Ni fydd y llyfr ynghyd â'r ychwanegiadau ond swllt. Nid yw yn ymarferol i mi hyd yn oed eu lledaenu. Nid oes gennyf unrhyw wrthwynebiad i wario ychydig bunnoedd. Gan ddymuno i chwi yr oll o'r gynnaliaeth a'r cysur angenrheidiol, gorphwysaf fyth,

Eich serchus gyfaill a brawd,
THOMAS JONES.

Y mae gennyf 13 o gopïau o Bregethau Caradoc heb eu gwerthu. Ac ni welaf ragolwg i'w gwerthu yn fuan. Y mae yr oes hon yn meddu ar gyfansoddiad gwan iawn a chylla llygredig, ac yn dewis ymborthi ar ddim ond gwagedd.

Erfyniaf arnoch i'm ffafrio â llinell mor fuan ag y gallwch, i'm hysbysu pa fodd yr ydych. Yr wyf eto yn coleddu gobaith nad yw yr hanes gefais gan Mr. Williams yn wir. Y mae Mr. Griffin yn debyg o barhau yn Ipswich; nid oedd wedi clywed o gwbl am eich llaw hyd y dywedais wrtho, a dangosodd bryder mawr.

## VI.

THOMAS JONES TO THOMAS CHARLES.

*Creaton, May* 25, 1801.

My dear Friend,

I have been long looking for a letter from you, but can very easily excuse you, confident that you are better employed, like your Master, going about doing good. I desire to thank God that your life is spared and health restored, which I understand is now happily the case.

THOMAS JONES AT THOMAS CHARLES.

*Creaton, Mai* 25, 1801.

Fy anwyl Gyfaill,

Yr wyf wedi bod yn edrych am lythyr oddiwrthych, ond gallaf yn hawdd eich esgusodi, gan wybod eich bod mewn gwell gwaith, fel eich Arglwydd, yn myned oddiamgylch gan wneuthur daioni. Dymunaf ddiolch i Dduw fod eich bywyd wedi ei arbed a'ch iechyd wedi ei adfer, fel y deallaf eu bod erbyn hyn.

*

Soon after I received Mrs. Charles' kind letter, for which I thank her, not willing to trouble her in time of affliction, I wrote to Mr. Jones, of Mold, who informed me that you were recovering slowly. Soon after, Mr. Horne, of Macclesfield, was writing to me, and said, "Poor Charles, poor Charles! But why should I say poor. They are rich." Men were praying that your places might be well filled by the great Head of the Church; concluding at once, but, I am happy to find, too hastily, that you were removed from the Church here below. I wept and cried more than I have done for 20 years at hearing of the death of anybody. But now knowing that you are alive and well, I don't love and value you half so much. This instance, as well as many more, proves to me how very little we know our own affections till we are brought to a fair test. Though I felt sorrow to lose you as a friend, yet more on account of the loss that the Church of God would have sustained. If it is the Lord's will, I wish you to see old age in the wilderness before you go over Jordan to possess the land.

Yn fuan wedi i mi dderbyn llythyr caredig Mrs. Charles, am yr hwn yr wyf yn ddiolchgar iddi, ac yn anfoddlon ei thrafferthu yn ei helbul, ysgrifennais at Mr. Jones, o'r Wyddgrug, yr hwn a'm hyspysodd eich bod yn gwella yn araf. Yn fuan wedi hynny yr oedd Mr. Horne, o Macclesfield, yn ysgrifennu ataf, a dywedai, "Druan o Charles! druan o Charles! Ond paham y dywedaf. truan. Y maent yn gyfoethog" Yr oedd dynion yn gweddïo ar i'ch lleoedd gael eu llenwi yn addas gan Ben mawr yr Eglwys. Wedi casglu ar unwaith, ond fel y mae yn dda genyf ddeall, yn rhy frysiog, eich bod wedi eich symud o'r Eglwys yma isod, wylais a llefais fwy nag a wnaethum mewn ugain mlynedd wrth glywed am farwolaeth unrhyw un. Ond yn awr, wedi clywed eich bod yn fyw ac yn iach, nid wyf yn eich caru a'ch gwerthfawrogi haner cymaint. Dengys yr engraifft hon, yn ogystal a llawer ychwaneg, gan lleied yr adnabyddwn ein serchiadau ein hunain hyd nes y dygir ni i brawf têg. Er y teimlwn alar am eich colli fel cyfaill. eto yn fwy oherwydd y golled i Eglwys Dduw. Os hynny yw ewyllys yr Arglwydd, dymunaf ar i chwi gael gweled henaint yn y diffaethwch cyn yr ewch dros yr Iorddonen i feddiannu y wlad.

You know what a hasty man I am. Whether I have done right or wrong, my treatise on Baptism is a second time in the press, with the addition of some new chapters, and others considerably enlarged, with a concise answer to Mr. C. Evans at the close. Finding him resting his argument greatly on Congregational Churches, I saw it necessary to speak more particularly on National Establishments than I had done, and doubt not but the statement made will meet with your entire approbation, though you have been compelled to deviate from some of the established rules of our Church. In your situation, you have doubtless done right; and following the example of Rowlands and Whitfield, guarding faithfully against the injurious trade of the present day of sect making, you may justly be considered as one of the best friends our Church has in this land. It is too notorious a fact to admit of a doubt that the dissenters as a body sink fast as to real religion, though increasing in number. But their converts in general are converts in politics, and not in grace. They

Gwyddoch ddyn mor frysiog ydwyf. Pa un bynnag ai yn fy lle ai allan o hono y gwneuthum, y mae fy nhraethawd ar Fedydd yn y wasg yr ail dro, gyda rhai penodau ychwanegol, ac eraill wedi eu helaethu gryn lawer, gydag atebiad cryno i Mr. C. Evans ar ei ddiwedd. Gan fy mod yn ei gael yn gorffwys ei ddadl i raddau mawr ar eglwysi cynulleidfaol, gwelais ei bod yn angenrheidiol siarad yn fwy manwl ar sefydliadau cenhedlaethol nag a wnês, ac nid wyf yn amheu na wna fy sylwadau dderbyn eich cymeradwyaeth llwyr, er eich bod chwi wedi eich gorfodi i ymadael oddiwrth reolau gosodedig ein Heglwys. Yn eich sefyllfa, diau mai iawn y gwnaethoch; a chan ddilyn esiampl Rowlands a Whitfield, yn gwylio yn ffyddlon yn erbyn gwaith niweidiol y dyddiau hyn, sef gwneuthur sectau, gellir eich cyfrif yn un o garedigion goreu ein heglwys yn y wlad hon. Y mae yn ffaith rhy adnabyddus i goleddu unrhyw amheuaeth yn ei chylch fod yr ymneillduwyr fel corff yn suddo yn gyflym mewn gwir grefydd, er yn cynyddu mewn nifer. Ond, fel rheol, dychweledigion gwleid-

have no worship. If religion is not revived in the Church of England, and preserved alive among those that are regular or irregular members of it, it will not abide long in this land. Whenever men make parties, they generally and quickly seek after what they call the strengthening of their interest, and lose sight of the real interest of Christ's kingdom. What religion there is in England is chiefly among those who have not joined the dissenters. Even Rowland Hill now wishes he had continued regular, at least saith that they have done wisest who did remain so; he has seen enough of dissenters, tho' he never joined them. And I doubt not but you will continue all your days careful only to enlighten your dark countrymen, and leave the grovelling work of sect-making to those who have less wisdom and less concern about the best interests of souls. And permit me just to ask,—Would it not be right to teach your people to consider themselves in the communion of the established Church?

yddol ac nid gras yw eu dychweledigion hwy. Nid oes ganddynt addoliad. Os na adfywir crefydd yn Eglwys Loegr, ac na chedwir hi yn fyw ymhlith y rhan sydd yn aelodau rheolaidd neu afreolaidd o honi, ni erys yn hir yn y wlad hon. Pan y ffurfia dynion bleidiau, y maent, yn gyffredin, yn fuan yn ceisio yr hyn a alwant yn gryfhau eu buddiannau, ac yn colli golwg ar wir fudd teyrnas Crist. Y mae hynny o grefydd sydd yn Lloegr yn bennaf ymhlith y rhai nad ydynt wedi ymuno â'r ymneillduwyr. Y mae hyd yn oed Rowland Hill yn awr yn dymuno ei fod wedi parhau yn rheolaidd, o'r hyn lleiaf, dywed mai hwynthwy wnaethant ddoethaf, y rhai a arhosasant felly. Y mae wedi gweled digon ar yr ymneillduwyr er nad ymunodd â hwynt. Ac nid wyf yn amheu na pharhewch chwithau eich holl fywyd, gan fod yn ofalus yn unig i oleuo eich cydwladwyr tywyll, a gadael y gwaith iselwael o wneuthur sectau i rai sydd yn meddu ar lai o ddoethineb a llai o ofal am fuddiannau goreu eneidiau. A goddefwch i mi ofyn, a fyddai ddim yn iawn i ddysgu eich pobl i ystyried eu hunain yng nghymundeb yr Eglwys sefydledig?

I should be happy to hear that Mr. Jones, of Mold, is better of his painful complaint. He seemed to say in his last letter that things were not so well with the Church in Wales of late, as it had been for years.

Bydda yn dda gennyf glywed fod Mr. Jones, o'r Wyddgrug, yn well o'i anhwylder poenus. Ymddanghosai fel pe yn dywedyd yn ei lythyr diweddaf nad oedd pethau cystal yn yr Eglwys yng Nghymru yn ddiweddar ag a fuont am flynyddoedd.

May the Spirit of God breathe on you and on us more and more. At Easter we were 19 ministers, and had a very large congregation The Bishop has begun to notice our clerical meeting. The Bishops mean to make the Church poor, indeed. How does the *extirpating* Bishop of Bangor go on with you? I have not seen your late publications. I beg kindest regards to Mrs. Charles, and

Anadled Ysbryd Duw arnoch chwi a ninnau yn fwyfwy. Y Pasg yr oeddym yn 19 o weinidogion. a chawsom gynulleidfa fawr. Y mae yr Esgob wedi dechreu sylwi ar ein cyfarfod clerigol. Bwriada yr Esgobion wneud yr Eglwys yn wirioneddol dlawd. Pa fodd y trinir chwi gan Esgob *distrywiol* Bangor? Nid wyf wedi gweled eich cyhoeddiadau diweddar. Cofion caredicaf at Mr. Charles.

Am always yours very affectionately,

THOMAS JONES.

Ydwyf bob amser
Yr eiddoch yn dra serchog,

THOMAS JONES.

P.S. I am sorry you think of lessening the size of the magazine. Would it not be more advisable to raise the price of it? I think you were told already that David Ionawr told me that "that publication will be read for ages yet to come."

D.S.—Drwg gennyf eich bod yn meddwl lleihau maint y cylchgrawn. Onid mwy buddiol fyddai codi ei bris. Credaf y dywedwyd wrthych eisoes i Dafydd Ionawr ddyweyd wrthyf "y bydd i'r cyhoeddiad gael ei ddarllen am oesoedd eto i ddyfod."

## VII.

THOMAS JONES TO THOMAS CHARLES.

*Creaton, Jan.* 2, 1802.

My dear friend,

I was very glad to receive yours yesterday, after a long silence. I have been a very suffering prisoner to nervous complaints since August last till about Christmas None but those who have been in the same furnace can conceive the miseries we endure under that disease. Thank God, my health is tolerably restored, though as yet can stand but little work. Mr. Langstone, of Horwood, and others of my friends have been tried this year in the same way, with myself. It was too intense application without sufficient exercise in the extreme heat of summer that ruined me.

Amongst a variety of other engagements I have undertaken to answer two or three publications by a persecuting priest in the neighbourhood against me; but when I saw Overton's famous book, called "The True Churchman," I was convinced that this alone was a sufficient and an everlasting answer to the whole host of opponents to the Evangelical ministers in the Establishment.

In regard to my coming to offer you any assistance at Chester, I can only say, that had I nothing to consult save my own inclination, you would soon see me there, but you are a man of sense and candour, look at my situation, surrounded with envious priests full of the most malignant passions watching for my halting and ever ready to take every advantage against me. It behoves me therefore to be so far on my guard as to defy their malice. I must be either *perfectly regular* or *leave the church* and the last I should do with extreme reluctance at my time of life, and being by no means cut out for an itinerant preacher. I can say with the greatest truth that my heart wishes you all prosperity and blessing, and shall stand ready to do all in my power consistent with my duty in my situation. The priests here speak out at last that they are determined to get *me* out of the church and all others called Methodists.

If you lose poor dear Jones of Mold the loss will be severely felt, for you

THOMAS JONES AT THOMAS CHARLES.

*Creaton, Ion.* 2, 1802.

Fy anwyl gyfaill,

Da oedd gennyf dderbyn yr eiddoch ddoe ar ol hir ddistawrwydd. Yr wyf wedi bod yn garcharor tra chystuddiol gan anhwylder gïeuol er Awst diweddaf hyd oddeutu'r Nadolig. Nis gall neb na fu yn yr un ffwrnais ddirnad y trueni a ddioddefwn oddiwrth yr afiechyd hwn Diolch i Dduw, y mae fy iechyd wedi ei adfer yn weddol, er nas gallaf hyd yn hyn wneud ond ychydig waith. Y mae Mr. Langstone o Horwood ac ereill o'm cyfeillion wedi bod yn yr un brofedigaeth eleni. Yr hyn a'm torrodd i lawr ydoedd ymroddi gormod heb ddigon o ymarferiad yn ngwres eithafol yr haf.

Ymhlith amrywiol ymrwymiadau ereill yr wyf wedi ymgymeryd ag ateb dau neu dri o gyhoeddiadau o eiddo offeiriad erlidgar yn yr un gymydogaeth a mi; ond pan y gwelais lyfr hynod Overton—"Y Gwir Eglwyswr," argyhoeddwyd fi fod hwn ei hun yn ateb digonol a pharhaol i holl lu gelynion gweinidogion Efengylaidd yn yr Eglwys Sefydledig.

Gyda golwg ar i mi ddyfod i roddi cymhorth i chwi yng Nghaer, nis gallaf ddwedyd mwy na phe na buasai gennyf ond fy nhueddfryd fy hunan i'w ystyried y gwelech fi yno yn fuan. Ond yr ydych yn ŵr o synwyr a didwylledd,—edrychwch ar fy sefyllfa wedi'm hamgylchynu gan offeiriaid cenfigenllyd, yn llawn o nwydau mileinig yn gwylio am fy nghloffni, ac yn barod bob amser i ddefnyddio pob mantais yn fy erbyn. Gweddai i mi felly i fod mor bell ar fy ngwyliadwriaeth ag i roddi hèr i'w malais. Y mae yn rhaid i mi fod yn hollol gyson, neu adael yr Eglwys,—ac ni wnawn y diweddaf ond yn anfoddlawn i'r eithaf,—ar yr adeg hon ar fy mywyd,—ac heb fy nhorri allan o gwbl i fod yn bregethwr teithiol. Gallaf ddywedyd gyda'r gwirionedd mwyaf, fod fy nghalon yn dymuno pob llwyddiant a bendith i chwi, a safaf yn barod i wneud yr oll yn fy ngallu yn gyson â fy sefyllfa; y mae yr offeiriaid yma wedi dweyd o'r diwedd eu bod yn benderfynol i'm cael *i* allan o'r Eglwys, a phawb arall a elwir yn Fethodist.

Os collwch Jones, y Wyddgrug, druan anwyl, fe deimlir y golled yn fawr,

certainly have not, in many respects, another man of the same worth, that I know of. I hope to pray for his life and yours; for I love my country, though the inhabitants in general have given me no encouragement to labour in their service. My treatise on Baptism, I am confident, is a complete refutation of the Anabaptists' novel and dangerous opinions; but if people will not read it let them remain in their ignorance. Publishing Welsh books cost me £245, and if the account I have kept be true, I am several scores of pounds out of pocket, which my circumstances will hardly allow. I never dreamt of any profits nor asked for any. You have done the part of a friend, for I am greatly indebted to you. If you should be fortunate enough to receive any money for me, I'll thank you to pay Jones, the printer, the remainder of his last bill. After he received £7 which was sent by Mr. John Williams, last Sep. 10th, there was due to him £6 11s. 6d., if Mr. Williams did not take a guinea's worth of my books, and he received no other sums for books. Mr. Jones has not accounted for sixty copies of Immanuel.

I should be glad to receive the parcel you spoke of, from Chester, with a letter from you enclosed. Mr. Molland, I think, is trying to get to the Tabernacle (alias Christ Church) at Liverpool. He should not go there, but another sort of man. I have not given up all the thoughts about another Edition of Welsh Bibles, but have been preparing the minds of my friends in all the counties I passed through this last autumn; and found every encouragement to call upon them for money when wanted for the purpose, if I fail finally with the Society in London.

I expect you lodge at Mr. Wilcoxon. Give my love to him. He doubtless knows that our friend Mr. Robert Humphreys has entered at Cambridge.

I am, dear sir,

Yours very affectionately,

THOS. JONES.

There is a monthly periodical called, "The Christian Observer" to make its appearance the beginning of next month. My expectations concerning it are very high, as it is to be conducted by the ablest men in the kingdom.

oherwydd nid oes gennych, mewn llawer ystyr, un arall o'r un gwerth. Gobeithiaf weddïo drosto ef a chwithau. Yr wyf yn caru fy ngwlad, er na wnaeth ei thrigolion yn gyffredinol lawer i'm cefnogi i lafurio yn eu gwasanaeth. Y mae fy nhraethawd ar Fedydd, yr wyf yn sicr, yn atebiad cyflawn i syniadau newydd a chyfeiliornus yr Ail-fedyddwyr; ond os na wna pobl ei ddarllen, gadawer iddynt aros yn eu hanwybodaeth. Y mae argraffu llyfrau Cymreig wedi costio i mi £245, ac os ydyw y cyfrif a gedwais yn gywir, yr wyf mewn colled o amryw ugeiniau o bunnau. Ni freuddwydiais erioed am elw, ac ni cheisiais ddim. Yr ydych chwi wedi gwneud rhan cyfaill, am yr hyn yr wyf yn eich dyled. Os byddwch mor ffortunus a derbyn arian i mi, diolchaf i chwi os talwch i Jones, yr argraffydd, weddill ei fil diweddaf. Ar ol iddo dderbyn £7, yr hyn a anfonwyd gan Mr. John Williams, Medi 10fed diweddaf, y mae yn ddyledus iddo £6 11s. 6c., os na chymerodd Mr. Williams werth gini o lyfrau, ac na dderbyniodd ychwaneg o arian am lyfrau. Nid yw Mr. Jones wedi rhoddi cyfrif am driugain copi o'r Immanuel.

Byddai yn dda gennyf dderbyn y parsel am ba un y soniasoch, o Gaer, gyda llythyr yn amgauedig. Y mae Mr. Molland, yr wyf yn credu, yn ceisio myned i'r Tabernacl (neu Eglwys Grist) yn Llynlleifiad. Ni ddylai fyned yno ond dyn o fath arall. Nid wyf wedi rhoddi i fyny bob meddwl am argraffiad arall o Fiblau Cymraeg, ond yr wyf wedi bod yn paratoi meddyliau fy nghyfeillion ymhob sir y bûm drwyddi yr Hydref diweddaf, a chefais bob cefnogaeth i alw arnynt am arian, pan y bydd angen am danynt, i'r diben, os methaf yn hollol gyda'r Gymdeithas yn Llundain.

Y mae yn debyg mai gyda Mr. Wilcoxon y byddwch yn lletya. Rhoddwch fy serch iddo. Fe ŵyr yn ddiau fod ein cyfaill Mr. Robert Humphreys wedi myned i Gaergrawnt.

Ydwyf, anwyl syr,

Yr eiddoch yn dra serchus,

THOS. JONES.

Y mae cylchgrawn misol o'r enw "*The Christian Observer*" i wneud ei ymddanghosiad ddechreu y mis nesaf. Y mae fy nisgwyliadau am dano yn uchel, gan y dygir ef a lan gan ddynion galluocaf y deyrnas.

# ATHRONIAETH CREFYDD.

MEWN ysgrif flaenorol* sylwasom ar wrth-ddadl H. Spencer yn erbyn Athroniaeth Crefydd, a cheisiasom brofi ei geudeb. Y mae gennym yn awr i gyfarfod dwy wrth-ddadl arall. Y naill ydyw mai gwrthrych canfyddiad yw Duw; a'r llall, mai gwrthrych datguddiad ydyw.

Gwrthrych canfyddiad, meddir, yw Duw. Gellir ei ganfod, ond nis gellir ymresymu ato. Y mae dwy ffurf ar yr wrth-ddadl hon. Y mae un yn syniad amwys ym meddwl y lliaws, tra y mae y llall yn athrawiaeth sylfaenol yng nghredo dosbarth neilltuol o athronwyr. Dywed y naill a'r llall mai nid rhesymeg yw yr hyn a'u dwg i bresenoldeb Duw. I bresenoldeb y meidrol, meddynt, ac nid i bresenoldeb yr Anfeidrol, y'n dygir ni gan resymeg. Y mae ei gwirioneddau hi yn wastad yn ansicr, anigonol, ac yn gyfyngol. Nid ydynt byth yn gosod y gwrthrych ei hun ger bron. Rhyw wirionedd neu wirioneddau am dano yw yr hyn osodir o'n blaen ganddi hi yn wastad, a hynny. wrth gwrs, mewn geiriau a brawddegau. Hefyd, rhan o'r gwirionedd a osodir ger bron ganddi. Nid ydyw rhesymeg, ac felly gwyddoniaeth, byth yn gallu gosod yr *holl* wirionedd, am unrhyw beth, o'n blaen; a phe byddai iddi allu gwneud hynny, byddai ei unoliaeth ar ol wedi hynny. Ei elfennau yn unig fyddai gennym, ac y mae elfennu gwrthrych yn difodi ei hanfod. Ond pe byddai i'r gwyddonydd, ryw ddydd, allu cyrraedd gwybodaeth gyflawn a pherffaith o unrhyw wrthrych, ïe, o'r holl wrthrychau sydd yn bod, gwybodaeth o'r meidrol yn unig fyddai hi wedi'r cwbl. Byddai yr Anfeidrol o'i gyrraedd wedi hynny; a hynny hyd byth, oblegyd y mae yr Anfeidrol yn ddiderfyn, ac y mae dod o hyd i derfyn yn yr hyn nad oes derfyn iddo yn amhosibl. O ganlyniad, nid gwyddoniaeth sydd yn ein dwyn i adnabyddiaeth o Dduw, ond crefydd. *Teimlo* gwirioneddau ysbrydol yr ydym, profiad o honynt, sef o'u nerth ar ac yn ein teimladau, yn unig sydd yn ein galluogi i'w sylweddoli; ond rhoi mynegiad perffaith i'r sylweddoliad yna, mewn geiriau a brawddegau, nis gallwn o gwbl. Yr ydym yn credu yn Nuw am ein bod yn ei adnabod; ond nis gallwn byth brofi ei fod na'i ddeffinio. Pan y mae y dyn ysbrydol yn dal cymundeb â Duw nid ydyw byth yn gofyn iddo ei hun pa fodd y mae yn bosibl iddo ddal cymundeb â'r Anfeidrol. Yn hytrach, gorffwysa yn dawel mewn mwynhad o'r cymundeb hwnnw heb deimlo unrhyw angen am amddiffyn ei wirionedd, na'i ameu. Felly, gwrthrych canfyddiad ac nid gwrthrych rhesymeg neu wyddoniaeth ydyw Duw. Yr ydym yn dyfod i adnabod Duw yn hollol fel yr ydym yn dyfod i adnabod y byd naturiol, sef trwy ei ganfod. Nid yn casglu fod y byd naturiol yn bod yr ydym, ond ei ganfod. Ei weled yr ydym. Dyna y prawf cryfaf fedr y meddwl ei gael o fodolaeth a sylweddolrwydd unrhyw wrthrych, sef y prawf sydd yn gorwedd mewn gweled. Y pryd hynny y mae y meddwl yn dyfod i gymundeb digyfrwng â gwrthrych, a thrwy hynny yn cael ei feddiannu â'r cyfryw argyhoeddiad o'i fodolaeth ag sydd yn

* Gwel TRAETHODYDD, Gorph. 1888, tud. 324.

ei wneud yn amhosibl i'r meddwl, pe ceisiai, ymryddhau oddiwrtho. Nid oes dim yn fwy sicr i'n teimlad na bod y byd naturiol yn bod. Ond nid ein bod yn gallu profi i ni ein hunain ei fod yn bod yw yr hyn sydd yn cynhyrchu y sicrwydd hwnnw. Pe buasai y sicrwydd hwn yn dibynnu ar ein bod yn gallu *profi* bodolaeth y byd naturiol, buasem byth hebddo. Yn wir, y mae yn ffaith fod rhai sydd yn ceisio profi bodolaeth y byd naturiol, nid yn unig yn myned i'w ameu, ond i'w wadu yn bendant. Nid pwnc i'w brofi ydyw, ond peth i'w ganfod. Yr wyf yn gwybod fod yr haul yn bod, yr wyf yn ei weled. Y ffaith mewn gwirionedd yw, mai canfyddiad, ac nid prawf rhesymegol, sydd yn rhoddi y sicrwydd cryfaf i'r meddwl o fodolaeth gwirioneddol pethau. Yr un modd, wrth reswm, am Dduw, nid trwy ymresymu yn ei gylch y cynyrchir ynom y grediniaeth o'i fod, ond trwy ganfyddiad o hono gan y meddwl. Y mae y galon sanctaidd yn dod i gymundeb digyfrwng â Duw yn awr ac eilwaith, fel y mae y meddwl yn dod i gymundeb digyfrwng â'r byd naturiol, a thrwy hynny y mae yr enaid yn gweled Duw. Oddiwrth hyn oll fe welir mai gwrthrych canfyddiad ydyw Duw, ac nid gwrthrych sydd yn ffrwyth casgliad oddiwrth ymresymiad; a chan mai gwrthrych canfyddiad ydyw, yna y mae yn amlwg ei fod yn gyfryw nas gellir ei ddeffinio.

Dyna yw ymresymiad rhai yn erbyn y posibilrwydd o athronyddu ar grefydd a'i gwrthrych. Y golygiad a weithir allan yma ydyw yr un a fabwysiedir gan yr athronwyr hynny sydd yn dal fod rhyw wirioneddau yn gorwedd wrth wraidd y meddwl dynol heb y rhai y byddai gwybodaeth neu brofiad yn amhosibl Gelwir y gwirioneddau hyn yn ddrychfeddyliau cynhenid, crediniaethau gwreiddiol, athroniaeth synwyr cyffredin, &c. Y mae y lliaws crefyddol yn coledd syniadau yr ymresymiad uchod i'r graddau y maent yn eu deall, ond pwnc teimlad ydynt iddynt hwy. Credu y maent mai gwrthrych canfyddiad ac nid gwrthrych deall ydyw Duw, a hynny am mai gwrthrych serch a chariad ydyw iddynt. Nid yr hyn a ddeallwn a garwn, ond yr hyn a welwn. Y mae cariad yn cofleidio Duw, felly y mae yn wrthrych cymundeb digyfrwng, yr hyn na fuasai pe gwrthrych deall a fuasai. Y teimlad crefyddol sydd yn peri i'r rhai hyn ddweyd mai canfyddiad ac nid ymresymiad yw cyfrwng ein hadnabyddiaeth o Dduw. Fodd bynnag, y maent hwy, yr un modd a'r lleill, sef y Canfyddwyr Athronaidd (*Philosophical Intuitionists*), yn gwneud athroniaeth crefydd yn amhosibl, h.y., os ydyw eu syniad yn gywir.

Y mae yr wrth-ddadl hon yn gorwedd ar wahanol syniadau. Dyna un, mai gweled Duw, ac nid deall unrhyw beth yn ei gylch, sydd yn crefyddoli dyn. Gweled, ac nid deall, yw y peth mwyaf nerthol i gynhyrchu teimlad. Y mae dyfod i ddeall fod cyfaill ini wedi boddi yn rhoi archoll ddofn i ni, ond y mae ei weled yn boddi yn rhoi archoll ddyfnach. Y mae yn bosibl ini *ddeall* fod y Gwaredwr bendigedig yn Berson Anfeidrol ogoneddus, heb i hynny effeithio nemor arnom, ond y mae *gweled* ei ogoniant yn effeithio o angenrheidrwydd arnom. Gweled Duw hefyd, ac nid ei ddeall, sydd yn sancteiddio. Felly nid athrawiaeth sydd yn datguddio gwrthrychau ysbrydol, ond canfyddiad.

Yr hyn sydd i'w ddweyd am y syniad hwn am Athroniaeth Crefydd ydyw, ei fod yn gwneud cam â hi. Nid ei diben uniongyrchol yw

crefyddoli neu sancteiddio dynion. Athroniaeth unrhyw bwnc, nid ei diben uniongyrchol, unrhyw amser, ydyw dylanwadu ar ymarferiadau dynion. Ni fwriedir i Foeseg (*Ethics*) foesoli, nac i athroniaeth y prydferth (*Aesthetics*), yn uniongyrchol, wella celfyddyd. Yr un modd am Athroniaeth crefydd, nid ei hamcan uniongyrchol hithau ydyw dylanwadu ar ymddygiadau dynion. Y mae hi yn rhag-dybio crefydd. Mewn gwirionedd, peth sydd yn dilyn ymarferiad ac nid yn ei ragflaenu, yw athroniaeth. Nid oes neb yn athronyddu ar yr hyn nad yw yn bod iddo. Y meddwl yn teimlo fod rheswm yn treiddio, megys gwê, trwy bob peth sydd yn bod, trwy y creadur, ac hefyd trwy y Creawdwr, ynghyd â'r hyn oll a wna,—mewn gair, rheswm yn teimlo nad oes dim yn bod, yn greedig na digreedig, y tuallan i bechod, ond efe ei hun, sydd wedi rhoddi bod i'r syniad o Athroniaeth. A'i ymgais i ddod o hyd iddo ei hun ymhob peth sydd wedi, ac yn, creu Athroniaeth. Fel hyn, rhaid i ymarferiad rag-flaenu Athroniaeth. Rhaid i drefniadau cymdeithas, megys y teulu, sefydliadau gwladol, &c., gael eu cynhyrchu gennym, cyn y gallwn droi ein sylw atynt i geisio darganfod yr egwyddorion sydd yn gorwedd ynddynt, a'r rhai a roddes fod iddynt. Y mae gwahaniaeth mawr rhwng ein gwaith yn rhoi bod, neu yn byw, y trefniadau hyn, a'n gwaith wedi hynny yn myfyrio arnynt, i geisio dod o hyd i'r rheswm y maent yn gorfforiad o hono. Haws, a mwy dymunol o lawer, yw gwneud y cyntaf, na'r olaf. Felly hefyd am grefydd, y mae ei byw hi, a mwynhau ei hamrywiol brofiadau, yn anhraethol fwy hyfryd na'r gwaith o geisio canfod y rheswm sydd fel gwê yn treiddio trwy ei phrofiadau. Y mae crefydd yn y profiad, fel y mae hi yn gymundeb â Duw, yn gariad at sancteiddrwydd, ac yn gasineb at bechod, yn rhoddi llawer mwy o fwynhad i'r enaid nag a wna unrhyw ymgais at ddirnad ei gwirioneddau. Y mae, felly, wahaniaeth rhwng profiad o wirioneddau crefydd a dirnadaeth o honynt. Eto nid ynt yn milwrio yn erbyn eu gilydd. Nid yw profiad o bethau crefydd yn gwrth-brofi gwerth a gwasanaeth dirnadaeth o honynt. Yn lle gwrth-daro yn erbyn eu gilydd, y maent yn gwasanaethu i'w gilydd. Y mae y mwynhad sydd mewn profiad, ar un llaw, yn symbyliad i ymgais at ddirnad, tra, ar y llaw arall, y mae y graddau o wybodaeth y mae profiad yn ei roddi, yn arwain yn naturiol i'r graddau mwy o wybodaeth y mae dirnad yn ei roddi; ac y mae dirnad gwirioneddau ysbrydol, drachefn, yn adlewyrchu yn ol ar fwynhad profiad, ac yn ei angerddoli. Fel hyn, y mae canfyddiad, neu brofiad, o bethau ysbrydol, yn lle gwrthbrofi y posibilrwydd o athroniaeth crefydd, yn gwasanaethu yn uniongyrchol i'w gwneud yn bosibl.

Syniad arall sydd wrth wraidd yr wrth-ddadl hon ydyw, fod athroniaeth yn cyfyngu ei sylw i ran o'r gwrthrych, tra y mae canfyddiad yn ei gyflwyno yn ei gyfanrwydd i'n sylw. Cydnabyddwn ein bod yn canfod rhyw fath o gyfanrwydd ymhob gwrthrych a welir gennym. Er engraifft, unrhyw beth y mae y llygaid yn edrych arno, un gwrthrych ydyw ef i ni, er fod ei briodoleddau yn amryw. Dyma y modd y mae holl wrthrychau y synwyrau yn cyflwyno eu hunain i sylw ein meddwl, sef fel un yn amryw. Ond pan y mae athroniaeth yn myned i edrych

ar wrthrych, y mae hi yn ei ddatgyfanu, yn ei elfennu, yn ei ddinystrio, megys. Ond gwna hynny i'r diben i chwilio am yr hyn sydd yn uno ei elfennau â'u gilydd, ac yn gwneud y gwrthrych yn un. Pan y llwydda athroniaeth yn hyn, y mae hi yn cael gafael ar unoliaeth llawer dyfnach na'r hwn a rydd canfyddiad i ni. Arwynebol iawn yw yr unoliaeth a roddir i ni trwy gyfrwng canfyddiad. Y cwbl fedr canfyddiad ddyweyd ydyw, fod pob peth a wel yn ymddangos yn un, er ei nodweddion amrywiol. Ond gweled pa fodd y mae, neu pa beth sydd yn ei wneud, yn un, nis gall. Pa fodd y mae pethau mor wahanol a gwres, caledrwydd, pwysau, lliw, &c., yn cyd-gyfarfod yn yr un gwrthrych, sydd beth nas gallwn byth gael allan trwy ganfyddiad, h.y., trwy yn unig edrych ar wrthrych. Y mae y gallu yna am foddloni i ganfod y ffaith fod pob gwrthrych yn un, ac yn amryw, ond nid ydyw athroniaeth. Y mae arni hi eisieu myned yn ddyfnach na'r ffaith. Y mae arni hi eisieu ei deall, eisieu gweled, a hynny mor gywir ac mor glir ag sydd bosibl, pa beth sydd yn gwneud yr amryw yn un. Ei chwestiwn hi ydyw, nid "pa beth?" ond "pa fodd?" a "pha ham?" Mae y dyn sydd yn foddlawn ar y wybodaeth a gaiff yn unig trwy edrych ar bethau, sef ar wybodaeth trwy ganfyddiad, yn foddlawn ar dywyllwch yn lle goleuni, yn caru tywyllwch ac yn cashau goleuni, o'r hyn lleiaf yn ei wrthod; tra mai y gwrthwyneb sydd wir am yr athronydd, ynghyd hefyd â'r gwyddonydd: yn cashau tywyllwch ac yn caru goleuni, ac yn ymwthio iddo, y maent hwy. Mor wahanol ydyw ymwneud y ddau hyn â'r enfys, er engraifft. Y mae y cyntaf yn foddlawn ar yr hyn a wel ynddi, ac yn ei fwynhau. Sylwa ar ei lliw, ar amrywiaeth ei lliw, ar ei ffurf fwäog; ac y mae yr oll yn ei swyno. Ond nid yw yn gofalu dim am yr hyn sydd yn uno yr amrywiaeth yna, yn achos o honynt, ac yn gwneud yr enfys yn un gwrthrych. Ond dyna yw y peth mawr sydd yn cynhyrfu y gwyddonydd wrth edrych arni. Paham y mae lliw, a lliwiau ynddi, a phaham y mae hi yn fwäog? Dyna ynt y cwestiynau sydd yn creu dyddordeb ynddo ef ynddi, a myn, os gall, eu hateb hefyd. I'r diben yna y mae, yn ei feddwl, yn difodi yr oll y mae canfyddiad yn ei roddi iddo, sef y lliwiau, y bwa, &c. Y mae yn cau ei lygaid arnynt hwy, ac yn edrych ar y diferion gwlaw sydd yn cyfansoddi yr enfys, ynghyd â'r pelydrau sydd yn ymsaethu trwyddynt. Cyfynga ef ei sylw yn gwbl i'r ddau wrthrych yna. Ei ymgais ef yn awr yw cael ateb cywir i gwestiynau penodol. Un o honynt yw, pa beth yw cwrs y pelydryn sydd yn dyfod allan o'r naill a'r llall o'r diferion sydd yn cyfansoddi yr enfys? A yw ei gwrs, pan yn dyfod allan, yr un a'r hwn oedd iddo yn myned i mewn iddo, ai ynte a ddarfu i'r diferyn effeithio i newid y cwrs yn ymdaith y pelydryn trwyddo, ac os gwnaeth, pa faint? Wrth ystyried y cwestiynau yna, y mae yn dyfod i afael gwirionedd sydd yn ei symud o dywyllwch i oleuni gyda golwg ar yr enfys. Y mae yn dyfod o hyd i'r hyn y gorwedda ei phrydferthion arno, yr hyn sydd yn rhoi bod iddynt, ac felly yn eu hesbonio. Y mae yn canfod nad oes dim goruwch-naturiol yn perthyn i'r enfys, a bod yr oll a berthyn iddi yn weithrediad natur, sef yn effaith naturiol un, neu fwy, o'i deddfau, yn neillduol deddf Gwrthdoriad Goleuni (*Refraction of Light*). Y mae pob un o'r diferynau sydd yn cyfansoddi yr enfys yn plygu cwrs y pelydrau

sydd yn myned trwyddo, a'r ffaith yna yw yr hyn sydd yn creu yr enfys. Y mae yr athronydd, fel hyn, yn cael atebiad cyflawn a chywir i'r cwestiwn, pa fodd? gyda golwg ar holl brydferthion yr enfys; ac wrth ei mwynhau fel y dyn cyffredin, a'r Canfyddydd (*Intuitionist*), sef mwynhau yr olygfa o honi, y mae ef yn cael y mwynhad pellach o'i holrhain hi a'i phrydferthion i ddeddf natur fel ei hachos; ac yn y fan yna y mae ei feddwl ef, ei reswm ef, ie efe ei hun, yn cael gorphwysfa gyflawn, gyda golwg ar yr enfys fodd bynnag, heb deimlo unrhyw anesmwythder eisieu myned ymhellach. Dyma foddhad yr Athronydd, fel y gwelir oddiwrth yr engraifft uchod,—boddhad i'r llygaid oddiwrth yr olwg ar wrthrych, yn ei amrywiaeth; boddhad i'r rheswm oddiwrth yr olwg ar wreiddyn, neu undod, yr amrywiaeth; a boddhad i'w ysbryd oddiwrth y teimlad ei fod yn cael gorphwysfa iddo ei hun, mewn llawn foddlonrwydd, yn yr olwg ar undod y gwrthrych, ei fod wedi cyrraedd pwynt dyfnaf ei natur, ac yno yn cael golwg glir ar yr hyn sydd yn rhoi bod i holl amrywiaeth y gwrthrych.

Oddiwrth hyn, ni a welwn nad yw y ffaith fod Athroniaeth yn elfennu ei gwrthrych, tra nad yw canfyddiad yn gwneud hynny, yn ddadl yn ffafr canfyddiad fel y cyfrwng priodol i ganfod ac adnabod yr Anfeidrol. Y gwrthwyneb sydd wir. Derbyn argraffiadau oddiwrth wrthrych y mae canfyddiadau, a'r rhai hynny yn arwynebol, ac yn wastad yn gyfnewidiol, ie y maent mor gyfnewidiol fel na cheir byth ddwy olwg hollol yr un fath ar unrhyw wrthrych, hyd yn oed gan yr un person. Felly ni chaiff y canfyddydd (*Intuitionist*) ddwy olwg hollol yr un fath ar yr Anfeidrol; o ganlyniad nid golwg ar yr Anfeidrol y mae yn ei gael pan y tybia hynny. Y mae y cyfnewidioldeb sydd yn y gwrthrych a genfydd yn brawf o hynny. Cyfnewidiol yw gwrthrych canfyddiad, tra mai anghyfnewidiol yw yr Anfeidrol. Ond am Athroniaeth, y mae hi yn dwyn y meddwl wyneb yn wyneb â'r hyn sydd yn ddigyfnewid. Y mae yr olwg a geir ar yr enfys yn cyfnewid yn fawr, ond y mae y ddeddf sydd yn rhoddi bod iddi yn aros yr un bob tro y syllir arni, ie yn aros yr un i bawb ymhob oes. Y mae Athroniaeth yn myned trwy y cyfnewidiol at yr anghyfnewidiol, trwy yr amserol at y tragwyddol, trwy ymddangosiadau pethau at eu hanfod. Y casgliad ydyw: Athroniaeth, nid canfyddiad, sydd yn dwyn y meddwl i gymundeb â Duw.

Syniad arall sydd wrth wraidd yr wrth-ddadl hon yn erbyn Athroniaeth Crefydd yw, fod y dybiaeth o unrhyw ffordd arall i adnabod Duw yn hunan-ddinystriol, o herwydd y mae hi yn dysgu fod rhywbeth uwch na Duw yn bod, a rhywbeth anibynnol arno. Yr un peth yw hyn yna a dweyd fod rhywbeth yn uwch na'r uchaf. Os dywedir mai trwy ymresymu y deuir i adnabod Duw, y mae felly ryw wirionedd sydd yn anibynnol ar ei fodolaeth Ef. Gŵyr pawb nad yw gwirionedd y cyn-seiliau fyth yn dibynnu ar wirionedd y casgliad. Y gwrthwyneb yw y ffaith, sef mai gwirionedd y casgliad sydd, bob amser, yn dibynnu ar wirionedd y cyn-seiliau. Pa beth bynnag a ddygir ymlaen i brofi fod Duw yn bod, y mae ein gwaith yn ei ddwyn ymlaen yn gorwedd ar haeriad felly; pa un bynnag a yw ein casgliad fod Duw yn bod yn gywir ai peidio, y mae yn ffaith fod yr hyn a

ddygir ymlaen gennym fel profion o'i fodolaeth yn ddiamheuol gywir. Fel hyn, y mae pob ymresymiad sydd yn ceisio profi fod Duw yn gorwedd ar y dybiaeth fod rhywbeth yn bod sydd yn anibynnol ar Dduw.

Un sylw sydd i'w wneud mewn atebiad i hyn ydyw, ei fod, fel gwrth-ddadl, yn taro yn erbyn canfyddiad cystal ag ymresymiad, fel cyfrwng adnabyddiaeth o Dduw. Dyna yw canfyddiad, y meddwl yn syllu ar wrthrych, ond trwy fod ar yr un pryd yn ymwybodol o hono ei hun. Trwy hunan-wybyddiaeth, fel cyfrwng, yr adnabyddir neu y canfyddir pob gwrthrych. Heb hunan-wybyddiaeth, neu yn hytrach hunan-sylweddoliad, *i ryw raddau*, byddem mor ddiallu i ganfod ag yw pren neu faen. Dyna sydd yn gwahaniaethu yr anifail oddiwrth y pren, sef ei fod, i ryw raddau, yn gallu sylweddoli ei hun iddo ei hun. Nid sylweddoliad i'r *meddwl* yw ef, iddo ef, mae yn wir, ond sylweddoliad i'r *teimlad*. Y mae ei deimlad yn beth gwirioneddol iddo—poen, er engraifft. Nid yw ychwaith ond sylweddoliad am eiliad, sef am yr eiliad y bo y teimlad yn bod. Pan nad yw yr anifail yn teimlo, nid yw yn bod iddo ei hun, ond pan yn teimlo, y mae ef, iddo ei hun, yn bod, a dyna, yn awr, yw ein pwynt. Trwy gyfrwng y teimlad yna o hono ei hun, yn unig, y mae ef yn gallu canfod gwrthrychau. Hebddo, fel y dywedwyd, nis gallsai mwy na phren eu canfod. Fel hyn, y mae graddau mwy neu lai o hunan-wybyddiaeth yn hanfodol i ganfyddiad gwrthrychau. Felly nis gall y meddwl byth ganfod Duw, heb iddo yn gyntaf roddi bod sylweddol, anibynnol ar Dduw, iddo ei hun. Felly y mae yr wrth-ddadl hon yn taro mor effeithiol yn erbyn canfyddiad, ag ydyw yn erbyn ymresymiad, fel cyfrwng adnabyddiaeth o Dduw.

Fodd bynnag, cydnabyddwn yn rhwydd fod yn amhosibl esgyn at yr Anfeidrol ar hyd esgynfa rhesymeg. Mae yn wir fod y wyddor hon yn ein galluogi i ddod o hyd i'r un yn y lliaws, eto nid yr Un hwnnw ag y mae ein hysbryd yn gwaeddi am dano. Yr un a roddir i ni ganddi hi ydyw yr un sydd yn gwneud ein syniadau am wrthrych yn un, ac nid yr un hwnnw ag sydd yn gwneud y gwrthrych yn un. Unoliaeth ein syniadau am wrthrych, ac nid unoliaeth y gwrthrych yw yr hyn yr ymgyrhaedda rhesymeg am dano, tra mai yr olaf yw yr hyn y gwaedda ein hysbryd am dano. Rhoddir ef iddo gan Athroniaeth. Yr hyn y mae a fynno hi âg ef ydyw, nid gwybodaeth, ond gwrthrych gwybodaeth; nid unoliaeth pethau, ond eu hanfod. Yr un sydd yn cysoni yr amrywiaeth, yn cynnwys yr amrywiaeth, yn datguddio ei hun yn yr amrywiaeth, yw yr hyn a roddir i ni gan Athroniaeth. Y mae yr un yma yn hollol wahanol i ddim a roddir i ni gan resymeg. Hefyd y lliaws sydd yn esbonio yr un, neu y cyffredinol, gan resymeg. Ond yr un yn esbonio y lliaws geir gan Athroniaeth. Arweinia hi ni i afael gwybodaeth wyddonol am wirioneddau crefydd, ac i wir adnabyddiaeth o Dduw. Felly ni a ganiatawn fod yr wrth-ddadl hon yn taro yn erbyn y syniad fod yn bosibl esgyn at Dduw trwy gyfrwng rhesymeg gyffredin *(logic)*, ond nid yw yn cyffwrdd o gwbl â'r syniad y gellir esgyn ato trwy gyfrwng Athroniaeth neu wyddoniaeth.

Ond y brif ddadl dros y syniad mai gwrthrych canfyddiad yw Duw, ac nid gwrthrych meddwl *(thought)*, yw mai canfyddiad yw sail

sicrwydd bodolaeth gwrthrych. Nid oes dim yr ydym mor sicr ei fod yn bod a'r hyn a ganfyddwn. Y mae ein sicrwydd o fodolaeth y gwrthrych yna yr un a sicrwydd y meddwl o'i fodolaeth ei hun. Y mae mor amhosibl ameu bodolaeth y gwrthrych a welwn ag yw ameu ein bodolaeth ein hunain. Nid ydyw gwyddoniaeth byth yn cyrraedd y sicrwydd yna. Ni a gydnabyddwn yn rhwydd rym y sylwadau hyn, oddieithr cynnwys y frawddeg olaf. Nid gwir hi. Nid oes dim yn fwy sicr nag mai tystiolaeth gryfaf gwirionedd yw y gwirionedd ei hun. Nid oes dim a gyflwynir i sylw y meddwl yn wirionedd iddo, ond a ganfyddir ganddo yn wirionedd. Nid oes awdurdod uwch i wirionedd, i'r meddwl, na'r gwirionedd ei hun, neu, mewn geiriau ereill, y ffaith mai gwirionedd ydyw i'r meddwl sydd yn syllu arno. Y mae hon yn egwyddor sylfaenol pob egwyddor, ynghyd hefyd ag Athroniaeth Yr hwn a ddygodd yr egwyddor yna i amlygrwydd arbennig oedd Des Cartes, a hi, trwyddo ef, sydd wedi rhoddi bod i'r hyn a elwir *Modern Philosophy* —Athroniaeth Ddiweddar Dysgeidiaeth yr egwyddor yw nad oes ystyr i fodolaeth o fath yn y byd ond yn ei berthynas â meddwl, a bod rhaid i bob sicrwydd arall orwedd yn y diwedd ar sicrwydd y meddwl o hono ei hun. Nid oes dim yn bod i'r meddwl ond a genfydd yn bod. Er fod hyn yn berffaith wir, eto nid yw o angenrheidrwydd yn cynnwys fod pob peth sydd yn bod i'r meddwl yn wirioneddol fod. Hon, fodd bynnag, yw egwyddor canfyddiaeth (*intuitionism*). Mae canfyddwyr yn myned mor bell a dweyd fod yr hyn sydd yn y meddwl, ac nas geilir eu holrain ymhellach, i'w cymeryd fel yn wirioneddau hollol (*absolute*), eu bod yn gynhenid i'r meddwl, yn cael eu creu yn y meddwl wrth ei greu ef, ac mai arnynt hwy, yn y pen draw, y gorwedda pob gwirionedd arall, pa un bynnag ai i natur, moes, ai crefydd y perthyna. Er mor naturiol yr ymddengys y golygiad hwn ar y cyntaf, eto y mae pethau cryfion iawn i'w dweyd yn ei erbyn. Un peth ydyw nad ydyw argyhoeddiad fod unrhyw syniad yn gynhenid yn unrhyw brawf ei fod felly. Nid oes angen ond am ychydig ystyriaeth i ganfod fod llawer syniad a chrediniaeth sydd yn ymddangos yn wreiddiol yn y meddwl, eto yn effaith gweithrediad meddyliol blaenorol. Ië, yn fynych, nid ydynt amgen syniadau a faentumir, mewn modd arwynebol, fel yn wir. Ceir hwy yn y meddwl; ac heb wneud unrhyw ymchwiliad i'w gwreiddyn, eithr yn unig am eu bod yno, cymerir yn ganiataol eu bod yn gynhenid i'r meddwl. Hefyd y mae syniadau a chrediniaethau yn y meddwl sydd wedi eu huno â'u gilydd trwy ddylanwad deddf cymdeithasiad yn y fath fodd fel nas gall eu gwahanu. Mae yn berffaith analluog i edrych arnynt ar wahân. Iddo ef, y mae yr undeb sydd rhyngddynt yn wreiddiol, ac felly yn annatodol ac angenrheidiol, pan, mewn gwirionedd, nad ydynt felly. Ni welodd ef erioed mo honynt ar wahân, ac oherwydd hynny y mae yn hollol analluog i edrych arnynt ar wahân. Dyna ydyw y rheswm fod y meddwl yn methu peidio cysylltu lle â phob peth. Nis gall synio am ysbryd ond mewn lle, nac am ei feddwl ond mewn lle, er bod nodweddion meddwl a lle yn hollol groes i'w gilydd. Yr achos o hyn ydyw, mai mewn lle y mae ef yn cael pob peth. Am y syniad fod pob peth yn bod mewn rhyw le neillduol, nid un o ddodrefnau cynhenid y meddwl wedi ei greu a'i gyd-wâu, megys, a'r meddwl pan y crewyd

ef, ydyw, ond ffrwyth profiad, effaith deddf cymdeithasiad. Fel hyn, ni a welwn nad yw anallu y meddwl i olrhain unrhyw syniad neu wirionedd i wreiddyn pellach, yn brawf nad oes gwreiddyn pellach iddo, neu, nid cynhenid ydyw pob peth a ymddengys yn gynhenid.

Ond, yn y lle nesaf, pe byddai i ni ddod o hyd i wirionedd sydd wreiddiol i'r meddwl, neu ynddo, ni byddai canfyddiad uniongyrchol o hono yn brawf o hynny. Gwirionedd gwreiddiol neu gynhenid i'r meddwl, gwirionedd sydd yn perthyn i'r meddwl fel meddwl, ac felly yn perthyn i feddwl pawb, i bob meddwl, ydyw. Elfen gyffredinol meddwl ydyw. Ond am y canfyddiad o hono, gweithrediad neillduol pob meddwl wrtho ei hun ydyw hynny. Peth angenrheidiol ydyw y cyntaf, peth damweiniol ydyw yr ail; ac y mae adeiladu yr angenrheidiol ar y damweiniol, neu y cyffredinol ar y neilltuol, yn amhosibl. Nid ydyw y ffaith fod syniad yn fy meddwl ag yr ydwyf yn methu ei wadu na'i elfennu ond fy mhrofiad i fy hun, digwyddiad yn fy hanes i, a dim mwy. Nid yw peth fel hyn yn brawf o wirionedd diamodol, anghyfnewidiol a thragwyddol. Pe dywedwn fod yn fy meddwl syniad cynhenid am y prydferth, neu yr iawn, neu fod rhyw syniad crefyddol yn wir am fod fy nghydwybod yn tystio i'w wirionedd, buasai gan un arall, ag y buasai ei syniadau yn groes i'm heiddo i, hawl i ddal allan fod ei syniadau yntau yn wir. Cydnabyddwn mai profiad yr hil ddynol yn gyffredinol, ac nid profiad y dyn unigol, ydyw safon gwirionedd cynhenid gan y canfyddwyr. Ond yn y lle cyntaf, ymha le y ceir gwirionedd yn cael ei gydnabod gan brofiad cyffredinol? Nis gellir cyfeirio at unrhyw syniad mewn moes na chrefydd ag y mae pob oes a gwlad yn ei gydnabod yn wirionedd. Ië, y mae yn ffaith fod oesoedd a gwledydd wedi derbyn fel ffeithiau a gwirioneddau yr hyn y darfu i gynnydd gwybodaeth ei brofi yn un camsyniol. I benderfynu rhwng gwirionedd a chrefydd, y mae yn rhaid cael rhyw brawf amgen na chanfyddiad, neu syniadau personau unigol, y rhai sydd yn amrywio yn ol dylanwad tymer, traddodiad a chymdeithasiad. Y mae y dylanwadau hyn yn ddibaid gyfnewidiol, ac felly, o angenrheidrwydd, y mae y syniadau a gynhyrchir trwyddynt. Y mae yn hollol amlwg oddiwrth yr ystyriaethau hyn fod canfyddiaeth yn hollol analluog i'n harwain i adnabyddiaeth o'r anghyfnewidiol, y tragwyddol a'r anfeidrol, a bod pob dadl yn erbyn athroniaeth crefydd, sylfaenedig ar y dybiaeth o effeithiolrwydd y cyfrwng yna i hynny yn syrthio i'r llawr.

Mae yn ddiameu fod sêl pleidwyr y dyb hon o'i phlaid yn codi o'r syniad nad oes ond synwyryddiaeth yn bod i esbonio gwirionedd, os gwrthodir canfyddiaeth, neu *intuition*. Os nad ydym, meddant, am syrthio i mewn â'r syniad fod ein gwybodaeth o'r hyn sydd foesol a thragwyddol yn gwreiddio yn ein synhwyrau, y mae yn rhaid i ni ei roddi i wreiddio yn ein meddwl, ei wneud yn gynhenid. Trwy roddi gwreiddiau gwirioneddau moesol yn y meddwl, haerir fod yr un mor amhosibl eu gwadu â gwadu y meddwl ei hun. Ac er i'r gwadwr allu dangos diffyg pob dadl a ddygir ymlaen gennym dros fod gwirionedd au moesol a thragwyddol yn bod, eto os rhoddwn wreiddyn y gwirioneddau hyn yn y meddwl ei hun, y mae eu sicrwydd yn ansigledig i ni, er pob ymosodiad a wneir arnynt. Ond gwrthoder gwneud hyn â hwynt, yna nid ydynt, o angenrheidrwydd, ond gwybodaeth y syn

hwyrau, a byddant byth yn ansicr i ni. Sylwadau o'r fath hyn sydd wrth wraidd sêl pleidwyr canfyddiaeth o'i phlaid. Ond camgymeriad hollol yw hyn. Y mae o'r pwys mwyaf deall nad ydyw dyn wedi ei gyfyngu i ddewis rhwng canfyddiaeth a synwyryddiaeth fel sail gwirioneddau moesol a thragwyddol. Y mae drws arall yn agored iddo. Mae damcaniaeth arall yn ei gyrraedd, yr hon sydd yn fynegiad mwy cywir, yn ddiameu, o'n hargyhoeddiadau dyfnaf, na'r damcaniaethau uchod, yr hon sydd yn eu dyrchafu i diriogaeth anrhaethol uwch na greddfau deillion, amhosibl eu hamddiffyn â rheswm. Pethau fel yna ydyw canfyddiadau, neu *intuitions*, i ni. Ond nid pethau fel yna ydyw gwirioneddau moesol a thragwyddol, ond pethau ag y gallwn eu hadnabod yn ngrym goleuni rheswm. Mae yn bosibl dwyn argyhoeddiadau dyfnaf y meddwl i dir rheswm, heb ddinystrio eu cymeriad sylfaenol a chynenid. Gwneir hyn trwy ddangos eu bod yn elfennau angenrheidiol mewn cyfundrefn o wirioneddau, i'r diben iddi fod yn gyflawn, neu yn hytrach allu bodoli. Y prawf cryfaf o wirionedd syniad ydyw, ei fod yn hanfodol i gyfanrwydd corff o wirioneddau, fel y mae pob aelod yn y corff naturiol yn hanfodol i gyfanrwydd y corff. Gŵyr pawb, mae yn bosibl, mai nid yr un peth ydyw bod yn hanfodol i gyfanrwydd corff naturiol a bod yn hanfodol i gyfanrwydd corff o wirioneddau, fel cyfundrefn, er mwyn cysondeb. Y mae cyfanrwydd yn hanfodol i *fodolaeth* y cyntaf, pan nad ydyw i'r ail. Mae corff o wirioneddau yn gorff, er i lawer o wirioneddau priodol iddo fod yn absennol; ond os bydd *un* aelod yn absennol o gorff naturiol, yna nid ydyw yr hyn sydd yn aros yn gorff, ac ni fydd byth ychwaith, nes yr adferir yr aelod sydd ar goll. Mae yr aelod sydd ar goll, ynghŷd â phob aelod arall, yn ddiben ac yn offerynol i gyfanrwydd y corff, a'r cyfanrwydd, ar y llaw arall, yn ddiben ac yn offerynol i bob un o honynt hwythau. Y mae yr aelod a'r corff yn hanfodol i fodolaeth eu gilydd. Yr un modd am unrhyw wirionedd moesol, neu ysbrydol, y prawf o'i wirionedd, a'r hyn sydd yn rhoddi iddo yr angenrheidrwydd cryfaf sydd bosibl ydyw, y gellir dangos ei fod yn hanfodol i wirionedd cyffredinol, neu i'r hyn sydd wirionedd i bob meddwl sydd yn bod. Os gellir profi nad ydyw yr hyn sydd yn wirionedd i bob meddwl, ac felly yn wirionedd anghyfnewidiol a thragwyddol, yn wirionedd, heb i'r syniad neilltuol y cyfeirir ato fod yn wirionedd, yna y mae yn rhaid iddo yntau fod yn wirionedd, ac yn wirionedd angenrheidiol hefyd. Mae pob gwirionedd yn ddi-greëdig, yn dragwyddol ddiddechreu a di-ddiwedd. Y maent oll hefyd yn un a'u gilydd, yn un o dragwyddoldeb i dragwyddoldeb, ac y maent yn ûn byw, neu yn un fel y mae peth byw yn un, yr un bywyd yn treiddio trwyddynt oll, ac felly yn rhoddi y fath gyfanrwydd iddynt ag sydd yn gwneud yr oll o honynt yn hanfodol i fodolaeth pob un o honynt, a phob un yn hanfodol i'r oll. Os gellir dangos fod unrhyw syniad neilltuol yn hanfodol i wirionedd, yn yr ystyr yma, ni a fyddwn, ar yr un pryd, yn dangos hefyd ei fod yntau yn wirionedd, ac yn anghyfnewidiol a thragwyddol, ac yr ym yn ei ddangos yn wirionedd yn ngrym goleuni—goleuni rheswm, ac nid ei gyflwyno i sylw fel rhywbeth i ffydd ddall gymeryd gafael ynddo, a gofal o hono, rhywbeth nas gall rheswm ei ganfod, heb son am ddweyd dim o'i blaid, neu yn ei erbyn. Egwyddor fawr gwy-

bodaeth yn ol y ddamcaniaeth yma ydyw, gweled yng ngoleuni rheswm yn gyntaf, a chredu wedi hynny, tra mai yr egwyddor a rydd canfyddiaeth yn sail gwybodaeth ydyw credu yn ddall yn gyntaf, yn ail, ac yn olaf, h.y , credu heb fod gweled yng ngoleuni rheswm byth i'w ddilyn. Fe welir yn awr, os gwrthodir canfyddiaeth fel yr hyn sydd yn esbonio bodolaeth gwirionedd moesol, fod damcaniaeth arall i'w derbyn, neu i'w gwrthod, cyn y dylid teimlo fod gwrthod canfyddiaeth yn cynnwys derbyn synwyryddiaeth.

Gwrth-ddadl arall a ddygir ymlaen yn erbyn Athroniaeth Crefydd ydyw mai gwirioneddau datguddiad ydyw ei gwirioneddau. Rheswm ydyw sail pob gwirionedd mewn athroniaeth, ond awdurdod ddwyfol ydyw sail gwirioneddau crefydd. Mae y gwirioneddau hyn yn gorwedd yn hollol y tu allan i gylch gwyddor ac athroniaeth. Wrth ddweyd mai nid gwirioneddau rheswm ydyw gwirioneddau datguddiad, y mae hynny yn golygu eu bod yn groes i reswm, neu uwchlaw rheswm. Dyma oedd syniad rhai gwŷr galluog yn yr eglwys foreuol, ynghyd ag eglwys y canol oesoedd. Eu harwydd-air oedd, Po fwyaf croes i reswm y bo datguddiad, mwyaf gwir ydyw. Credaf y gwirionedd, meddent, am ei fod yn amhosibl. Fel y mae yn bosibl i chwaeth dyn lygru mor fawr fel ag i alw yr hagr yn brydferth, felly y golygai y rhai yr oedd yr uchod yn arwyddair iddynt fod rheswm dynol wedi dirywio yn gymaint trwy bechod, fel y galwai dynion gelwydd yn wirionedd, a gwirionedd yn gelwydd, am mai felly yr oeddent yn naturiol yn canfod. Oherwydd dalient fod gwirioneddau crefydd yn groes i reswm, a thrwy hynny yn brawf o'u gwirionedd, a pho fwyaf croes i reswm, mwyaf sicr eu bod yn wir. Dyma syniad rhai o brif arweinwyr yr oesoedd gynt. "Y maent," meddai Gibbon, "yn wrth-ddywediad, ac yn groes i reswm, er y mae yn bosibl eu bod yn wir, oblegyd gwrthrych ffydd, ac nid rheswm ydyw gwirioneddau crefydd." Mae hyd yn oed dynion gwir grefyddol yn rhy dueddol i gymeryd yr olwg yma ar y gwirioneddau hyn. Teimlant fod rhai athrawiaethau yn y Bibl yn gwrthdaro yn boenus iddynt yn erbyn rhai o egwyddorion moesol eu natur, megys cyfiawnder. Felly edrychant ar ddatguddiad a rheswm fel yn awdurdodau gwahanol, a thybiant na ddylai y naill byth ymyraeth â'r llall, na neb, tan unrhyw amgylchiad, adael i'w gredin-iaeth yn athrawiaethau y gwirionedd sanctaidd gael eu siglo am foment gan ddim a ddywed rheswm.

Mae yn bur sicr mai nid dyma y ffordd i derfynu y cweryl rhwng crefydd a gwyddoniaeth. Nid tŷ wedi ymrannu yn ei erbyn ei hun ydyw ysbryd dyn, y naill ran o hono i fod yn ddarostyngedig i un math o awdurdod, a'r rhan arall i fath arall. Buasai hyn yn gwneud rheswm a theimlad, yn eu perthynas â'u gilydd, yn dryblith, oddieithr fod yn y fynwes ryw awdurdod uwch i benderfynu rhwng y ddau. Ond nid oes. Un orsedd barn a osododd y Creawdwr i fyny ym meddwl dyn, a'r orsedd honno ydyw rheswm. Mae pob peth a gyflwynir i'r meddwl fel gwirionedd, i'w ddwyn ger bron yr orsedd hon i'w farnu, ac nid ger bron yr un orsedd arall. Ië, rhaid hyd yn oed i wirioneddau datgudddiad gael eu dwyn o'i blaen hi, ac yno sefyll eu prawf. Os daliant eu prawf, y maent i'w derbyn; os methant, y maent i'w gwrthod. O flaen yr orsedd yma yn unig y gellir dangos pa un ai

gwirionedd ai twyll ydynt. Y mae datguddiad wrth ganiatau i reswm benderfynu pa un ai gwirionedd ai twyll a ddysg, yn cydnabod ei uwchafiaeth a'i awdurdod fel safon gwirionedd. Pan y dywedir fod Duw wedi dweyd rhywbeth, gofyna rheswm pa beth yw y prawf. Mae dweyd fod Duw yn datguddio i reswm beth sydd yn groes i reswm yn beth na dderbyn rheswm mo hono. Mewn gwirionedd, datguddio i reswm beth sydd yn groes i reswm sydd wrth-ddywediad. Heblaw hynny, amhosibl hollol ydyw ennill parch y galon i'r hyn sydd yn ymddangos i'r meddwl fel peth croes i reswm. I sicrhau cydweithrediad ffydd a rheswm, mae yn rhaid i farn oleuedig y meddwl gymeradwyo yr hyn a ddysgir, neu a ddatguddir, neu ynte brofi ei fod yn gyfryw o ran ei natur fel nas gellir rhoddi barn arno.

Ond er nad ydyw yn iawn dweyd fod datguddiad yn groes i reswm, eto, fe all, o bosibl, fod uwchlaw rheswm. Y mae hwn yn syniad cyffredin am y datguddiad Dwyfol, yn enwedig er amser Leibnitz. Dysg yr athrawiaeth hon fod cynnwys datguddiad yn gyfryw nas gallai y meddwl yng ngrym ei alluoedd naturiol, ei ddarganfod, nac wedi ei gael, ei ddirnad. "Y mae i'w gredu, ond nid i'w amgyffred." Ond gan nad oes dim a ddywed yn groes i reswm, gall y meddwl ei dderbyn, ac y mae tan rwymau i wneud hefyd, os wedi cael profion digonol o'i ddwyfoldeb, ond nis gall athronyddu yn ei gylch.

Yr hyn a ddeallir wrth yr ymadrodd "uwchlaw rheswm" yn y cysylltiad yma ydyw, uwchlaw rheswm meidrol. Mae pob peth a geir yn y datguddiad Dwyfol yn gyson â rheswm Anfeidrol, ond nid â rheswm meidrol. Dyna ydyw ystyr yr ymadrodd "uwchlaw rheswm." Mae y syniad yna yn dysgu fod dau fath o reswm, un yn feidrol a'r llall yn Anfeidrol, un yn is, a'r llall yn uwch; eto, eu hanfod, ac felly eu hansoddau, yn un. Gwrthddywediad hollol ydyw hyna. Os ydyw hanfod ac ansoddau dau fod yn un o ran eu natur, yna y mae y ddau *yn wirioneddol* un. Felly y mae rheswm Duw a rheswm dyn yn wirioneddol un. Hefyd, mae y ffaith y cydnabyddir fod pob athrawiaeth neu ddysgeidiaeth sydd yn ymddangos yn groes i reswm goleuedig dyn i'w gwrthod, yn brawf mai yr un fath reswm sydd gan ddyn a Duw. Yn awr, gan mai yr un fath ydynt, yna y mae pob athrawiaeth sydd yn gyson â rheswm yn Nuw, yr un mor wirioneddol gyson a rheswm fel y mae mewn dyn. Y mae pob athrawiaeth y medr Duw ei ddirnad, pa un bynag ai am dano ei hun, ai ynte am unrhyw beth a wna, yn gyfryw o ran ei natur, fel y gall dyn hefyd ei ddirnad mor wirioneddol a Duw, oblegid rheswm sydd gan y naill i'w ddirnad a rheswm hefyd sydd gan y llall.

Oddiwrth yr oll o'r sylwadau hyn fe welir fod pob gwirionedd am Dduw, o ran ei natur, mor gyson â rheswm dynol ag ydyw unrhyw wirionedd am unrhyw beth arall sydd yn bod. Y mae yr un mor amlwg, hefyd, y gellir ei ddwyn i ffurf gwyddor, mor wirioneddol ag y gellir gwneud hynny âg unrhyw wrthrych arall sydd yn bod, megys natur, er engraifft. Felly y mae Athroniaeth Crefydd yn beth posibl oddiar ddim ag y gellir ei ddwyn ymlaen fel gwrth-brawf ar dir canfyddiaeth neu ddatguddiad.

D. D. JONES.

*Upper Bangor.*

## ADDYSG Y WEINIDOGAETH.

NID oes dim a haedda'n fwy ystyriaeth ddwys a difrifol y gwahanol enwadau crefyddol yng Nghymru heddyw nag addysg eu hymgeiswyr am y weinidogaeth. Y mae'n amheus a yw'r eglwysi eto wedi eu deffro i bwysigrwydd y mater, ac yn gallu ei weled yn ei holl agweddau. Y mae'r arweinwyr—yr ychydig yma ac acw sy'n gallu darllen a deongli "arwyddion yr amserau,"—o'r diwedd yn effro i'w ddifrifwch, ond lled anodd ydyw dwyn y lliaws i weled pethau yn yr un goleuni. Gwneir ymdrech egniol ar hyn o bryd i godi'r safon yn y Colegau Diwinyddol ac ynglŷn a derbyn pregethwyr, ond yn araf, ac yn araf iawn, y rhydd yr enwadau gam ymlaen. Cyhuddir y diwygwyr o fod yn rhy frysiog, o geisio rhuthro pethau, ac o ddiystyru cymhwysterau trymach yn eu hawch am ddyrchafu gwybodaeth a diwylliant y pulpud. Angenraid yw dyfod o'r rhwystrau hyn bob amser, ac ni chymer y doeth ei darfu ganddynt. Er gwaethaf llais rhagfarn ac anwybodaeth, ac er gwaethaf y geiriau ffôl a leferir gan y siomedig neu'r diallu yn eu hymgais hwy am addysg, y mae'n rhaid i arweinwyr crefyddol Cymru ymafael â'u holl feddwl ac â'u holl nerth yn y mater hwn, a hynny ar frys.

Nis gall yr eglwysi oddef i addysg y weinidogaeth fod ar ol yng ngwyneb y cynnydd dirfawr, sicr a chyflym a welir ynglŷn âg addysg fydol yng Nghymru ar hyn o bryd. Er gwell neu er gwaeth, y mae Cymru erbyn hyn yng ngafael cyfundrefn addysg nad oes ei rhagorach, fel peiriannwaith, yn y deyrnas. Y mae'r gyfundrefn hon eisoes yn prysur wneud ei gwaith, a thrwy'r gwaith hwnnw'n dwyn elfen ddieithr a phwerus i mewn i'n heglwysi a'n cynnulleidfaoedd. Cymharer ystadegau'r eglwysi âg ystadegau'r colegau a'r ysgolion, ac fe genfydd yr ystyriol ar unwaith fesur y cyfnewid sydd, ac a fydd, yn ein cynnulleidfaoedd. Ugain mlynedd i heddyw nid oedd ond un coleg cenedlaethol yng Nghymru, a hwnnw yn ei unigedd a'i eisieu'n dewr ymdrechu cyflenwi angen rhyw hanner cant o fyfyrwyr. Heddyw y mae dros fil o efrydwyr yn y tri choleg cenedlaethol sydd a'u nerth erbyn hyn yn un yng nghwlwm undeb y Brifysgol. Ddeng mlynedd yn ol nid oedd gennym ond rhyw hanner dwsin o ysgolion "gramadegol" a chanddynt enw a chydnabod mewn cylchoedd athrofaol. Heddyw y mae gennym dros bedwar ugain o ysgolion canolradd, a chyfartaledd o agos i gant o ysgolheigion ymhob un o honynt. Ni raid i mi na neb arall drafferthu i egluro gwers ffigyrau fel hyn. Fe wêl pawb y cwestiwn a osodir ganddynt ger bron yr eglwysi. A ydyw safon addysg y weinidogaeth i fyny â safon addysg fydol yng Nghymru? A yw'r pulpud yn alluog i gyfarfod gofynion y genhedlaeth sydd ar hyn o bryd yn myned trwy'r ysgolion a'r colegau?

Y mae'r cwestiwn hwn, mewn gwirionedd, yn cynnwys dau. Yn gyntaf, a yw addysg gyffredinol,—gwybodaeth a diwylliant meddwl—ein gweinidogion i fyny â'r safon a ofynir? Yn ail, a yw'r addysg

*

briodol i'w gwaith, eu haddysg ddiwinyddol, mor gyflawn a thrwyadl ag y dylai fod yng ngwyneb cynnydd manteision addysg mewn cyfeiriadau ereill? Y safon a dybir yn y cwestiwn cyntaf ydyw safon gwybodaeth a diwylliant goreuon y gwrandawyr. Fe ddylai y gweinidog fod mor wybodus a diwylliedig â'r mwyaf gwybodus a diwylliedig sydd dan ei ofal. Wrth gwrs, fe geir mewn llawer eglwys, os nad ymhob un, ryw ychydig a chanddynt, o raid neu o ddewis, wybodaeth o faes neu destun neilltuol nas gellid disgwyl i'r gweinidog mwyaf diwylliedig ei meddu. Y mae eithriadau fel hyn i'w cyfarfod bob amser, ac ni freuddwydiai neb am ofyn i weinidog neu bregethwr lafurio i feddu gwybodaeth mor gyflawn ag ambell i lyfrbryf neu hynafiaethydd yn ei gynnulleidfa, mwy na gofyn iddo fedru dal ei dir â meddyg neu dwrne yn eu pynciau priod hwy. Ond, yn sicr, y mae dylanwad y gweinidog yn rhwym o fod yn fyr o'r hyn y dylai fod, os bydd ei wybodaeth a'i ddiwylliant cyffredinol ar ol i eiddo goreuon ei eglwys. "Pawb at y peth y bo," medd rhyw hen ddiareb: ond er hynny, y mae y fath beth yn bod a safon o *ddiwylliant cyffredinol*, ac yn hyn fe ddylai 'r athraw ysbrydol fod i fyny a'i ddisgyblion. Dylai wybod digon, beth bynnag, i beidio dangos ei anwybodaeth—i beidio dweyd pethau'n gyhoeddus neu mewn cymdeithas ddiwylliedig a fyddant yn destun naill ai dirmyg neu dosturi ei wrandawyr. Nid gwiw ceisio celu'r ffaith y clywir drachefn a thrachefn o bulpudau Cymru heddyw—a hynny, fel mae'n chwith meddwl, yn aml o enau pregethwyr a addysgwyd yn ystod yr ugain mlynedd diweddaf, "cyfnod y Deffro," fel y'i gelwir—bethau sy'n bradychu anwybodaeth dybryd yn y sawl a'u dywed. A chan amlaf, nid yw'r pethau hyn yn bethau ag y mae angen eu dweyd; ac ni ddywedai neb mohonynt ond yr hannerdysgedig. "*A little knowledge is a dangerous thing;*" ac yn y pulpud y mae i ychydig wybodaeth berygl neilltuol. Fe ddywedwyd i mi fwy nag unwaith mai un o effeithiau iachusaf dylanwad Dr. Lewis Edwards yn y Bala ydoedd y *discretion*—y doethineb a'r chwaeth—a ddysgai i bregethwyr y cyfnod hwnnw; a thybiaf y gwelir hynny'n eglur heddyw mewn nifer anrhydeddus o bregethwyr Methodistaidd sydd eto gyda ni. Ni chadd yr un o honynt hanner y manteision i gyrraedd gwybodaeth a gawn ni, eto prin y clywodd neb y dynion hyn yn merwino clustiau pobl â'r cymhariaethau amrwd a'r "ffeithiau gwyddonol" amheus a glywir gan dô diweddarach. Ni chlywir hwynt yn son am Darwin a Huxley a Spencer heb eu darllen, nac yn baldorddi ynghylch "deddfau" heb eu deall. Nid gwybodaeth i guddio anwybodaeth a feddant, ond digon o wybodaeth i beidio son am bethau nad ydynt yn eu dirnad. Y mae gwir wybodaeth, wedi'r cyfan, yn bur dawedog. Y pregethwr a fedd fwyaf o athroniaeth yw'r hwn sydd, fel rheol, yn gallu ei chuddio oreu yn ei bregeth, a'r hwn a ŵyr fwyaf am yr uwchfeirniadaeth yw'r diweddaf i son am dani o'i bulpud. Ni fuaswn yn cyfeirio at y pethau hyn oni bae eu bod yn profi i mi nad ydyw addysg gyffredinol y weinidogaeth heddyw yr hyn y dylai fod yng ngwyneb diwylliant ein cynnulleidfaoedd goreu, ac y dylid ymdrechu 'n egnïol ac ar unwaith i godi'r safon. Y mae'r drws yn rhy agored, a'r arholiadau'n rhy hawdd. Ni fynnwn i am foment ddweyd gair i ddibrisio'r cymhwyster pennaf i bregethu,—sef *ysbryd* pregethu, awydd i

bregethu 'n codi oddiar alwad oddi fry,—ac ni fynnwn i weled y drws yn cael ei gau ar neb sy'n gydwybodol yn gallu dweud, "Gwae fydd i mi, oni phregethaf yr efengyl." Nid addysg yw'r cyfan, na'r prif beth. Fe gydnebydd pawb hyn, ond na chymerer y gwirionedd hwn yn destun pregeth yn erbyn y rhai sy'n ymdrechu'n onest i wella addysg y weinidogaeth. Nid trwy geisio cyhuddo'r rhai hynny o ddiffyg ysbrydolrwydd, mwy na thrwy eu gwawdio, y mae gofalu am urddas y weinidogaeth. Diau fod pregethwyr sâl a sych ymysg y graddedigion, ond tybed mai ar y gradd ac ar yr addysg y mae'r holl fai? Ni edliwiodd neb eu graddau i David Charles Davies a Thomas Charles Edwards.

Sut, tybed, y mae i ni godi'r safon ynglŷn âg addysg gyffredinol ein pregethwyr? Yn gyntaf oll, trwy orfodi pob ymgeisydd i fyned trwy brawf lled galed o'i *wybodaeth gyffredinol* cyn iddo ddechreu ei "flwyddyn brawf." Ar hyn o bryd, gan belled ag y gwn i, fe all y mwyaf anwybodus ac annisgybledig o feddwl, os oes ganddo fath o ddawn ymadrodd, esgyn i bulpudau led gwlad, heb unrhyw brawf yn y byd o'i wybodaeth o wyddorau cyffredin. Fe ddylai fod gan y Cyfundeb Methodistaidd—ac â'u trefn, neu yn hytrach eu hannhrefn, bresennol hwy, y mae a wnelof yn bennaf ar hyn o bryd—arholiad o dan nawdd y Gymdeithasfa er profi gwybodaeth gyffredinol pob ymgeisydd. Y mae gan y Cyfundeb arholiad felly mewn gwybodaeth Fiblaidd a diwinyddiaeth, ac ni cheir trefn o'r annhrefn a welir yn awr heb ddechreu yn y gwaelod. Gwneler yr arholiad diwinyddol cyntaf yn llawer mwy anodd, a rhodder, ynglŷn âg ef, bapur neu ddau er profi gwybodaeth a dysg gyffredinol yr ymgeisydd. Y canlyniad fyddai, wrth gwrs, y gwrthodid llu mawr ar unwaith, pe gwnai'r arholwyr eu dyledswydd; ond tybed y byddai hynny'n drychineb enbyd? Onid yw y cyflenwad yn llawer iawn mwy na'r alwad yn y pulpud Methodistaidd heddyw? Fe ddywedodd William Roberts, Amlwch, mewn Sasiwn neu Gyfarfod Misol unwaith y byddai'n fendith i'r wlad pe na byddai i bregethwr arall godi am bum' mlynedd; ac ni "chodwyd" yr un, ym Môn beth bynnag, o fewn y pum' mlynedd Pe cauid y drws am y pum' mlynedd nesaf, a mwy na hynny,—a rhoi cyfartaledd lled helaeth am golledion,—byddai gan y Methodistiaid lawer mwy o bregethwyr nag o bulpudau ar eu cyfer wed'yn.

Wedi i'r ymgeisydd basio'r "arholiad dwbl" hwn, a chael ei dderbyn ar brawf gan ei Gyfarfod Misol, dylai gymeryd, neu gael, y cyfleustra goreu'n ei gyrraedd i fyned ymlaen gyda'i addysg. Nis gwn a ystyrir y "flwyddyn brawf" yn drefn gysegredig ymysg y Methodistiaid ai peidio. Bum drwyddi fy hunan, a gwn felly beth ydyw. Yr oll ddywedaf am dani yw mai cyfnod anffafriol iawn i ymgeisydd wneud cyfiawnder â'i addysg ydyw. Ai tybed na fyddai barn ei Ddosbarth ynghylch ei bregethu yn ddigon? Ymddengys i mi y byddai prawf pregethu yn y Dosbarth, a phrawf arholiadol dan nawdd y Cyfundeb, yn ddigon i alluogi Cyfarfod Misol i farnu a yw'r ymgeisydd yn deilwng i gael trwydded i bregethu a chynnorthwy arianol tuag at ei addysg. Diau y dylai fod, i raddau, ar brawf am flwyddyn neu ddwy wedi hynny, er gweled a ydyw'n defnyddio ei amser yn briodol ac yn cynnyddu mewn gwybodaeth a chymhwysterau ereill. Os na fydd ei

gynnydd yn foddhaol—ac hwyrach y dylai awdurdod mwy anibynnol na'r Cyfarfod Misol, megys Pwyllgor Addysg y Gymdeithasfa, benderfynu hyn—dylid cymeryd ei drwydded oddiarno, a'i hysbysu mai gwell yw iddo droi at orchwyl arall. Gellid gwneud hyn yn hawdd cyn i'r profiedydd fyned yn rhy bell ar ei yrfa bregethwrol i allu cychwyn yn ddidramgwydd mewn galwedigaeth arall. O dan y drefn bresennol y mae nifer fawr o ymgeiswyr yn cael eu derbyn yn hwylus ac yn hawdd yn aelodau o'r Cyfarfod Misol, ac yna'n cael eu gadael i wneud fel y mynnont. Y canlyniad yw fod llawer o honynt, o ddiogi neu ddiffyg gallu, yn colli tir, ac o'r diwedd yn methu cael digon o gyhoeddiadau i'w cynnal. Y mae nifer y rhai anghymwys a di-alw-amdanynt ymhlith y Methodistiaid heddyw yn ddianrhydedd dirfawr i'r Cyfundeb, a meddalwch y Cyfarfodydd Misol sy'n gyfrifol am y gwarth. Fel y dywedais, rhaid dechreu ad-drefnu yn y gwaelod. Nid yw o un diben ceisio adeiladu ar sylfaen bwdr, ac ni ddiwygir yr Arholiad Cymdeithasfaol a threfniadau'r Coleg Diwinyddol i bwrpas heb wneud trefn yn gyntaf o'r annhrefn adfydus sy'nglŷn â derbyn pregethwr yn aelod o Gyfarfod Misol.

Nid oes dim ynglyn â'r cwestiwn hwn o fwy o bwys na gyrfa'r pregethwr ieuanc yn y Coleg Cenedlaethol, neu'r Athrofa, ar ei ffordd i'r Coleg Diwinyddol. Erbyn hyn y mae'r ymgeiswyr am y weinidogaeth i gyd o'r bron yn arfaethu, beth bynnag, treulio peth o'u hamser yn un o'r Colegau Cenedlaethol, a'r goreuon o honynt a'u llygaid ar radd y Brifysgol. I'r pregethwr ei hunan, ac i'w urdd, y mae cyfnod ei lafur yn un o golegau'r Brifysgol, a'r defnydd a wna o hono, yn bwysig dros ben. Y peth cyntaf y dylai pob ymgeisydd a'i lygaid ar y Coleg Cenedlaethol fod yn sicr o hono cyn myned yno ydyw ei allu i fedru dilyn cwrs athrofaol i bwrpas. Ar ol rhai blynyddoedd, bellach, o sylwi ac o ystyried, fy marn ostyngedig i yw mai anfantais, oddigerth mewn ychydig iawn o eithriadau, ydyw i bregethwr ymrestru'n un o'r Colegau Athrofaol, os nad ydyw, ar gychwyn ei yrfa, un ai wedi myned trwy'r *matriculation* neu yn debyg o allu gwneud hynny ar ddiwedd ei flwyddyn gyntaf. Dyma ystyr un o'r rheolau a osodwyd yn ddiweddar gan Bwyllgor y Bala ger bron y Gymdeithasfa. Y mae gormod o weiniaid o lawer wedi eu derbyn i'r Colegau Cenedlaethol yn y blynyddoedd diweddaf, er mawr niwed iddynt eu hunain ac i'w galwedigaeth. Pe buasent yn aros mewn ysgol dda, nes meddu digon o wybodaeth ac o ddisgyblaeth meddwl i allu dilyn cwrs o ddiwinyddiaeth, a myned o'r ysgol yn syth i'r Coleg Diwinyddol, buasai eu paratoad ar gyfer eu gwaith yn llawer mwy effeithiol. Y mae'r hwn sy'n dilyn cwrs yn y Coleg Cenedlaethol o hirbell yn gwastraffu ei amser a'i adnoddau, ac yn aml yn wrthrych dirmyg ei gydefrydwyr. Y mae'r pulpud yn dioddef pan y daw'r efrydwyr lleygol i ddiystyru'r pregethwyr sy'n yr un coleg a hwy. Ac nis gall neb sy'n adnabod y Colegau Cenedlaethol wadu fod anallu rhai a diogi ereill o'r efrydwyr pregethwrol wedi peri i lawer un o'u hamgylch ddirmygu a "chablu'r urdd." Gwell yw i'r anghymwysion hyn geisio'u haddysg mewn mannau llai cyhoeddus. Caredigrwydd â hwy eu hunain, ac â'r weinidogaeth, fyddai i'r awdurdodau cyfundebol benderfynu lle eu haddysg, a'u gorfodi i fyned i'r lle hwnnw.

Wrth gwrs, yr hyn sy'n gwanychu awdurdod "yr awdurdodau" yn hyn o beth ydyw'r cynhorthwy ariannol truenus a estynir i'n pregethwyr ieuainc. Hawdd yw deddfu a dweyd beth ddylai fod yn ddeddf, ond rhaid cofio fod y rhan fwyaf o'n pregethwyr ieuainc o dan rwymau i chwilio, yn ystod tymor eu haddysg, am y man mwyaf cyfleus i gael "cyhoeddiadau." Dyma'r p'am y mae Bangor, er engraifft, yn llawer mwy manteisiol na'r Bala neu Glynnog. Ni fuasai gan lawer un ddylai fod yn Adran 'Ragbarotoawl' y Bala neu yng Nghlynnog unrhyw wrthwynebiad i fyned yno, pe b'ai cystal cyfle yno am gyhoeddiadau da ag sydd ym Mangor. Os ydyw y Cyfundeb Methodistaidd o ddifrif am ddyrchafu addysg eu gweinidogion, dylai "casgliad cynhorthwy'r efrydwyr" fod yn un o gyfryngau pennaf eu haelioni. Y mae'r Anibynwyr a'r Bedyddwyr, er engraifft—er y clywir cwyno dirfawr yn eu plith hwy—yn gwneyd llawer gwell chware teg â'u myfyrwyr yn nhymor eu haddysg na'r Methodistiaid. Nid oes dim sy'n llesteirio llwyddiant yr efrydydd yn fwy na'i orfodi i bregethu bob Saboth y caiff gyfle yn ystod tymor y coleg. Y mae dydd Llun, gan amlaf, yn ddydd difudd iddo—y mae lludded 'y daith' yn aros; ac y mae dyddiau Gwener a Sadwrn yn aml yn ddyddiau o bryder sy'n lladd ysbryd gwaith ar gyfer dosbarthiadau'r Coleg. Nid oes angen son am yr amser a gymer llawer un i 'baratoi' ar gyfer y Saboth, pan y dylai gael llonydd i ddilyn ei wersi, nac ychwaith am y niwed i iechyd—niwed sydd wedi profi'n angeu i rai cyn hyn,—sy'n dilyn teithio i leoedd anghysbell ar bob tywydd, a chysgu mewn gwely llaith ambell dro am ben hynny. Hawdd, meddaf eto, yw beio'r pregethwr ieuanc am esgeuluso'i waith athrofaol, ond edryched y sawl sy'n beio a ydynt eto wedi gwneud a allent i osod y pregethwr ieuanc mewn safle anrhydeddus i ddilyn ei efrydiau. Dylai 'r myfyrwyr hynny sy'n gymwys i fanteisio ar y Coleg Cenedlaethol dderbyn digon i'w cynnal yno heb orfod myned allan i bregethu yn ystod tri thymor y coleg.

Ni pherthyn i mi, hyd yn oed pe b'ai gennyf hamdden, ddweyd llawer am gwrs diwinyddol yr efrydydd. Y mae troi Athrofa'r Bala yn athrofa ddiwinyddol hollol wedi dyrchafu llawer ar syniadau'r cyhoedd ynghylch natur a safon addysg ddiwinyddol deilwng. Yr hyn sydd bwysig, i'm tyb i, o flaen popeth ar hyn o bryd ydyw ad-drefnu tua'r gwaelod,—cychwyn ein pregethwyr yn briodol. Ond yn union fel y mae cynnydd addysg yn gofyn am safon uwch o wybodaeth a diwylliant cyffredinol yn y weinidogaeth, felly hefyd y mae'n gofyn am safon uwch ynglŷn âg addysg ddiwinyddol. Y mae rhai gwŷr da'n gwrthwynebu gorfodi pob un sydd wedi graddio'n y celfau i fyned am dymor i'r Coleg Diwinyddol. O'm rhan fy hun, mi bleidleisiwn i dros orfodi pob graddedig i fyned i'r Coleg Diwinyddol, os na fydd wedi graddio—fel y gellir gwneud mewn rhai mannau—mewn diwinyddiaeth. A hynny am y rheswm nad ydyw'r Arholiad Cymdeithasfaol ond prawf bychan, a bychan iawn, o wybodaeth ddiwinyddol neb. Mi lwyddais i i basio hwnnw, a rhyfygus fyddai i mi honni 'mod i'n gwybod llawer o ddiwinyddiaeth. O'r ochr arall, chware plant i un sydd wedi derbyn addysg ddiwinyddol, yng ngwir ystyr y gair, ydyw ymgodymu â'r arholiad hwnnw. Aeth fy mrawd trwy gwrs caled o addysg ddiwinyddol yng Nghaergrawnt, a graddiodd mewn diwinyddiaeth.

Safodd yr Arholiad Cymdeithasfaol heb ddarllen llyfr ar ei gyfer, a dengys hyn, heb i mi gofnodi geiriau o'i eiddo, ei farn am werth y prawf. Dylai arholiad terfynol Coleg y Bala, neu unrhyw arholiad diwinyddol safonol, gael ei gyfrif yn ddigon o brawf ar bregethwr heb ei orfodi i eistedd i lawr i bapurau tra elfenol yr Arholiad Cymdeithasfaol. Gormod, hwyrach, fyddai gwneud arholiad terfynol y Bala ar unwaith yn brawf gorfodol ar bawb, ond yn sicr ni fydd y safon yr hyn y dylai fod hyd nes y daw rhywbeth tebyg i hynny'n ddeddf. Y mae anhawsterau dirfawr ar y ffordd, ond ni ddylai unrhyw anhawster sefyll rhyngom a gosod nôd uchel, gosod safon teilwng o'n blaen; a fy nghred ddiysgog i yw na fydd addysg y weinidogaeth wedi cyrhaedd y nod hyd nes y bydd pob pregethwr, cyn ei ordeinio, wedi bod am dair blynedd, o leiaf, yn un o golegau y Brifysgol, ac wedi hynny am ddwy neu dair yn y Coleg Diwinyddol.

W. LEWIS JONES.

*Bangor.*

---

## DEDDF PRIODASAU, 1898.

AMCAN y Ddeddf a adwaenir wrth yr enw uchod ydyw gwneud i ffwrdd â'r angenrheidrwydd i gofrestrydd swyddogol fod yn bresennol mewn Capelau Ymneillduol ar adeg gweinyddiad priodasau. Er y flwyddyn 1836, pan y gwnaed yn bosibl i briodasau gael eu gweinyddu mewn Capel Ymneillduol, y mae y gyfraith wedi gofyn am i Gofrestrydd fod yn bresennol, i weled fod y briodas yn cael ei gweinyddu yn unol â'r gyfraith, ac hefyd i'w chofrestru. O'r pryd hwnnw hyd Ebrill 1af y flwyddyn hon nid oedd modd i briodas gael ei gweinyddu mewn unrhyw Gapel Ymneillduol yn Lloegr a Chymru (gyda'r eithriad o "Synagogau" yr Iuddewon, a "Thai Cwrdd" y Crynwyr) heb gael y Cofrestrydd yno.

Amlygwyd anfoddlonrwydd mawr i hyn o bryd i bryd. Tarddai yr anfoddlonrwydd yn bennaf o'r ffaith fod y gyfraith yn hyn yn gwneud gwahaniaeth rhwng Ymneillduwyr ac Eglwyswyr. Yn Eglwys Loegr gweinyddir priodasau heb fod un Cofrestrydd Swyddogol yn bresennol heblaw y clerigwr, ond nid oedd y gweinidog Ymneillduol yn cael gwneud hynny. Galwyd sylw at yr anghyfiawnder yma lawer gwaith, ac mewn Adroddiad Dirprwyaeth Frenhinol a benodwyd yn 1866 i wneud ymchwiliad i Ddeddfau Priodas y Deyrnas Gyfunol, fe gawn gymhelliad ar fod gweinidogion yr Efengyl perthynol i bod enwad yn ddiwahaniaeth i feddu hawl i dderbyn rhybudd o briodas, i roddi trwyddedau, i weinyddu ac i gofrestru priodasau fel eu gilydd. Cyhoeddwyd Adroddiad y Ddirprwyaeth hono yn 1868. Ond ni wnaed dim tuag at roddi y cymhelliad yna o'i heiddo mewn gweithrediad am chwarter canrif wedi hynny. Dygwyd mesurau ger bron y Senedd

droion yn cynnyg gwella y gyfraith yn y cyfeiriad yma, ond ychydig o sylw a roddwyd i'r cyfryw, hyd nes i Mr. Perks, yr Aelod Seneddol dros ran o Swydd Lincoln, yr hwn sydd leygwr parchus a dylanwadol perthynol i'r Cyfundeb Wesleyaidd, a phrif gychwynydd Trysorfa fawr yr 20fed Ganrif, gymeryd y mater mewn llaw. Yn y flwyddyn 1893 dygodd Mr. Perks fesur ar hyn ger bron Tŷ y Cyffredin, ac yn y flwyddyn honno penodwyd Dirprwyaeth Arbennig *(Select)* i wneuthur ymchwiliad i'r cwestiwn. Y gwahaniaeth rhwng Dirprwyaeth 1893 a Dirprwyaeth 1866 oedd fod honno yn cymeryd sylw o'r holl gwestiwn o Briodas a'r cyfreithiau gwahanol ynglŷn â phriodas trwy yr holl Deyrnas Gyfunol, tra y cyfyngwyd sylw Dirprwyaeth 1893 i'r pwynt neilltuol o weithrediad y gyfraith gyda golwg ar Briodasau mewn Capel Ymneillduol yn Lloegr a Chymru a phresenoldeb y Cofrestrydd yn y priodasau hynny. Ceisiwn roddi yn fyr

SEFYLLFA PETHAU FEL YR OEDDYNT,

yn ol fel y daethant i'r golwg yn ystod yr ymchwiliad hwnnw. Holl nifer y priodasau yn Lloegr a Chymru yn 1891 oedd 226,526. O'r nifer yna gweinyddwyd 158,439 yn ol defodau Eglwys Loegr, a 68,087 fel arall. A chymeryd y priodasau bob yn fil yn y blynyddoedd 1851, 1871, 1891 ac 1896, yr oeddynt fel y canlyn :—

| | 1851. | 1871. | 1891. | 1896. |
|---|---|---|---|---|
| Eglwys Loegr | 849 | 761 | 699 | 687 |
| Capelau Ymneillduol | 62 | 100 | 118 | 120 |
| Capelau Pabyddol | 42 | 40 | 42 | 41 |
| Synagogau yr Iuddewon a Thai Cwrdd y Crynwyr | 2 | 2 | 5 | 6 |
| Swyddfa y Cofrestrydd | 44 | 97 | 136 | 146 |

Dengys y ffigyrau hyn fod nifer y priodasau yn Eglwys Loegr wedi lleihau yn fawr yn ystod y 40 mlynedd diweddaf, ac o'r ochr arall fod nifer priodasau Ymneillduol wedi mwy na dyblu, a'r priodasau yn Swyddfa'r Cofrestrydd, h.y. rhai heb un gwasanaeth crefyddol, mwy na threblu. Y mae y lleihad a'r cynnydd yn ymddangos yn gyson a pharhaus. Yn 1881 y cyrhaeddodd y priodasau Pabyddol eu ffigiwr uchaf, 45 y fil. Erbyn 1896 nid oeddynt ond 41 y fil. Holl nifer y priodasau mewn Capelau Ymneillduol yn 1890 oedd 25,703, ac yn 1891 yr oeddynt yn 26,642.

Er y cynnydd a ddangosir uchod yn nifer y priodasau Ymneillduol, y mae y nifer eto ymhell iawn o fod i fyny â chyfartaledd Ymneillduwyr i Eglwyswyr yn Lloegr a Chymru.

Yn ystod yr ymchwiliad a wnaed yn 1893 caed allan amryw resymau paham y mae nifer y priodasau mewn Capelau Ymneillduol gymaint yn llai na'r hyn fuasid yn ddisgwyl yn ol nifer yr Ymneillduwyr sydd yn y deyrnas. Yn un peth, yr oedd mwy o lawer o ffurfiau i fyned trwyddynt mewn trefn i gael priodi mewn Capel nag sydd ynglŷn â phriodas yn yr Eglwys. Hefyd y mae y gôst o briodi yn yr Eglwys yn llawer îs, ac y mae yr anghen am bresenoldeb y Cofrestrydd yn y Capel yn tueddu i ddarostwng gwerth gwasanaeth gweinidog Ymneillduol mewn priodas yng ngolwg y cyhoedd.

Gyda golwg ar y ffurfiau, yn yr Eglwys y mae y Clerigwr yn gallu gwneud pob peth anghenrheidiol, tra yn y Capel rhaid rhoddi rhybudd i'r Cofrestrydd Dosbarthiadol (*Superintendent Registrar*), rhaid sicrhau y drwydded oddiwrtho pan y daw yr amser i fyny, rhaid sicrhau presenoldeb y Cofrestrydd Lleol, ac hefyd wneud pob trefniadau gyda'r Gweinidog fydd i weinyddu yn y briodas. Nid yw yn beth anghyffredin fod yn rhaid i Ymneillduwr sydd am briodi yn ei Gapel fyned un diwrnod at y Cofrestrydd Dosbarthiadol i roddi rhybudd, diwrnod arall ato i gaol y drwydded, teithio filldiroedd lawer ddiwrnod arall at y Cofrestrydd Lleol i sicrhau ei bresenoldeb yntau, heblaw trefnu gyda'i Weinidog ei hunan.

Am y gôst drachefn, yr holl draul yn yr Eglwys am briodas drwy ostegion ydyw 3s. 6c., ac fe all y Clerigwr, os ewyllysia, wneud i ffwrdd â'r rhai hynny. Nid oes *raid* codi tâl o gwbl yn yr Eglwys. Ond nid yw yn bosibl i briodas gael ei gweinyddu mewn Capel, heb i hynny gostio 7s. o leiaf,—5s. i'r Cofrestrydd, 1s. am y rhybudd, a 1s. am y *Certificate*. Gall y Gweinidog Ymneillduol roddi ei wasanaeth yn rhad, ond er iddo wneud hynny costia 7s. i briodi mewn Capel, tra os dewisa y clerigwr roddi ei wasanaeth yn rhad, ni chostia ddim i briodi yn yr Eglwys. Crybwyllwyd yn yr ymchwiliad am un clerigwr yn Bethnal Green, Llundain, yr hwn a roddai hysbysiad allan ei fod yn barod i briodi pawb a ddeuai ato yn rhad ac am ddim. Canlyniad hyn oedd fod priodasau yn heidio i'w Eglwys. Priododd gymaint a 1400 o gyplau mewn un flwyddyn. Ei amcan ef wrth wneud hyn oedd i bleidio moesoldeb. Yr oedd wedi cael allan fod llawer yn cydfyw â'u gilydd heb briodi, yn unig oherwydd y draul oedd ynglŷn â phriodi. Yn awr dyma beth nas gallai un gweinidog Ymneillduol ei wneud. Y mae y gyfraith ar ei ffordd.

Trachefn yr oedd y ffaith y rhaid cael Cofrestrydd yn bresennol mewn Capel ar adeg gweinyddiad priodas, pryd nad oedd angen am neb ond y clerigwr yn yr eglwys, yn tueddu i iselhau gwaith y gwasanaeth ymneillduol yng ngolwg y cyhoedd. Nid oedd yn beth anghyffredin i glerigwyr a chiwradiaid ddefnyddio hyn fel un engraifft o israddoldeb gweinidogion ymneillduol yn ngolwg y gyfraith, ac y maent wedi myned mor bell cyn hyn a threio perswadio pobl nas gellir priodi yn iawn ond yn yr eglwys!

Cyfeiriwyd hefyd yn ystod yr ymchwiliad at y ffaith fod holl drefniadau gweinyddiad priodasau o'r tu allan i eglwys Loegr yn sefyll mewn cysylltiad mor agos â gweinyddiad Deddfau y Tlodion yn y deyrnas, fel y teimlid mewn mannau fod hyn yn taflu rhyw fath o ddirmyg ar briodasau o'r tu allan i'r Eglwys. Y mae yn digwydd yn aml fod swyddfa'r Cofrestrydd Dosbarthiadol i'w chael yn un o ystafelloedd Tlotty yr Undeb, a rhaid i enw y sawl sydd am briodi mewn Capel, os nad yw yn cymeryd allan drwydded gostus, fod yno yn grogedig am dair wythnos cyn y caiff wneud hynny. Tystiolaethai un ei fod adeg ei briodas yn byw yn Cheriton, gwlad yr Haf, ac mai y peth cyntaf fu raid iddo ef ei wneud tuag at gael hawl i briodi yn ei Gapel oedd myned i'r Tlotty yn Wincanton a rhoddi rhybudd yno i'r Cofrestrydd Dosbarthiadol, a hwnnw hongian ei enw am dair wythnos yn y Tlotty; ac yr oedd ei ddarpar-wraig yn byw yn Wells, a bu raid

iddi hithau, druan, fyned ar yr un neges i Dlotty Wells, fel ag i'w henw hithau fod yn grogedig yno am dair wythnos. Fel yna yr oedd y briodas ymneillduol yn cael ei dwyn i gysylltiad agos iawn â'r Tlotty, ac nid yw yn beth i ryfeddu ato, os gellid osgoi hynny trwy fyned i'r Eglwys i briodi, fod llawer yn dewis gwneud hynny. Pe digwyddai i rai oherwydd rhyw amgylchiadau fod yn awyddus i briodi yn swyddfa'r Cofrestrydd mewn lleoedd felly, byddai raid iddynt fyned i'r Tlotty i briodi.

Ond er yr holl anfanteision hyn i gyd y mae nifer fawr, a nifer gynnyddol, o flwyddyn i flwyddyn, fel y gwelwyd uchod, yn priodi o'r tu allan i Eglwys Loegr. Pa fodd bynnag, wedi iddynt benderfynu gwynebu yr anfanteision hyn, y maent yn fynych yn cael eu rhoddi i anghyfleusdra mawr, ac yn cyfarfod a siomedigaethau chwerwon, wrth wneud hynny. Ar y cyfan y mae y Cofrestrwyr yn gwneud yr hyn oll a allant i gyfarfod â chyfleusdra y cyhoedd. Ond y mae eu gallu yn derfynol; a pha mor ewyllysgar bynnag y byddont, y mae yn anhawdd iawn i un fydd a gofal dosbarth gwasgarog arno (ac y mae llawer o'r cyfryw), ac un sydd yn fynych yn swyddog elusennol heblaw cofrestrydd, i gyfarfod a chyfleusdra y cyhoedd. Weithiau y mae ganddo dair neu bedair o briodasau yr un diwrnod, ac, o anghenrheidrwydd rhaid i'r naill aros wrth y llall. Ac y mae rhai Cofrestrwyr hefyd yn anffyddlon i fod yn bresennol yn y Capel ar yr awr benodedig. Y mae priodasau wedi gorfod aros i ddisgwyl am oriau meithion am y Cofrestrydd, ac weithiau wedi gorfod dychwelyd adref, a'r briodas ei thaflu i ddiwrnod arall. Nis gellir mesur y siomedigaeth a achoswyd drwy ymddygiad fel hyn. Weithiau bu y siomedigaeth o natur fwy chwerw. Adroddai Dr. Waller, ysgrifennydd Cynhadledd y Wesleyaid, am un achos pryd yr anfonodd y Cofrestrydd un arall i weithredu yn ei le. Aed trwy y gwasanaeth, a chofrestrwyd y briodas ar derfyn y gwasanaeth fel arfer, a dychwelodd pawb adref gan feddwl fod popeth yn iawn. Fisoedd ar ol hynny, wedi i'r cofrestriad ddyfod i sylw y Cofrestrydd Cyffredinol, dyma rybudd oddiwrtho i'r partïon nad oeddynt wedi eu priodi, fod y cofrestrydd wedi anfon un yn ei le heb fod yn meddu hawl i weithredu. Y canlyniad fu iddynt orfod cymeryd eu priodi eilwaith yn swyddfa'r Cofrestrydd, ac ymhen mis wedi hynny ganwyd eu cyntafanedig, ac, yn ol y gyfraith, nid oedd hwnnw yn blentyn cyfreithlon!

## YR ANHAWSDERAU AR FFORDD CAEL NEWID Y GYFRAITH.

Y prif anhawsder ar ffordd cael newid y gyfraith oedd y perygl na byddai i gofrestriad priodasau fod mor gywir ac effeithiol drwy fabwysiadu un gyfundrefn arall fyddai yn gwneud i ffwrdd â phresenoldeb y Cofrestrydd. Addefa pawb fod yn bwysig iawn i briodasau gael eu cofrestru yn briodol, a dadleuai y Cofrestrydd Cyffredinol a'i gynorthwywyr, y cofrestrwyr dosbarthiadol a'r cofrestrwyr lleol, y byddai cywirdeb y cofrestriadau yn cael ei beryglu drwy ymddiried y gwaith i weinidogion Ymneillduol. Y sail oedd ganddynt dros gredu hyn oedd yr amherffeithrwydd mawr sydd yn nghofrestriadau Clerigwyr Eglwys Loegr. Tystiai y Cofrestrydd Cyffredinol yn 1867 mai cofrestrwyr

gwael iawn oedd y clerigwyr. "Ecclesiastics are bad registrars, and the numerous and extraordinary mistakes they make, rendering their register-books of much diminished value as public records, are marvellous." Nid oes hanes nemawr well iddynt ar ol hynny. Y mae y gwallau yn eu cofrestriadau i'w cyfrif wrth y miloedd. Yr oedd un o'r tystion gerbron y Ddirprwyaeth yn dweyd iddo gael 14,266 o wallau yn nghofrestriadau 75,749 o briodasau. Yr oedd y tystiolaethau mor gryfion ar y pen yma fel y dadleuai amryw mai yr unig welliant boddhaol yn y gyfraith fyddai myned a'r Cofrestrydd swyddogol i mewn i'r Eglwysi, ac nid ei gymeryd allan o'r Capelau. Ond pan y gofynid y cwestiwn a oedd yn debyg y gellid dwyn hyn oddiamgylch atebid yn ddieithriad nad oedd.

O'r Iwerddon a Scotland y daeth gwawr yn y cysylltiad hwn. Yno ceid fod Gweinidogion Ymneillduol yn gweinyddu priodasau heb help cofrestrydd, ac yr oedd y tystiolaethau swyddogol oddi yno yn dangos fod y gwaith o gofrestru yn cael ei wneud yn foddhaol. Yn yr Iwerddon, er y flwyddyn 1863, y mae yr holl Weinidogion Ymneillduol —dyna yr enw arnynt ym Mhrydain Fawr, yn yr Iwerddon nid oes *Ymneillduwyr*—yn gallu priodi rhai heb gofrestrydd, ac y mae eu gwaith yn gwneud hynny am y 30 mlynedd diweddaf wedi profi yn hollol foddhaol. Yn Scotland gellir gweinyddu priodasau mewn unrhyw fan, ac ar unrhyw awr, ac, er y caniata y gyfraith i'r partïon sicrhau cofrestrydd os dewisant, anaml iawn y gwneir hynny, ac y mae y cofrestriad yn cael ei wneud drwy fod y gweinidog fydd yn gweinyddu yn y briodas yn cael gan y rhai fydd yn briodi, a'r tystion o'r briodas, i arwyddo *schedule* yn cynnwys pob manylion am y briodas, a danfon y daflen honno i'r Cofrestrydd. Tystiwyd fod y *system* yma yn gweithio yn rhagorol yn Scotland.

I'r un cyfeiriad ceid profion fod priodasau ymhlith y Crynwyr yn Lloegr yn cael eu cofrestru heb y Cofrestrydd swyddogol, a bod y gwaith yn cael ei wneud yn berffaith. Tystiai swyddogion y Llywodraeth fod cofrestrau y Crynwyr nid yn unig yn cael eu cadw yn gywir, ond yn nodedig o brydferth.

Dangoswyd felly, gan nad pa mor wallus y gwneir y gwaith gan glerigwyr Eglwys Loegr, y gall gael ei gyflawni yn hollol foddhaol gan Weinidogion Ymneillduol, a'i fod yn cael ei gyflawni yn foddhaol yn yr Iwerddon ac yn Scotland ac hefyd yn Lloegr yn yr unig achosion lle y caniateir hynny gan y gyfraith, sef gyda'r Crynwyr a'r Iddewon. Lled awgrymwyd hefyd fod diofalwch y Clerigwyr i'w briodoli i'r ffaith nad oes neb yn meddu hawl i'w galw i gyfrif. Yr oedd y Cofrestrydd Cyffredinol yn awyddus iawn i bawb ddeall nad oes ganddo ef un math o awdurdod arnynt!

Anhawsder arall ag y teimlid oddiwrtho oedd fod rhai Cyfundebau Ymneillduol heb weinidogion, a chododd y cwestiwn pwy oedd i ofalu am weinyddiad a chofrestriad priodasau yng Nghapelau y Cyfundebau hynny? Dyma a ddygodd y "person awdurdodedig" y cawn gyfeirio ato eto i fod. Os oes cyfundebau heb weinidogion, ni raid iddynt fod heb "bersonau awdurdodedig."

Bu y ffaith fod rhai cyfundebau heb un math o Awdurdod Canolog Llywodraethol perthynol iddynt hefyd yn rhwystr. Yr oedd mesur o

flaen y Senedd yn 1891, ac yr oedd y Llywodraeth y pryd hwnnw, er mai Toriaidd ydoedd, yn barod i'w basio ond ei gyfyngu i gyfundebau yn meddu ar Awdurdod Canolog felly.

### CYMHELLION Y DDIRPRWYAETH.

Yr oedd y Ddirprwyaeth yn hollol unfrydol yn eu hadroddiad, ac ymhlith pethau ereill yn cymhell

1. Gwneud i ffwrdd â'r orfodaeth i gael Cofrestrydd Swyddogol yn bresennol ar weinyddiad priodasau mewn Capelau Ymneillduol.
2. Fod y gweinidog, neu y person fyddo yn gweinyddu y briodas, i'w chofrestru mewn llyfrau pwrpasol—y llyfrau i'w darparu ar draul y Llywodraeth.
3. Fod y Cofrestrydd Cyffredinol i gael ei foddloni fod darpariaeth briodol i sicrhau cadwraeth y Llyfrau Cofrestru.
4. Fod y draul ynglŷn â phriodi mewn capelau i'w dwyn i lawr hyd y gellir i'r un swm ag a delir yn yr Eglwysi, a bod y tâl i'r Cofrestrydd swyddogol o 10s. am fod yn bresennol mewn priodas trwy drwydded a 5s. mewn priodas heb drwydded i beidio.

### Y DDEDDF NEWYDD A'I DARPARIADAU.

Er i'r Ddirprwyaeth orphen ei gwaith yn 1893, bu raid aros hyd 1898 cyn i ddim pellach gael ei wneud. Yn 1898 dygodd Mr. Perks ei Fesur drachefn ger bron Tŷ y Cyffredin, a llwyddodd i gael ail-ddarlleniad iddo. Gobaith gwan oedd myned ddim ymhellach gyda'r Mesur hyd tua diwedd y Senedd-dymor. Ryw noson yr oedd Mesur arall ag yr oedd y Llywodraeth yn awyddus iawn i'w basio—Mesur Bywiolaethau Eglwys Loegr—ger bron y Tŷ, ac yr oedd dau neu dri o'r Aelodau Cymreig yn ei wrthwynebu yn benderfynol, adran ar ol adran, a'r Llywodraeth yn methu symud nemawr ddim ymlaen gydag ef. Daeth i feddwl Mr. Balfour i gytuno â'i wrthwynebwyr, ac y mae yr Aelodau Cymreig, ac un neu ddau ereill oeddynt yn cymeryd rhan flaenllaw gyda hwy yn gwrthwynebu y Mesur hwnnw, yn addaw gadael iddo fyned trwodd os byddai i'r Llywodraeth ymrwymo i basio y Mesur hwn yn ymwneyd â phriodasau Ymneillduol. Tarawyd y fargen, a nos drannoeth aeth Mesur y Bywiolaethau drwy y Tŷ mewn byr amser, a chyn diwedd y Senedd-dymor aeth y Mesur Priodasau drwodd hefyd. Yn y modd yma y cymerwyd y cam cyntaf trwy Ddeddf Seneddol i symud yr anghyfiawnder yma ag yr oedd Ymneillduwyr y deyrnas wedi bod yn dioddef yn rhy dawel dano.

Gosodwn i lawr yn fyr ei brif ddarpariadau, fel y ceir hwy yn y Mesur ei hunan ac yn y Rheolau sydd wedi eu seilio arno gan y Cofrestrydd Cyffredinol.

1. O'r 1af o Ebrill, 1899, gellir gweinyddu priodasau mewn Capelau Ymneillduol heb bresenoldeb y Cofrestrydd, ym mhresenoldeb person fyddo wedi ei awdurdodi i hynny. Y mae y person hwn i'w awdurdodi drwy gael ei benodi gan Ymddiriedolwyr neu Gorff Llywodraethol y Capel, a rhaid i'r penodiad gael ei wneud yn driphlyg ar ffurfiau sydd i'w cael i'r amcan hwnnw oddiwrth y Cofrestrydd Cyffredinol. Wedi yr anfonir y penodiad felly i'r Cofrestrydd Cyffredinol, os bydd yn

foddhaol, fe dderbynia y "person awdurdodedig" yn ol un copi o ffurf ei Benodiad, a phob Llyfrau a chyfarwyddiadau angenrheidiol tuag at gyflawni ei waith.

2. Cyn y gall y Cofrestrydd Cyffredinol gymeradwyo penodiad y person awdurdodedig, rhaid iddo gael ei foddloni fod darpariaeth briodol wedi ei gwneud i sicrhau cadwraeth ddiogel y Llyfrau Cofrestru a'r papyrau ereill. Yn ol Rheolau y Cofrestrydd Cyffredinol y ddarpariaeth a'i boddlona ef fydd i bob Capel lle y gweinyddir priodasau yn ol y ddeddf feddu *Fire-proof Iron Safe* i gadw y Llyfrau. Rhaid i'r *gist* yma gael ei chadw yn yr adeilad lle y gweinyddir y briodas, a'r agoriad fod yn meddiant y person awdurdodedig.

3. Rhaid i bob priodas gael ei chofrestru *in duplicate*, ac y mae yr holl briodasau a weinyddir dan y ddeddf yma mewn capel i'w cofrestru yn unig yn y Llyfrau perthynol i'r capel hwnnw. Ni cheir dan unrhyw amgylchiadau gofrestru priodas mewn llyfrau perthynol i gapel arall heblaw y capel y gweinyddir y briodas ynddo.

4. Y mae gan y person awdurdodedig am un capel hawl i weinyddu *a chofrestru* priodas mewn unrhyw gapel arall o fewn terfynau y Dosbarth Cofrestriadol y mae ef yn perthyn iddo, h.y. yn y cyffredin o fewn terfynau Undeb y Tlodion. Gall "person awdurdodedig" perthynol i un o gapelau Blaenau Ffestiniog weinyddu mewn a chofrestru priodas yn un o gapelau Porthmadog, sydd o fewn yr un Dosbarth Cofrestriadol. Ond rhaid i'r cofrestriad gael ei wneud yn y Llyfrau perthynol i'r capel lle y bydd y briodas yn cymeryd lle.

4. Gellir penodi mwy nag un person awdurdodedig am yr un Capel. Da, o bosibl, fyddai penodi dau, fel y gallo un weithredu yn absenoldeb y llall. Nid yw hyn mor angenrheidiol, am y gall personau awdurdodedig o fewn yr un Dosbarth gymeryd lle eu gilydd. Lle y penodir mwy nag un, rhaid nodi allan pa un sydd i fod yn gyfrifol am y gist, cadwraeth y Llyfrau, ac am anfon ar ddiwedd pob chwarter gopïau o'r cofrestriadau am y chwarter i'r Cofrestrydd Dosbarthiadol.

5. Lle y byddo person awdurdodedig wedi ei enwi, a'r penodiad wedi ei gydnabod gan y Cofrestrydd Cyffredinol, ac os na bydd y rhai sydd i'w priodi wrth roddi y rhybudd arferol i'r Cofrestrydd Dosbarthiadol *yn rhoddi rhybudd hefyd* eu bod yn dymuno am i'r Cofrestrydd fod yn bresennol, bydd i'r briodas gymeryd lle hebddo.

6. Gall unrhyw weinidog weinyddu mewn priodas fel o'r blaen; nid yw y Ddeddf yn dwyn i mewn un gwahaniaeth gyda golwg ar hyn. Ond rhaid i bob priodas fod ym mhresenoldeb "person awdurdodedig," yr hwn yn unig sydd yn meddu hawl i'w chofrestru. Os na bydd y gweinidog fydd yn gweinyddu y briodas yn "berson awdurdodedig" am y capel lle y bydd y briodas yn cymeryd lle, neu ryw gapel arall o fewn yr un Dosbarth Cofrestriadol, rhaid iddo ofalu am berson felly i fod yn bresennol.

7. *Y Taliadau.*—Y mae y *fees* sydd i'w talu ynglŷn â phriodasau o dan y ddeddf yma fel y canlyn :—

(*a*) Priodas trwy Drwydded.

| | £ s. d. | £ s. d. |
|---|---|---|
| Am y Rhybudd .. .. .. .. | 0 1 0 | |
| Stamp ... ... ... ... ... | 0 2 6 | |

| | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| Am y *Certificate* ... .. ... .. | £0 | 1 | 0 | | | |
| Am y Drwydded ... .. .. .. | 1 | 10 | 0 | | | |
| Stamp .. .. .. .. ... | 0 | 10 | 0 | | | |
| | | | | 2 | 4 | 6 |
| (*b*) Priodas heb drwydded | | | | | | |
| Am y Rhybudd .. .. ... .. | 0 | 1 | 0 | | | |
| Am y *Certificate* ... .. .. .. | 0 | 1 | 0 | | | |
| | | | | 0 | 2 | 0 |

Yn ychwanegol at yr uchod, ym mhob man lle y mae Cofrestrydd yn y swydd sydd wedi ei benodi cyn y 12fed o Awst, 1898—dyddiad pasio y Ddeddf—rhaid talu i'r Cofrestrydd

| | £ | s. | d. |
|---|---|---|---|
| Am bob priodas trwy Drwydded.. .. .. .. | 0 | 6 | 6 |
| Am bob priodas heb Drwydded .. .. ... .. | 0 | 4 | 0 |

Math o iawn yw y ddau daliad olaf yma i'r Cofrestrydd ar gyfer y ffaith ei fod yn colli rhan o'i waith. O'r blaen yr oedd yn derbyn 10s. am fod yn bresennol mewn priodas trwy drwydded, a 5s. am briodas heb drwydded. Ni raid talu y symiau ychwanegol hyn mewn dosbarthiadau lle y mae y Cofrestrydd wedi ei benodi ar ol pasio y Ddeddf, nac ychwaith ond am ddeng mlynedd mewn dosbarthiadau ereill.

Hwyrach y dylid ychwanegu fod y rhybuddion am briodas i'w rhoddi yn hollol fel o'r blaen Nid oes gan y gweinidog na'r person awdurdodedig ddim i'w wneud ynglŷn â hyn. Hefyd rhaid i'r priodasau gymeryd lle mewn adeiladau sydd wedi eu cofrestru i'r amcan hwnnw, fel o'r blaen. Nid yw y Ddeddf yn cyffwrdd dim â hyn ychwaith.

Ceir llawer o fanylion ereill, a chyfarwyddiadau, yn y Rheolau sydd wedi eu tynnu allan gan y Cofrestrydd Cyffredinol. Dylai pob "person awdurdodedig" ymgydnabyddu â hwy fel ag i ddod yn hollol hyddysg ynddynt. Ni allwn fanylu arnynt yma

### DIFFYGION Y DDEDDF.

Deddf ydyw ag y mae ynddi lawer o ddiffygion.

1, Nid yw yn hwyluso dim ar ffordd Cofrestriad Capelau i weinyddu priodasau. Y mae yn costio £3 2s. 6c. i wneud hynny. Y mae y tâl yma yn llawer rhy uchel. Y mae Eglwysi a Chapelau Eglwys Loegr yn rhydd oddiwrth y taliad yma. Nid yw y Crynwyr ychwaith yn talu am gofrestru eu Tai Cwrdd hwy. Nid oes dim tâl am gofrestru adeiladau yn yr Iwerddon. Yn Scotland nid oes angen am gofrestru, gan fod y gyfraith yn caniatau priodi ym mhob man yno. Paham na fyddai cofrestriad adeilad yn lle i addoli yn ddigonol, a bod pob lle fyddo wedi ei gofrestru felly yn agored i briodasau gael eu gweinyddu ynddo? Hefyd y mae yn fynych yn digwydd fod capel newydd yn cael ei adeiladu yn lle un arall yn yr un ardal ac i'r un gynulleidfa. Ar bob cyfrif y mae yn anghyfiawn codi tâl o £3 am gofrestru y capel newydd. Fel y mae y ddeddf, rhaid talu hynny os na bydd y capel newydd o fewn yr un muriau a'r hen gapel.

2. Dylasai y ddeddf ddarpar fod y *Gist* Haiarn tuag at gadw yn ddiogel y Cofrestrau a'r papyrau swyddogol yn cael ei darparu ar draul

y Wladwriaeth. Y mae y Ddeddf yn gofyn i'r Llywodraeth roddi y Llyfrau yn rhad,—llyfrau perthynol i'r Llywodraeth ydynt,—a'r Llywodraeth ddylai ddarparu ar gyfer eu cadwraeth. Y mae gofyn i bob Capel, cyn y gall fyned i mewn am fanteision y ddeddf, bwrcasu cist haiarn *fire-proof* i gadw llyfrau perthynol i'r Llywodraeth yn dreth go drom, ac yn un na ddylid boddloni iddi.

3. Y mae y tâl i'r Cofrestrydd Dosbarthiadol am drwydded—30s.—yn llawer rhy uchel.

4. Dylesid hefyd fod wedi symud ymaith bob peth sydd yn awgrymu unrhyw gysylltiad rhwng priodasau a pheirianwaith Deddfau y Tlodion. Anrhydeddus yw priodas ym mhawb, ac ni ddylid caniatau yn hwy i'r swyddfa lle y dygir ymlaen waith y Cofrestrydd Dosbarthiadol fod yn y Tlotty, fel ag i orfodi Ymneillduwyr i hongian eu henwau am dair wythnos yn y Tlotty lle y mae y swyddfa felly.

5. Tra na ddylid cyfyngu yr awdurdod i weinidogion, oni ddylid cydnabod hawl gweinidog eglwys neu eglwysi i weinyddu a chofrestru priodasau yn y capel neu y capelau fyddont dan ei ofal, a hynny yn rhinwedd y ffaith ei fod yn weinidog iddynt, heb fyned drwy y ffurfiau gofynol ynglŷn â phenodiad y person awdurdodedig?

Ond, er y diffygion hyn ac ereill, y mae y Ddeddf yn sicr yn gam yn yr iawn gyfeiriad. Hyd y mae yn myned y mae yn unioni camwri ag y mae Ymneillduwyr wedi ei ddioddef yn rhy hir. Dylid gwneud defnydd mor gyffredinol o honi ag sydd yn bosibl. Ein diffyg fel Ymneillduwyr gyda Deddfau tebyg yw ein bod yn cadw llawer o swn nes eu cael, ac yna, os na ddigwyddant fod yn hollol yr hyn a ddymunem ni iddynt fod, ar ol eu cael, esgeuluso eu defnyddio. Mewn pa faint o fannau y mae Deddf y Claddu i bob pwrpas, yn llythyren farw? Defnyddir hynny gan yr Eglwyswyr fel un prawf fod y Cymry yn eu calonnau yn ymlynu wrth yr Eglwys Sefydledig. Felly hefyd gydag Adran Cydwybod ym Mesur Addysg 1870. Ai dyna fydd hanes y Ddeddf hon? Gobeithiwn nage. Bydd ei hanhawsderau yn llai wedi dechreu ei gweithio allan, ac fe geir gwella ei diffygion mewn amser. Hyn sydd sicr, mai ychydig o gydymdeimlad sydd gan y Swyddogion Cofrestriadol presennol â hi, ac ni fyddai dim yn well ganddynt hwy na chael udganu drwy y wlad nad oedd angen am dani, a dwyn fel prawf o hynny nad yw y wlad yn gwneud defnydd o honi. Ein gwaith ni fel Ymneillduwyr ydyw ymroi i'w gweithio, a gosod ein hunain felly ar well tir i ddadleu am iddi gael ei pherffeithio. Er dim na ddyger yn erbyn gweinidogion Ymneillduol y cyhuddiadau o ddiofalwch, anfedrusrwydd, ac anghywirdeb sydd mor nodweddiadol o Glerigwyr Eglwys Loegr yng nghyflawniad dyledswyddau cyffelyb.

JOHN WILLIAMS.

*Dolgellau.*

## JOHN RUSKIN A'I ATHRYLITH.

YN ei draethawd gorchestol ar athrylith Carlyle y mae Mazzini, yr hwn a debygai i Ruskin yn ehangder ei syniadau a chrefyddolder ei ysbryd, yn gwneud sylw sydd yn werth ei gofio. Dywed mai ei fwriad ef yw "rhoddi barn ar yr ysgrifennydd yn hytrach na'r ysgrifeniadau a briodolir iddo: i astudio y tueddiadau oedd yn llywodraethu meddwl yr awdwr yn hytrach na'r ffurf a'r wisg a roddid am y meddwl hwnnw." Ei reswm dros y dewisiad yw, fod "yr olaf o anrhaethol lai gwerth na'r cyntaf." Teimlwn fod hyn yn wirionedd a haeddai gael ei bwysleisio yn fwy aml. Mor arwynebol, fel rheol, yw ein hymchwiliadau. Ac felly mor gyfeiliornus yw ein casgliadau. Y peth mawr i'w geisio, yng nghynyrch yr ewyllys a'r meddwl, yw egwyddor. Y mae adegau ar brofiad y byd yn galw yn uwch nag adegau ereill am fod i bob dyfarniad ei sail mewn moesoldeb. Y mae y cyfeiliornad oddiwrth hyn yn ddyblyg. Un ydyw yr addoliad o safle ac o foddion. Y mae yr ymgrymwyr difarn hyn yn llawer lliosocach nag y tybir. Ac o bob cyfeiliornad, yr un matterol hwn yw y mwyaf gwrthun. Y llall yw addoliad o dalent ac athrylith. Y mae hwn yn codi yn uwch, ond nid yn ddigon uchel i beidio syrthio i'r amryfusedd o dderbyn yr ymddangosiad am y gwir. Ac y mae yn bosibl i'r naill neu y llall, ïe weithiau y naill a'r llall, fod yn amlwg, ac i'r gwir bersonoliaeth fod eto yn guddiedig. Oblegyd, wedi'r cwbl, y mae dyn yn fwy ei werth na meddyliau—y dyn gwirioneddol, er yn gyfyng ei gylch, na'r meddyliau goreu. Fel y dywed Herder, angen mawr yr oes yw yr ufudd-dod hwnnw i apeliadau cydwybod sydd yn rhoi bod i feddwl (nid meddyliau) crefyddol mawr a weryd yr oes o gaethiwed amheuaeth. Ië, ac nid amheuon diwinyddol yn gymaint, ond yr egwyddorion hynny y collir golwg arnynt ynghanol termau y gwahanol gredoau. Nid wyf yn sefyll fel delw-ddrylliwr. Nid oes angen, pe byddai grym yn hynny. Daw yr holl ddelwau i ddiwedd disyfyd pan y delo Duw a'i arch i'n calonnau. Y mae y ffaith yn ei hesbonio ei hun fod llawer o ddynion goreu ein byd yn gwir gredu yn Nuw, ac yn ei Fab Ef, ac eto yn dewis sefyll tu allan i hualau unrhyw Gredo Ymgorfforedig. Ac er i ni wahaniaethu oddiwrthynt yn y safle a gymerant, fel gwedd newydd ar y culni y mae arnynt gymaint o'i ofn, eto ein dyledswydd yw derbyn y dystiolaeth werthfawr o'r fan lle y daw—tystiolaeth sydd, o gymaint a hynny, yn fwy gwerthfawr. Y mae ffydd iach, ac y mae ffydd gwbl afiach. "Pa fudd yw, fy mrodyr,"—meddai Iago onest—"o dywed neb fod ganddo ffydd ac heb fod ganddo weithredoedd (ffydd y genau a'r llyfr): a ddichon ffydd ei gadw ef." Gwatwareb sanctaidd effeithiol, onite?

Yn ystyr eangaf a chywiraf y gair, cawn yn Ruskin "ŵr yn llawn o ffydd ac o'r Ysbryd Glân." A'n dymuniad yw ei gyflwyno i sylw y darllennydd fel un o'r gwroniaid hynny ag y mae ffydd yn eu cadw yn ddiogel mewn cylchoedd dieithr a newydd, ac yn y meddiant o alluoedd cryfion a dyheadau dyfnion.

Ganwyd John Ruskin yn y flwyddyn 1819, yn Llundain. Gellir yn ddiameu wneud gormod o ddylanwad amgylchiadau a digwyddiadau maboed ar ddadblygiad cymeriad. Ond nid doeth, o'r ochr arall, ydyw ei hollol ddibrisio. Nis gall Llundain—"y byd o fewn i'r byd"—lai na rhoddi ei delw ar bersonoliaeth gref. Meddyliwn am ei mawredd a'i phrysurdeb, cyfarfyddiad ynddi o'r tlodi mwyaf dygn a'r llawnder mwyaf moethus ar raddfa nas gwelir ei debyg mewn un man arall ar ddaear Duw, dyfnder ei chydymdeimlad yn ei gwneud yn lloches i'r euog a'r gwan, ei safle a'i hawdurdod trwy holl lysoedd y byd, ac yn arbennig ei chasgliad o'r meddyliau mwyaf disglaer a'r calonnau mwyaf mawrfrydig Dyma'r pethau sydd yn nerthu cydwybod. Ac er mai at Natur yr aeth Ruskin i chwilio am ysbrydiaeth ei fywyd, eto teimlwn fod adeg ei brentisiaeth, megys, yn Llundain, wedi gosod dyfnder i'w argyhoeddiadau a min i'w deimladau y fath na chawsai mewn un modd arall. Fel proffwyd a gweledydd yr oedd yn barod i argraffiadau o ba gyfeiriad bynnag y deuent. Yr oedd yn wir iawn am dano—

> "His heart is as a nerve o'er which do break
> The else unfelt oppressions of the earth."

Beunydd y gwirir y dywediad mai "y plentyn yw tad y dyn." Felly bu gyda Ruskin. Amlygodd ei dueddiadau yn foreu iawn. Pan yn 12 oed dechreuodd ei yrfa fel arlunydd. Yr oedd hyn i'w briodoli, mewn rhan, i'r cariad at y prydferth ymhob dull a gwedd oedd yn rhan hanfodol o'i natur. Dichon y dywedai mai "cael ei eni ac nid ei wneud" y mae yr arlunydd. Ar yr un pryd gwelai angen am ddisgyblu y galluoedd hynny a'u harwain at y nôd. Ac oddiwrth ei gariad at anian, ei allu i dreiddio i'w dyfnderoedd cyfoethog, a'i ffyddlondeb i'w gwersi, hawdd gweled na fu y ddisgyblaeth yn ofer. Ac yn y gwaith o ddiogelu a pherffeithio y tueddiadau hyn y mae yn rhoddi lle uchel i ddylanwad ei dad. Fel tad, felly mab. Cafodd Ruskin y cainder ysbryd hwnnw a'i paratoai i ymwrando â dirgel iaith natur oddiwrtho ef. Ymddengys ei fod yntau yn dra hoff o ddarluniau. Ac fe roddodd bob mantais i'w fab i feithrin y teimladau a'r tueddiadau uchel oedd ynddo.

"Yr oedd fy nhad yn farsiandwr hollol onest," meddai Ruskin yn "*Fors Clavigera*," un o'i lyfrau. O bosibl ei fod yn awgrymu ei hoff addysg ar y llinellau ar ba rai y mae natur i'w hennill a'i meddiannu. Ond dengys hefyd y fantais oedd yn amgylchiadau tymhorol ei rieni i'r bachgen ddilyn ei efrydiaeth. Temtir un i ofyn, Beth pe buasai fel arall, pe cyfarfyddid ef ar bob tu â'r rhwystrau a briodolir i dlodi? A fuasai ein harwr yn dyfalbarhau yn ei genadwri? Credwn y buasai. Nid oedd wedi ei greu i ymostwng i amgylchiadau. Fel pob gwir ddyn, trefnai ei gylch ei hun. Eto dichon y buasai i'w addysg amlygu llai o'r awdurdod sydd yn dyfod o gymysgu ac ymdroi ymhlith meddyliau mwyaf y byd er mwyn astudio eu campweithiau yn dawel a digyffro. Ac yr oedd y gwaith a osododd ef iddo ei hun, neu, yn hytrach, yr hyn y tyfodd iddo, sef bod yn feirniad y celfau cain, yn gofyn am yr hamdden yma. Cawn ef yn myned ar deithiau gyda'i dad, ac yn yfed i mewn yn awchus holl hyfrydwch natur. Felly y cynnyddai. Aeth trwy ei gwrs yn Rhydychen er clod iddo ei hun,

gan gipio rhai o'r gwobrwyon uchaf. Ond ni throai oddiwrth ei lwybr. Ar ei daith i'r Eidal, ei amcan wrth gerdded orielau yr arlunwyr ydoedd craffu faint o natur oedd yn cael ei ddatguddio. Hyn i raddau mawr reolai ei atdyniad at berson. Edrychai arno trwy ei waith. Felly y cododd ei serch at Turner, yr arlunydd Seisnig enwog. Tystia fod ei edmygedd o'r dyn a'i waith yn ennill nerth fel yr oedd ei brofiad yn cael ei gyfoethogi. Ac nid oedd byth eisieu ond enwi Turner a Titian yng nghlyw Ruskin i beri iddo fod ar dân o frwdfrydedd. Ceisia rhai ddangos fod Ruskin wedi cario yr edmygedd yma mor bell nes gwanhau gwerth ei farn. Darllenner, modd bynnag, ei lyfrau er gweled mor rhydd yr oedd oddiwrth fympwy. Heb fychanu dim ar ragoriaethau arlunwyr ereill, y mae yn cael ynddo ef y mesur helaethaf o'r amlygiad syml, gonest, a chryf hwnnw o ddirgelion natur, ystyriaeth o bai rai sydd yn llyncu i fyny ei weithgarwch ef ei hun. Yn ei brif waith, *Modern Painters*, llefara fel hyn am Turner,—"Yr wyf yn dweyd y gwir i chwi, yr hyn y rhoddais bymtheng mlynedd o fy oes i'w sicrhau, y bydd i'r dyn yma, Turner, gymeryd ei le ochr yn ochr â Shakespeare a Verulam. Shakespeare ddadorchuddiodd ddynoliaeth, Verulam egwyddorion natur, a Turner agweddau natur." Y mae rhyw arwr-addoliaeth yn angenrheidiol i gadw dyn i fyny â'r safon. Y mae yn cefnogi ffydd a'i goleuo. Ac yr oedd Ruskin yn llefaru oddiar y profiad sydd yn dyfod trwy ymarferiad. Yr oedd ef yn arlunydd ei hun. Yr oedd yn gwybod am y ddisgyblaeth galed, am yr anhawsderau mawrion, am yr anobaith a ddaw i bob gwir arlunydd wrth edrych ar gampwaith a myfyrio ar y llafur sydd o flaen y sawl a ddymunai ei efelychu. Y mae amryw o'i lyfrau wedi eu haddurno â'i waith arluniol ef ei hun. I'r bywyd tawel hwn y mae yn cysegru ei hun am y gweddill o'i oes, heb unrhyw gynnwrf ond a ddaw iddo oddiwrth ei efrydiaeth, neu o'i ymdrechion i ddyrchafu ei genedl.

I'r diben yma y mae yn sefydlu y Gymdeithas sydd yn adnabyddus wrth yr enw *Guild of St George.* Ymgyflwyna yr aelodau i fyw a gweithio ar ran y ddynoliaeth, ac yn arbennig trwy eu cynorthwyo i ddyrchafu i'r safle lle y gall y rhai a gollasant eu hunan-barch ei ail ennill. Dyma rai o'r penderfyniadau—"Rhoddwn y ddegfed ran o'n heiddo i wneud yn werth i drueiniaid aros yn eu hen wlad, ac i'w darbwyllo rhag croesi i wlad estronol. Ceisiwn wneyd rhyw ddarn bach o dir yn brydferth, heddychol, a ffrwythlon. Ni chaniatawn agerbeiriant i ddyfod arno. Ni bydd dim rhyddid arno, ond ufudd-dod uniongyrchol. Dim cydraddoldeb ond cydnabyddiaeth o'r hyn sydd yn well a rhagorach." Hawdd yw dyweyd fod y syniad yn ddieithriol, ac, ys dywed y Sais, yn "Utopian." Ac efallai y gellir gweled ynddo fai oherwydd ei iaith amhenodol a phenagored. Ond y mae yn edrych at y daioni mwyaf, ac yn ceisio ei sylweddoli yn awr. Y mae yn pwyntio at ryddid y ddynoliaeth. Ac arwydd fod ein gwlad yn gwella yw fod y fath syniadau yn cael derbyniad o gwbl. Y mae yr awdwr yn cael gweled yn ei fywyd rywfaint o ffrwyth ei lafur. Y mae tir wedi ei brynnu i gario allan ei fwriadau. Ac yn agos i dref Sheffield y mae Amgueddfa wedi ei sefydlu i egluro a dangos mor ymarferol yw cyfaugorff ei syniadau.

*

Darfu i ni enwi un o lyfrau Ruskin, y pennaf o lawer o ran maint ac o ran gwerth, sef *Modern Painters.* Buasai y gwaith yma ei hun yn ddigon i anfarwoli enw llawer dyn. Ond er mor eang a chynwysfawr ydyw, ni chuddia ond rhan fechan o'i weithgarwch ef. Y mae y ddau air, Ruskin a *Modern Painters,* yn cael eu harfer fel pe yr un peth. Eto nid teg yw y syniad hwnnw, am ei fod yn awgrymu mai rhyw ail-adroddiad yw yr oll o'i waith heblaw hwn. Yn nesaf i *Modern Painters,* yr hwn sydd yn cael edrych arno fel amddiffyniad i Turner, daw *Stones of Venice,* yn egluro y berthynas sydd rhwng gwir waith â chysur a dedwyddwch y gweithiwr. Ni chaniatâ gofod i ni ond yn unig ddatgan yn frâs yr egwyddorion sylfaenol fel hyn i'w weithiau. Wedi hyn daw *The Seven Lamps of Architecture,* yn gosod i lawr y prif reolau ynglŷn âg ymarferiad o'r celfau cain yn eu perthynas â moesoldeb a chrefydd. Yn nesaf cawn ddau lyfr ganddo i bwysleisio y berthynas rhwng cyfalaf a llafur, ac yn egluro fel y mae cyfoeth cenedl yn dibynnu ar iawn ymddygiad at y gweithiwr, yr hwn sydd yn creu y cyfoeth. Enwau y llyfrau ydyw *Munera Pulveris* ac *Unto this Last.* I ddangos lle a gwaith y chwiorydd yng ngweithiad allan egwyddorion cyfiawnder y mae yn ysgrifenu *Sesame and Lilies.* Ac yn *Fors Clavigera* y mae yn dadblygu y wedd yna ar ei addysg yn ei berthynas â bywyd yr aelwyd. Fel hyn, yn ei lwyredd a'i burdeb, y mae ei lafur yn adlewyrchiad o fawredd natur.

> "Now 'tis like all instruments,
> Now like a lovely flute;
> And now it is an angel's song
> That makes the heavens be mute."

Am dano ef yr ysgrifenna George Eliot at gares iddi ei fod "yn traethu fel un o'r proffwydi Hebreig." Ac yn dilyn yn llwybr yr un edmygedd y tystia Carlyle am *Fors Clavigera* nad oes dim mor darawiadol wedi ymddangos ers llawer dydd. Y mae priod-ddull y fath un yn sicr o haeddu sylw. Oblegyd nid yw Ruskin mewn dim yn gymaint o arlunydd ag yn ei ddisgrifiadau byw. Os oes y fath beth yn bod a barddoniaeth mewn rhyddiaeth, diau ei fod i'w gael yma. Y mae yn dangos yr un manylder, ffyddlondeb, a chalon wrth ddarlunio gogoniant urddasol yr Alpau—y niwl, yr ystorm, ïe, y blodyn bach wrth y troed, a'r planigyn ar y llethrau, nes rhoddi i chwi yr argraff ei fod wedi cysegru ei fywyd i hyn. Cymerwn, fel engraifft, y darluniad dilynol ganddo o dref Venice, heb ryfygu ceisio ei gyfieithu.

> "A city of marble did I say; nay, rather, a golden city paved with emerald. For truly every pinnacle and turret glanced or glowed, overlaid with gold or bossed with jasper. Beneath, the unsullied sea drew in deep breathing, to and fro, its eddies of green waves. Deep hearted, majestic, terrible as the sea—the men of Venice moved in sway of power and war; pure as her pillars of alabaster stood her mothers and maidens; from foot to brow all noble walked her knights. . . . Fearless, faithful, patient, unpenetrate, implacable—every word a fate—sate her senate. In hope and honour, lulled by flowing of wave around their isles of sacred sands, each with his name written and the cross graved (?) at his side, lay her dead. A wonderful piece of world. Rather itself a world."

Y mae Ruskin yn ein dysgu mewn un man na ddeuwyd o hyd i un briod-ddull iawn a dyrchafedig hyd yn hyn ond oedd yn ddrych o

galon gywir a gonest. Ac y mae y difyniad a ganlyn yn dangos fod Ruskin yn gweithredu ar y rheol yma. Oblegyd y mae ei phrydferthwch yn gorffwys, nid yn gymaint yn ei ddefnyddiad hapus o eiriau, nac mewn desgrifiad gogoneddus o olygfa, ond yn y datganiad o egwyddor gref.

"Do not think I underrate—I am among the last men living who would underrate—the importance of the sentiments connected with their church to the population of a pastoral village. I admit in its fullest extent the moral value of the scene, which is almost always one of perfect purity and peace; and of the sense of supernatural love and protection which fills and surrounds the low aisles and homely porch. But the question I desire earnestly to leave with you is, whether all the earth ought not to be pure and peaceful, and the acknowledgement of the Divine protection as universal as its reality."

Y mae yr olaf yn apelio mor ddiwrthwynebiad at y gydwybod ag y mae y difyniad cyntaf yn apelio at y glust a'r dychymyg.

Ond er bod yn sicr o'r ffaith, anhawdd iawn yw elfennu a dadansoddi mawredd Ruskin. Hwyrach nad teg fyddai derbyn gair dynion am eu gwaith a'u safle eu hunain. Tuedd y mwyafrif yw gorbrisio eu hunain. Ond y mae nifer fechan heb ymhyfhau i edrych eu mawredd yn ei wyneb. Pe derbyniem eiriau Ruskin am dano ei hun, y canlyniad fyddai iddo gymeryd ei le yn yr ail neu y trydydd dosbarth o ran gallu, o blith torf o ddynion sydd wedi gwneud eu goreu o'r hyn oedd ganddynt, heb mewn unrhyw ystyr greu cyfnod yn hanes y byd. "Nid oes gennyf," meddai ein harwr yn un o'i lyfrau, "unrhyw neges hollol newydd i'r byd. Pwysleisio yr hyn a ddywedwyd eisoes yw fy swydd. Nid oes dim pellach o fy meddwl na chreu cyfundrefn newydd. A hyderaf na chyfyd yr un gymdeithas o ddynion yn galw ei hun yn 'Ysgol Ruskin.'" Anhawdd cydweled â Milton mai *Paradise Regained* oedd ei gampwaith. A mwy anhawdd yw dwyn ein hunain i gredu mai ail adroddwr meddyliau Carlyle ydyw Ruskin. Nid yw priod-ddull—bydded hi mor ddigymar ag y mŷn y mwyafrif o ddynion fod yr eiddo Ruskin—yn cyfreithloni ymddiried mewn dyn fel proffwyd. Ond os nad oes gan Ruskin ei neges i'r oes, diau fod Browning a Tennyson hefyd yn fud.

Cyfreithlonir y gofyniad, "Beth sydd yn dyrchafu priod-ddull?" Yr hen syniad oedd mai brwdfrydedd a difrifwch y gwirionedd a orweddai tani oedd yr esboniad mwyaf naturiol ar ogoniant ieithwedd. Ac nid ydym yn sicr fod y syniad yna wedi ei ddymchwel. Y mae y driniaeth a gafodd Addison yn taflu golwg ar anhawsder Ruskin—anhawsder, mae'n rhyfedd dweyd, yn codi o'i ragoriaeth. Am fod i Addison briod-ddull mor bur a chlasurol, syniodd llawer mai hynny oedd prif werth ei ysgrifeniadau. A chymerwyd yn ganiataol, wedi i ddyn feistroli ei ddull prydferth a chywir, ei fod wedi derbyn yr oll oedd gan Addison i'w gynnyg. Nid yn rhy gynnar y mae y syniad yna yn cael ei gyfnewid am un mwy teilwng. Gwelir heddyw fod yna lawer mwy o greadigaethau meddyliol yn ysgrifeniadau Addison nag yn eiddo ei gydoeswr Steele, dyweder, yr hwn, am fod mwy o honiad yn perthyn iddo, a dderbyniodd fwy o glod na'i gyd-lafurwr mwy galluog. Pwy, ysywaeth, sydd yn darllen cyfansoddiadau Steele y dyddiau hyn? Felly, sicr ydym fod i Ruskin fwy o le nag y mae eto

wedi ei gael, a bod yna haenau dyfnach o drysorau yn ei lyfrau nag sydd eto wedi eu cloddio allan.

Ar yr un pryd, hwyrach nad amhosibl esbonio y camargraff. Y mae rhagoriaeth Ruskin yn cael ei anghofio yng nghanol ei ragoriaethau. Bu amlochredd ei athrylith yn rhwystr iddo i lenwi ei le ei hun. Y mae ei sylwadaeth yn cymeryd i fewn y bychan a'r mawr, yr aruchel a'r cyffredin. Y mae ehangder ei gydymdeimlad yn ei addysgu pa beth yw dyledswydd Prifweinidog yn y Senedd, a pha beth yw dyledswydd mam ar yr aelwyd. Dengys pa fodd i gerfio y marmor, a pha fodd i ddwyn allan brydferthwch y cymeriad. Y mae yn ymwneud yr un mor rydd â chwestiynau cyfalaf a llafur a phan yn dangos prif egwyddorion arluniaeth. Hyn, gellid tybied, barodd i Tolstoi ddweyd am dano, ei fod "yn ddyn mawr yn hytrach nag ysgrifennwr mawr."

Haws gennym gytuno â'r feirniadaeth yna na'r eiddo gŵr arall, yr hwn a haerai fod Ruskin, trwy ddangos perthynas moesoldeb a chelfyddyd, "yn darostwng moesoldeb ac yn gwneud celfyddyd yn ddiffrwyth." Ai darostwng moesoldeb yw dangos ei fod yn cydwau ei hunan â holl fywyd goreu a mwyaf cyfoethog y byd? Ai diffrwytho celfyddyd yw dangos fod iddi berthynas â'r anweledig a'r ysbrydol? Un rheswm gennym dros gredu fod awdwr *Mod.rn Painters* wedi ei alw gyda neges neillduol, a'i fod mewn canlyniad yn deilwng o le uchel ymhlith athrawon yr oes, yw y storom gyffredinol gyda pha un y derbyniwyd ei addysg. Pan y mae y byd yn uno i wrthdystio, y mae sail gref dros feddwl fod yr hyn sydd yn achlysuro y gwrthdystiad yn werth sylw ac astudiaeth. Ni ellir dweyd am weithiau Ruskin, fel y dywedir am waith Carlyle ar y Chwyldroad yn Ffrainc, "Yr oedd y ganmoliaeth a roddid i'r llyfr yma ar y dechreu yn unfrydol." Ond fel y sylwa un beirniad, "yr oedd hyn yn brawf ar unwaith o rinweddau a ffaeleddau y gwaith." Ac y mae y casgliad a dynnir yn un cyfiawn. Nis gall llyfr ar y fath fater pwysig a dderbynir gan bob plaid a dosbarth fod o werth parhaol. Y mae yn werth cofio na dderbyniodd Ruskin mo'r dysteb amheus yma.

Pa beth oedd ei neges sydd ofyniad ag y cymerid cyfrolau i'w drafod. Eto, wedi mentro ei ofyn, amhosibl esgeuluso yn gwbl ystyriaeth i'r cwestiwn. Lled gredwn fod geiriau yn un o'r Epistolau yn gosod i lawr yr egwyddor fawr yr ymdrechai Ruskin mor wrol o'i phlaid:— "Duwioldeb sydd fuddiol i bob peth, a chanddi addewid o'r bywyd sydd yr awrhon, ac o'r hwn a fydd." Neu, a'i osod mewn gwisg ddynol, "Crefydd yn ei gwaith." Gellid yn hawdd haeru nad oedd Ruskin yn sefyll ei hunan yn yr addysg yma. Fel apostol gwaith y mae yn uno dwylaw â Carlyle. Ond y mae hyn o wahaniaeth. Ofer yr edrychir am rudd-lewyrch Efengyl yng nghyfundrefn y "doethawr o Chelsea." Y mae yna oleuni. Ond goleuni yn dychrynu a syfrdanu ydyw—mellt yn gwibio a tharanau yn rhuo. Fel y dywedai y diweddar Broffesor Drummond, "teimlaf bob tro y darllennaf Carlyle fy mod o dan y wialen." Ond am addysg Ruskin, gellir dweyd gyda'r bardd fod yn perthyn iddo

"The cheery glow of after-love."

Y mae y tragwyddol yn goleuo ei holl addysg. A dyna ddirgelwch y

"rhesymolrwydd hyfryd" sydd yn hynodi ei holl osodiadau. Teimlwn fod Carlyle yn nesu atom gyda'r ordd fawr. "Gwnewch rywbeth," meddai, "pe byddai ond y filfed ran o gynnyrch bychan." Ond y mae Ruskin yn dwyn yn ei law flodyn bach, yn agor o'n blaen ei holl ogoniant ofnadwy—syml, gan ddywedyd, "fel hyn y mae Duw yn gweithio." Y mae yn llawenychu mewn unrhyw degwch, ac yn edrych arno, gyda Kingsley, fel "Sacrament y ffordd fawr."

Beth, ynte, yn ol Ruskin, yw efengyl y byd naturiol? Ai rhyw ymgorfforiad o ddyheuadau ydyw dyn, heb glywed llais na llef yn ateb o'r amgylchedd ag y mae efe ei hun yn ganolbwynt iddo? Neu, a ydyw natur yn llawn o gynghanedd adfywiol? Nid oes amheuaeth am ei ateb. Y mae natur yn "gennad o ladmerydd," yn llwythog o newydd da. Ac y mae iddi ei dehonglydd. Braint celfyddyd yw bod yn ddrych i ogoniant natur. "Y mae y sawl sydd heb astudio natur," meddai yn llym, "yn meddwl y gallant wella arni. I'r gwrthwyneb, hanfod pob celfyddyd yw ffyddlondeb i natur. Ac nid ffyddlondeb i natur fel deddf, ond yn hytrach fel y mae yn dadlennu yr ochr ddaearol o'r bywyd uwch." "Nid cydymffurfiad o linellau a lliwiau er gwneud argraff bleserus" felly, yw celfyddyd. Yn bennaf ac uwchlaw popeth, ufuddod i lais natur yw. Ac y mae yn amlwg fod ei syniad ef am uchel alwedigaeth Duw i ddyn mewn celfyddyd ar hyd yr un llinellau a'r desgrifiad Cymreig, sef llygad i weled Anian, calon i gydymdeimlo âg Anian, a'r dewrder a faidd gydfyned âg Anian. Y mae Ruskin yn gosod pwysigrwydd arbennig ar y "dewrder" angenrheidiol. "Nesewch at natur," meddai, "gyda chalon unol; na wrthodwch, na ddewiswch, na ddirmygwch." Dyma y dewrder sydd yn amlygu y ddisgyblaeth trwy ba un y daw dyn yn grynedig i ddilyn camrau Duw." Gadawn i'r awdwr ei hun egluro: "Byddwch sicr na all dim daioni ddyfod o'ch hymdrechion," meddai wrth efrydwyr Oxford, "ond fel y mae yn codi o'ch anian gywir chwi eich hunain, ac angenrheidiau yr oes. . . . Yr ydym yn byw mewn dydd o waseidd-dra iselwael—dydd ymha un y cyflwynir y deall dynol i gael ei ffurfio gan ladrad a chysegr ysbeiliad; un adeg yn dirmygu, adeg arall yn dinistrio, gweithiau y personau urddasol sydd wedi gwneud y bywyd deallol a chelfydd sydd yn hynodi yr oes yn bosibl iddi. Yng nghanol hyn oll yr ydych i fod yn wylaidd a chryf; i gydnabod galluoedd ereill tra yn cyflawni yr eiddoch eich hunain." Geiriau bythgofiadwy i bawb sydd yn caru gwirionedd.

Felly braint y rhai sydd yn ymgeisio at y goreu sydd gan natur i'w ddadblygu yw derbyn yn ddiolchgar yr hyn sydd ffrwyth sylwadaeth ac ymdrech dynion perffeithiaf yr oes, mewn ystyr feddyliol a moesol. Nid yw yr arlunydd, y cerfiwr, yr arch-adeiladydd, ond dynwaredwyr. Cuddiad eu cryfder yw ymddifyrru yn yr argraff oreu a gyflwynir iddynt ar waith Duw. Mewn canlyniad y mae y fath un i bortreadu yr hyn y mae yn ei weled, nid yr hyn, feallai, ddisgwyliai neu a ddymunai weled. Wrth geisio gwneud mwy y mae mewn gwirionedd yn gwneud llawer llai.

Ar yr un pryd y mae i wneud defnydd o bob dylanwad sydd a'i duedd i'w helpu i weled yn iawn. Un cymhwysder yw gostyngeiddrwydd. Ac feallai ein bod yn iawn wrth farnu fod Ruskin yn edrych

ar hwn fel enaid pob cymhwysder arall—parodrwydd i ddysgu. Nis gellir byth gyfiawnhau gwneud clod, llawer llai elw, yn nod i unrhyw ymgais. Oblegyd felly y dyn ei hunan a bortreadir wedi ei ddinoethi a'i amddifadu o bopeth sydd yn ogoniant iddo. Mor llym yr ymdrinia yr awdwr âg awydd dynion yn yr oes hon i frysio i ymgyfoethogi ar draul popeth. Fel amlygiad o'r duedd yma "caiff y gwaith o godi adeilad, neu o dynnu darlun, ei roddi i'r isaf ei bris. Fel pe gellid talu am gynnyrch meddwl! Fel pe gellid rhoddi pris ar ddrychfeddwl godidog!" Y canlyniad yw "fod ein prif ddinasoedd yn cael eu hanharddu âg adeiladau anghelfydd, heb unrhyw dalent, heb son am athrylith ddwyfol, yn cael ei amlygu drwyddynt." Felly gwell yw i ddyn gymeryd poen i ddysgu mewn dinodedd a thlodi, os oes yna ymwybyddiaeth gynyddol fod y tân tragwyddol yn llosgi yn yr enaid. Nid oes yr un ffordd freiniol i feistrolaeth o wirioneddau natur—os ffordd hawdd yw ffordd freiniol. Dirmyga Ruskin bopeth sydd a'i duedd i beri i ddynion synied felly. Nis gall dyfeisiadau gwyddoniaeth gymeryd lle y wybodaeth uwch. Ac felly anwybodaeth a ddechreu ar gymhariaeth rhwng tynn darlun a myfyrio darlun. Nis gall gwydr argraffydd luniau gyflawni y filfed ran o gynnyrch meddwl a llaw yr arlunydd. Y mae hawsder y cyntaf yn ei gondemnio a'i gollfarnu. Ni raid i ddisgybl natur frysio i ehedeg. Dichon—fel y dywed Lessing—ei fod yn gwneud yn ddoeth dderbyn ddadleniad bardd megys James Thompson o degwch natur yn hytrach nag ymddiried i'w argraffiadau ei hunan. Fe gyfyd i rywbeth gwell trwy ddyfal-barhad. Ond os mai dynwaredwr yw yr arlunydd i fod, dynwaredwr gydag amcan teilwng a nod uchel. Oblegyd, fel y dywed un gŵr o awdurdod uchel ar y mater—"y gwahaniaeth rhwng y campweithiwr a'r crefftwr cyffredin yw fod yr olaf yn dynwared er mwyn dynwared, tra y mae y blaenaf yn cymeryd y ffordd hon i gyrraedd at wirionedd tragwyddol."

Ni chawn enwi ond un rheol arall angenrheidiol i ufuddhau iddi er dadblygu mewn ymlyniad wrth wirionedd. Buddiol iawn yw fod pob gwaith yn gymhesur â'r amcan, heb fod yn fwy na llai. Y mae a wnelo hyn yn arbennig â'r gwaith o oreuro, ac yn bennaf yn ei agweddau cartrefol ac ymarferol. Peth sydd yn myned yn erbyn rheswm ac addasder yw portread o olygfa ar gwpan. Y mae rhywbeth yn israddol yn y defnydd a wneir o lestri fel hyn. Ac felly nid gonest yw ceisio eu cysylltu â gwirioneddau uwchraddol. Nid dibrisio manylder y mae Ruskin. Ond i'r gwrthwyneb, dysgu fod dyn i roddi o'i oreu i'r hyn sydd oreu. Y mae un paratoad i dderbyn gwirionedd ac i'w gyfleu yn cael ei osod o'n blaen gan ein harwr mewn gwisg nacaol. Angenrheidiol, medda ef, yw i bob cenedl "ymdeimlo â therfynion ei gallu." Nid oes llwyddiant ond trwy ystyried "beth sydd yn bosibl, ac yn arbennig beth sydd yn amhosibl" i ni. Y mae Milton wedi gwanychu rhan o'i waith digymhar trwy ymgais at ddesgrifiad o'r hyn sydd yn arwrol. Nid oedd ei anianawd na'i ddisgyblaeth foreuol wedi bod yn llawer o baratoad i'r amlygiad o'r elfen hon. Er gadael ei ddarllenwyr yn ddiesgus, cymer Ruskin gryn boen i argraffu ar eu meddyliau yr hyn sydd yn gyrhaeddadwy fel rheol i'r meddwl Seisnig. Anhawdd ar y dechreu o bosibl gennym gredu fod gan bob cenedl ei dull neill-

duol o feddwl, a'i theithi neillduol o feddylddrychau. Ond felly y mae. Yr oedd hanes y Groegwr, ei ddisgyblaeth gorfforol ddiarbed, ei barch i'r hyn oedd yn arwrol ac yn ddamcaniaethol, yn gwneuthur yn naturiol i'r elfennau hyn amlygu eu hunain yn ei waith. Nid yw addysg (yn yr ystyr ddyfnaf) Prydeiniwr yn unrhyw gymhwysiad neillduol iddo i hyn. Ond y mae agweddau ar athrylith ag y mae lle iddynt gael eu meithrin i berffeithrwydd gan y genedl hon, yn arbennig darluniau o bersonau a phortread o olygfeydd. Yn y dosbarth yma gellir disgwyl gwaith, medd Ruskin, na fydd raid ofni ei gymharu â champweithiau Athen a Florence.

Yn y cyfeiriad yma y mae dysgeidiaeth yr athraw hwn yn dadblygu. Yn y diwedd adlef o lais cydwybod yw tystiolaeth natur. Nid yw celfyddyd byth i fod yn nod. Cyll felly bopeth ond yr enw. Disgyna i'r anobaith sydd ynglŷn â'r "celfyddydol" Y mae pob gwir ymdrech yn cydio ei hun â natur foesol dyn. Ceir dynion yn dysgu fel arall. Ond dynion ydynt fel rheol na ddeil eu bywyd chwilio iddo. Fel y dywed Holman Hunt, ac ar hyn y mae ei air ef yn derfynol: "Y mae yn hollol groes i reswm i rannu ymwybyddiaeth bersonol dyn, a gwneuthur o hono megys dwy ystafell, gan alw y naill yn foesol a'r llall yn wahanol. Nid oes sail dda i rannu dyn oddiwrth ei waith. Y mae profiad yn erbyn y dybiaeth y gall dyn fod yn fwystfil dieflig gyda'i ysgrifbin, ac eto barhau yn foneddwr pur yn ei fuchedd." Mor wir y gair nad oes pydredd tebyg i eiddo yr hyn fu unwaith yn bur. Neu, fel y dywed y bardd,

"Lilies that fester smell far worse than weeds."

Felly yn hollol y golyga Ruskin. Honna ef fod corffolaeth celfyddydwaith y byd yn ffrwyth ymdrech dynion moesol dda, os nad ymhob ystyr dynion gwir grefyddol. Dyna iddo ef ystyr yr enw *Cain* fel ansoddair. Y "celfau Cain" yw y cyrhaeddiadau hynny sydd yn amlygu a gwneud defnydd o'r goreu a'r uchaf yn natur dyn. A'r prawf o feddiant y gallu yna ydyw gwrthweithiad a gwrthwynebiad cryf yn y natur at bopeth amhur. Ac os oes diffyg cyfansoddiadol mewn dyn i weled annymunoldeb unrhyw syniad neu bortread, ei le yw derbyn gair dynion pur ar hyn. Oblegyd "y mae dyn yn prysuro oddiwrth bwll drewedig er iddo fod yn cwyno gan anwyd yn ei ffroenau."

O bosibl y gofynnir yn y fan hon, "Oni ddywedwyd mai dynwaredwr yw dyn?" Ai nid ei waith ef yw derbyn pob argraff a ddaw iddo beth bynnag fyddo ei werth moesol?" Yn ateb i hyn dywed ein harwr fod yn rhaid ystyried, ymhob amheuaeth ddaw, gwestiwn—"Beth yw amcan Duw yn yr hyn y ceisir er bortreadu? ac yna—Beth sydd gan y dyn mewn golwg wrth bortreadu?"

"There is the soul of things good in things evil."

Y mae i bob drychfeddwl a phob portread ryw enaid. Os nad yw dyn wedi meddwl am dano yn ei bortread, yna y mae yn colli golwg ar amcan ei waith. Ac fe all Duw ddangos i ddyn fwy mewn portread nag a feddyliodd y gweithiwr. Y mae efe weithiau yn gwneud hynny.

Hawdd gweled oddiwrth yr ystyriaethau hyn nad rhywbeth mympwyol yn dibynnu ar safonau dynol yw moesoldeb. Yr oedd Ruskin fel Browning yn "sicr iawn o Dduw." Yn ei hanfod dyna yw llawenydd bywyd, parch ac addoliad. A thra yn ymwrando â llais natur y mae yn cael ei ddyrchafu at Dduw natur. Nid pleser yw y nod. Aiff Ruskin i gryn drafferth i ddangos mai celfyddyd greulawn cenhedloedd paganaidd yn unig a wnaeth bleser yn nod iddo ei hun. Yn hytrach yr amcan yw dwyn Duw i wydd dynion mewn portread o'i waith.

> "Some the worker seek and some the work,
> Round they turn—lo! God is at their side."

I Ruskin y mae yr holl greadigaeth yn gwefreiddio o Dduw. Ac felly nid oes ganddo fawr o gydymdeimlad âg unrhyw leoliad o'r ddyledswydd o addoli Duw. Y mae yn credu yn ddiau fod yna sancteiddiolaf i grefydd. Ond nid oes dim yn cydfod rhyngddo a hualau deddf wladol. Y mae yn y pellder eithaf oddiwrth haeriadau offeiriaid hunan-urddedig. Y sancteiddiolaf yw y man lle yr amlygodd Duw fwyaf o hono ei hun i'r onaid anghenus. Fe all hyn gymeryd lle yn yr addoliad cyhoeddus. Fe all ddyfod yn y cyflawniad ffyddlon o fân ddyledswyddau yn y dirgel. Nid yw amcan dyn, heb son am ei ymarferiad, yn unol â'r hyn oedd yn ofynnol i wraig Cæsar fod, sef "uwchlaw amheuaeth." Ond y mae dyfodiad Duw bob amser felly.

> "Duw doeth nid all, Duw da ni wna un cam."

Y mae pob dyn yn nghyflawniad difrifol o'i gyfrifoldeb yn offeiriad Duw. Ac i'r un graddau hefyd yn yr ystyr uchaf y mae yn portreadu gwaith Duw. Efe yw yr arlunydd, gan ei fod yn gosod pob prydferthwch tan deyrnged iddo. Hwyrach y gwel y darllennydd oddiwrth y desgrifiad yma fod yna lawer o'r pregethwr yn Ruskin. Hyn yw gwrthwynebiad rhai iddo, Ei fod yn ddiderfyn yn pregethu. Gwyddom na fydd hyn yn un rhwystr, ond yn gymhelliad, i'r Cymro i astudio gwaith y gwr hynod hwn, o dan yr ymdeimlad y bydd ei "bregethau" yn werth eu darllen.

Ni byddai unrhyw bortread o waith ac athrylith Ruskin yn deg, heb son am gyflawn, heb sylw byr i'w syniadau Cymdeithasol. Yma y cyfarfyddodd fwyaf o wrthwynebiad a gwrtholygiad. Haerir mai dychmygwr *(idealist)* yw; ac na all farnu ar faterion mwy ymarferol bywyd dyn. O bosibl os rhoddir yn llaw crefftwr craffus lyfr fel *Unto this Last*, neu *Munera Pulveris*, y dywed wedi ei ddarllen—"Ymddengys yn dda, ond nid yw yn ymarferol." Yr ydym wedi cynefino ag ymresymiad o'r fath nes methu ar unwaith ganfod y geudeb sydd ynddo. Os yw peth yn dda, pa allu anorfod sydd yn ei wneud yn anymarferol? Onid braint dyn yw gwneud y cyfryw bethau yn ymarferol trwy eu hymarfer, ac ennill ereill i'r un gweithgarwch? Fel hyn y dywed i'r perwyl a nodwyd:—

> "Yr ydych yn meddwl i mi osod o'ch blaen safon anghyraeddadwy. Bydded felly; gwrthodwch ei dderbyn os mynnwch; ond edrychwch ati i ffurfio rhyw safon arall a gymer ei lle. Yr oll a ofynnaf gennych yw fod i chwi fwriad penodol i'ch gwlad ac i chwi eich hunain."

Beth] bynnag yw gwendidau Ruskin a'i waith, y mae yn benodol a manwl ddigon. Onid yw y difynniad a ganlyn yn dangos dyn yn fyw i alwadau mwyaf ymarferol y byd ?

**"Nis gallaf gael un enaid i gredu mai dechreuad celfyddyd yw cael ein gwlad yn lân a'n pobl yn brydferth."**

Y mae Ruskin yn sicr ar dir diogel pan yn haeru fod meistriaid lawer i'w cael fuont yn anghofus o ddynoliaeth eu gweithwyr, y rhai a syniasant am danynt yn ormodol fel cynifer o ddwylaw, ac yn rhy anaml fel cynifer o eneidiau. A'r un mor sicr yw ei fod yn gwasgu adref ystyriaeth gref wrth geisio perswadio y rhai y mae awdurdod ganddynt i godi eu gweithwyr i dynu dedwyddwch o'u llafur. Wedi hyn fe ddaw popeth i drefn—caiff y llafurwr gyflog gonest, rhan yn mudd ei lafur, a darpariaeth ar gyfer henaint.

Nis gellir hawlio Ruskin gan un blaid neu ddosbarth. Dyna o bosibl un rheswm am na fyddai yn fwy poblogaidd. Y mae yn dysgu y gweithiwr i garu y gwaith yn fwy na'r gydnabyddiaeth. Nid yw yn bosibl bod yn arglwyddi a gweision yr un pryd dan unrhyw drefn. Yn ei dyb ef, mae gwahaniaeth greddfol sydd yn esbonio a chyfiawnhau gwahaniaethau cymdeithasol.

Yr oedd Ruskin fel hyn yn feddyliwr a threfnydd. Y mae Emerson yn ein dysgu fod "ffeithiau yn hylif i feddyliau." Y mae y naill yn gyflawniad o'r llall. Felly nid oedd dim yn afresymol yn y cais a wnaeth Ruskin i gyfuno y safonol â'r ymarferol yn ei ddysgeidiaeth. A ddarfu iddo ymgyrraedd at fwy nag oedd bosibl iddo sydd gwestiwn na feddaf gymhwyster nac awydd i'w benderfynu. Pe gellid profi hynny, pa sarhad a fyddai ar yr awdwr ?

**"If a man's reach is not beyond his grasp**
**What is Heaven for ?"**

Ychydig sydd yn ddiameu na chaniatant fod yna bersonoliaeth amlwg, gyflawn a chyfoethog, a bod i'w weithiau ef werth a ddaw fwy i'r golwg pa bellaf y safwn oddiwrth y person. Am dano ef y gellir dweyd,

**"He saw distant gates of Heaven gleam,**
**And did not dream it was a dream,**
**But heard by secret transport led**
**Ev'n in the channels of the dead**
**The murmur of the fountain head."**

Y mae brawddeg fel hyn gan Emerson yn ei waith o dan yr enw "Hyn a'r llall :"

**"Gwelais gragen hyfryd ar làn y môr. Cipiais hi i fyny gan ei gosod wrth fy nghlust, pan y clywn y môr yn datgan ei deimlad wrthyf. Wedi ei dwyn adref gwnaethum yr un modd. Ond yr oedd ei murmur wedi distewi, a thegwch y gragen wedi ymadael."**

Cragen fechan yw yr ysgrif hon, dychwelaf hi i'w chartref—y môr.

J. T. PRICHARD.

## CWYN COLL AM AP FFARMWR.

**Ite, ait; egregias animas, quæ sanguine nobis
Hanc patriam peperere suo, decorate supremis
Muneribus.**

I.

Mi wylwn, gwnawn,
Berl-ddafnau gloewon, rif y gwlith
I'th gael di'n ol, fy nghâr, o blith
Y meirwon mud;
Pe gallet ddod ar fore gwŷn
I rodio'r ddôl neu ddringo'r bryn,
A chalon lawn
Offrymwn fyd.

Fel mam neu chwaer
Neu weddw, deuwn at dy fedd
I'th alw'n ol i wisgo gwedd
Y gwanwyn îr;
I'th brynnu o'r cysgodion prudd
Sydd rhyngot ti a'r goleu ddydd,
Cyfryngu'n daer
Wnawn innau'n wir.

Mi godwn gri
Nes pylai gwawr yr huan têr,
Nes gwelwai'r lloer, nes wylai'r ser
Wawl-ddagrau pur—
Pe byddai obaith im' dy gael
A llonder bywyd ar dy ael,
Yn fawr dy fri
Ym mysg ein gwŷr.

Ond ha! pe tawn
A môr o ddagrau'n boddi'r byd,
Rhy dda y gwn mai'r bedd o hyd
A'th gadwai di;
Nid all na galar, geiriau mwyn,
Na gweddi daer, fy nghyfaill, ddwyn
Dy ddengar ddawn
Yn ol i mi.

II.

Na, er fod tòn
O hiraeth ar fy mynwes glaf
Yn torri fyth, distewi wnaf;

Rhy sanctaidd wiw
I'w colli ydyw'r dagryn hyn,
Ac aros wnant nes änt yn llŷn
I olchi bron
Sydd dan ei briw.

A llygaid llaith
Fe safai'th geraint uwch dy ben,
Pan godai angeu gŵr y llen ;
O ! drymllyd awr ;
Ond dedwydd dawel oeddyt ti,
A chlaer dy wedd fel gloew li'
Ar ben ei daith
I'r eigion mawr.

Fe ddaeth i'm rhan
Dy ganlyn hyd geulannau'r bedd,
I weled drych o'r dwyfol hedd
Sy'n aros dyn ;
Ond, och ! mor chwerw ac mor brudd
Yw dweyd ffarwel â dagrau cudd,
A mynd o'r fan
Fy hun ! fy hun !

Mor llwm, mor llwm
Yw bywyd heb dy wyneb di !
Rhyw ail i alltud ydwyf fi
Yn crwydro'r byd ;
Och ! ni chawn mwyach ysgwyd llaw,
Na chyfarch gwell heb gysgod braw ;
Lleferydd trwm
Yw tafod mud !

III.

Adgofion gant
Fynwesaf byth o fewn fy mron—
Difyrion hwyr, boreuau llon,
A hynt ddiloes ;
Y meddwl pur, y tyner fryd,
Y galon fawr gofleidiai fyd,
Wnant ddyn yn Sant
O oes i oes.

Ust ! ar fy nghlyw
Disgynna pell-sibrydion mwyn,
Fel chwäon haf ar dannau'r llwyn
Yn deffro cân ;
Ha ! er dy ddodi yn y bedd,
Pwy ŵyr nad wyt mewn byd o hedd,
Yn ysbryd byw,
Yn seraff glân ?

Pwy ŵyr na chawn
Gyd-rodio fry ym mröydd sêr,
A gwrando anrhaethadwy bêr
Delynau Duw ?
Tuhwnt i'r bedd-gysgodion du
Dyrchafu wnant anthemau cu
O foliant llawn
I'n Tad a'n Llyw.

IV.

At gŵr dy fedd
Daw mwyn Dosturi'n wlyb ei grudd,
Oblegyd nosi cynnar ddydd
Un garai hi ;
Ac yno hefyd, law yn llaw,
Cyfiawnder a Gwladgarwch ddaw
Yn drist eu gwedd,
Dan ollwng cri.

Ar ol y dair,
Daw Llafur llwyd yn drwm ei gam ;
Er garwed yw ei groen paham
Y rhoi'r nacad
I'w gariad gwylaidd yntau ddwyn
Ei deyrnged dlawd i'r llenor mwyn
Fu'n llym ei air
Dros ryddid gwlad ?

Ond ple mae hi,
Sydd fyth yn ieuanc, fyth yn hen,
Hoffusaf a hawddgaraf Lên,
A'i llawryf werdd ?
Ha ! gwelaf hithau'n dyfod draw,
Dan ddwyn ei thelyn yn ei llaw,
I roi ei chri
Mewn melus gerdd.

V.

Hir y caro
Môn ei phlant ;
Mwyn yw taro
Melus dant.

Dail y derw
Welsant frad ;
O ! mor chwerw
Wylodd gwlad !

Yma lladdwyd—
Trwm yw'r son—
Yma claddwyd
Cewri Môn.

Erys gwynder
Arni hi,
Ni fydd prinder
Gwŷr o fri.

Buost tithau
'N Gymro pur;
Heddyw hithau
Deimla gur.

Yma gwenai
Arnat gynt,
Ddyfroedd Menai
Ar eu hynt.

Tra bo mynydd
Mawr yn bod,
Mynd ar gynnydd
Wna dy glod.

Huna'r awel
Ar dy fedd;
Tawel, tawel
Fo dy hedd.

Er diflannu
Ceraint cu,
Mwyn cofiannu,
Cymru Fu.

ELPHIN.

## NODIADAU LLENYDDOL.

GWEDDIO A GWEDDIAU CYHOEDDUS: sef Ysgrifau ar y Weddi Gyhoeddus, gan y Prifathraw T. Charles Edwards, M.A., D.D.; y Parch. Thomas Rees, D.D.; a'r Proff Ellis Edwards, M.A.; yn nghyda gweddïau cyhoeddus gan un a deugain o weinidogion y gwahanol enwadau Cymreig. Casglwyd gan D. Cunllo Davies, Dowlais. Bala: Argraffwyd gan Davies ac Evans, Swyddfa'r *Seren*. 2 swllt. Y mae yn beth arferol ddigon gyhoeddi llyfrau gweddïau teuluaidd; ond, hyd yr ydym yn cofio, dyma yr engraifft gyntaf a welsom o gyhoeddi gweddïau Cyhoeddus, oddieithr yn y Llyfr Gweddi Gyffredin a'r cyffelyb. Ni fynnem ddweyd fod dim o'i le ynddo. Cyhoeddwyd Gweddi faith Solomon a gweddi fer y Publican; paham, gan hynny, nad y gweddïau hyn? Tramgwyddus iawn i'n meddwl ni ydyw yr ymadrodd "gan un-a-deugain o weinidogion y gwahanol enwadau Cymreig." Beth, meddem, sydd a fynno enwadaeth, mewn difrif, â gweddïo ar Dduw? Y tebygolrwydd ydyw mai y cyhoeddwr, ac nid y golygydd, sydd yn gyfrifol am hyn. Ceisia yr holl gyhoeddwyr Cymreig—nid ydym wedi sylwi fod y peth o gwbl ymysg y Saeson, na'r Ysgotiaid, na'r Gwyddelod—flâs y "Pedwar Enwad" ar bob peth a ddaw o dan eu dwylaw, am y rheswm, feallai, na ddisgwylir i Gymro brynnu dim ond sydd a blas ei enwad ei hunan arno. Y mae yn hen bryd i ni ymddiosg oddiwrth y syniad ffol a phlentynaidd a darostyngol hwn; a braidd nad awn mor bell a dweyd fod gwaith cyhoeddwyr yn rhoddi y "pedwar enwad," neu y "gwahanol enwadau Cymreig," mor amlwg ar wyneb ddalen llyfr yn ddigon o brawf mai cymysgfa salw ydyw, ac na ddylid ei brynnu. Cawsom hyfrydwch a budd rhyfeddol, er hynny, wrth ddarllen y gweddïau syml, synwyrlawn, defosiynol a gafaelgar hyn. Y maent oll yn cynnwys ymarllwysiad o'r teimladau a'r syniadau puraf a mwyaf dyrchafedig; ac nis gallai yr addolwyr lai na theimlo mewn gwirionedd am y mannau a'r cynnulleidfaoedd lle y dyrchafwyd yr erfyniau a'r deisyfiadau taerion hyn, mai "dyma dŷ Dduw, a dyma borth y nefoedd." Y mae y pedair ysgrif ar Weddi Gyhoeddus yn nechreu y llyfr yn rhagorol iawn; yn enwedig eiddo Dr. Edwards a Dr. Rees. Nid oeddym erioed wedi sylweddoli fod y fath berthynas agos rhwng gweddïo a phregethu nes darllen sylwadau Dr. Rees ar "Gysylltiad Gweddi â Gweinidogaeth y Gair." Ond gem y cwbl yn ddiameu ydyw ysgrif fèr Dr. Edwards ar "Rannau Dechreuol yr Addoliad Cyhoeddus." Y mae llawer iawn o draethu ac ysgrifennu y dyddiau hyn ar Ddefodaeth a gwahanol ymarferiadau yr addoliad cyhoeddus, a thoraeth o honno, i'n tyb ni, yn tywyllu cynghor âg ymadroddion heb wybodaeth.

Ond y mae sylwadau Dr. Edwards yn newydd, clir, croyw, ac i'r pwrpas. Erioed ni ddarllenasom ddim byd mor foddhaol ar y mater; ac yr ydym yn addaw i'n darllenwyr, os mynnant gael gafael ar yr ysgrif fèr hon, a'i darllen a'i myfyrio yn ofalus, na bydd llawer o berygl iddynt wyro ymhell yn eu syniadau am wir hanfod addoliad cyhoeddus.

Cardiff Records: Being Materials for a History of the County Borough from the earliest times. Edited by John Hobson Matthews, Archivist of the Corporation of Cardiff (Author of the "History of the Borough of St. Ives, Cornwall"). Prepared by Authority of the Corporation, under the direction of the Records Committee. Vol. I. Cardiff: Published by order of the Corporation, and sold by Elliot Stock, 62, Paternoster Row, London, 1898. Cychwyniad y symudiad sydd wedi esgor ar y gwaith mawr ac ardderchog hwn oedd fel y canlyn: Mewn cyfarfod o Gynghor Bwrdeisdref Sirol Caerdydd, a gynnaliwyd Tachwedd 9, 1893, mewn canlyniad i rybudd blaenorol, cynnygiodd y Cynghorwr Edward Thomas (Cochfarf), "Fod y Cynghor hwn yn teimlo yn rhwymedigaeth anorfod arno wneuthur ymchwiliad trwyadl a dyhysbyddol i haeriadau a gosodiadau y *South Wales Daily News* gyda golwg ar Diroedd Caerdydd; ac, fel cam blaenorol tuag at hynny, yn dymuno ar yr Ysgrifennydd Trefol i ddarparu, gyda phob brys rhesymol, grynhodeb o'r holl siarteri, gweithredoedd, a phapyrau ym meddiant y Gorfforiaeth o berthynas i Diroedd y Gorfforiaeth (heb gyfrif y tir a gafwyd yn ddiweddar at ddibenion Gweithiau Dwfr a Diwygiadau), ac o bob cyfeiriadiau at Diroedd y Gorfforiaeth neu Brydlesoedd o'r unrhyw mewn hen lyfrau a chofnodau, yn gystal a'r holl hen siarteri, gweithredoedd a chofnodau y gellir cael sicrwydd am danynt trwy gyfeiriadau atynt mewn siarteri, gweithredoedd a chofnodau ereill, ond nad ydynt yn awr yn meddiant y Gorfforiaeth, a chyflwyno argraffiad o'r cyfryw i bob Aelod o'r Gorfforiaeth; a bod Pwyllgor Neillduol yn cael ei benodi gyda'r diben o wyntyllio, ymofyn i ac ystyried yr holl achos, a dwyn adroddiad i'r Cynghor gyda golwg arno." Derbyniodd y Cynghor y cynnygiad, a ffrwyth y penderfyniad hwnnw, ar ol pum' mlynedd o lafur, ydyw y gyfrol fawr, hardd, ac ardderchog hon. I dref Caerdydd yn arbennig y mae o'r gwerth a'r dyddordeb mwyaf, ac yn rhwym o godi awydd angerddol am weled y gweddill o'r gwaith wedi ei gwblhau. Tybiem ni mai tref ddiweddar, ddihanes, oedd Caerdydd, wedi neidio i hynodrwydd gyda dadebriad disymwth y "bachgen du" oedd wedi cysgu mor dawel ers oesoedd yng nglo-wely Morganwg. Ond oddiwrth y gyfrol hon mae'n amlwg fod iddi hanes a thraddodiadau. Gyda'r holl ragfarn a enynnir yn ei herbyn gan "ei chorsydd a'i lleoedd lleidiog," dengys yr adroddiad godidog hwn fod iddi ddinasyddion o'r radd flaenaf; a'i bod, mewn gwirionedd, yn prysur ddringo i feddu hawl deg yn ogystal ag awyddfryd mawr i'w galw yn Brifddinas Cymru. Haeddai esiampl Cynghor Caerdydd gael ei ddilyn gan bob bwrdeisdref yng Nghymru. A phe byddai i bob Plwyf a phob Sir wneuthur y cyffelyb waith, byddai gennym ddefnyddiau hanes Cymru na welwyd erioed ei gyffelyb.

Yn ei Gamrau: neu, Beth a wnelai yr Iesu? Gan y Parch. Charles M. Sheldon. Wedi ei gyfieithu gan y Parch. D. E. Jenkins, Porthmadoc. Caernarfon: W. Gwenlyn Evans. 6ch. Gydag wyth o Ddarluniau. Ni bu y fath ddarllenniad erioed ar lyfrau ag sydd y dyddiau hyn ar lyfrau y gŵr hwn. Y mae yn helaethach na'r darllenniad o Gaban Fewyrth Twm gan Mrs. Stowe. Bu effaith ryfeddol i'r llyfr hynod hwnnw, oblegyd diameu fod iddo ran fawr ym mharatoad y ffordd i ryddhad y Caethion yn yr Unol Daleithiau. Yr ydym yn disgwyl y bydd effeithiau cyffelyb yn dilyn darlleniad y llyfr hwn, a llyfrau ereill yr awdwr. Da gennym weled argraffiad o hono yn yr iaith Gymraeg, ac am bris mor fychan—128 o dudalennau wyth plyg am 6ch! Dyma gyfle i Gymry uniaith farnu drostynt eu hunain; a diameu y cânt lawer iawn o les hefyd wrth ei ddarllen.

# Y TRAETHODYDD.

## PREGETHU.

NID yw gweinidogaeth yr efengyl, fel swydd, yn codi o ewyllys yr eglwys nac yn dibynnu arni am ei hawdurdod a'i pharhad. Yr Hwn a sylfaenodd yr eglwys benododd hefyd y weinidogaeth ynglŷn â hi. Eithr am swydd y diacon, mae ychydig yn wahanol: o'r weinidogaeth y cododd hi; gan y weinidogaeth y sefydlwyd hi; ac i fod yn îs-wasanaethgar a darostyngedig iddi. Ond fe ordeiniodd y weinidogaeth mai yr eglwys oedd i ddewis y personau oedd i weinyddu y swydd. Mae awdurdod y weinidogaeth ar sail wahanol. Dywed Paul mai yr Ysbryd Glân a wnaeth henuriaid Ephesus yn esgobion, i ofalu am braidd Duw (Act. xx. 28). Dywed yr un Apostol ymhellach mai Crist ei Hun roddodd i'r eglwys yr apostolion, y prophwydi, yr efengylwyr, y bugeiliaid, a'r athrawon—pum' agwedd wahanol, mae yn sicr, ar yr un swydd A dywed hefyd fod amcan y swydd yn driphlyg—perffeithio y saint, dysgu y saint i wasanaethu yn briodol, ac adeiladu corff ysbrydol Crist. Nid oes gan yr eglwys—yn unigol nac yn gyffredinol—awdurdod dros y weinidogaeth, i'w dileu na'i llesteirio mewn dim, eithr yn hytrach ei chydnabod fel un o ddechreuad cysefin, fel hi ei hun; a'i hadnabod fel y cyfryw. Nid un yn dibynnu, gan hynny, ar fympwy a phleidlais dynion yw gweinidog yr efengyl. I Ben yr Eglwys mae efe yn gyfrifol, fel un wedi derbyn ei swyddogaeth oddi wrtho, ac i wneud popeth er ei ogoniant tragwyddol.

Mae gan yr eglwys law a llais yn newisiad y *swyddog* Nid yw neb yn cymeryd yr awdurdod hon iddo ei hun, eithr yr hwn a elwir gan Grist trwy lais ei eglwys. Ceir ambell un, weithiau, yn ymwthio i'r swydd yn anhymyg, heb ei alw, eithr yn dringo at y praidd ffordd arall. Mae yn hunan-alwedig; ac, fel Theudas a Judas y Galilead yn nyddiau y drêth, mae efe yn tybio ac yn dweyd ei fod ef yn rhywun. Ni ddymunem fod yn llawdrwm ar y brodyr hynny na chlywodd neb eu galwad ond hwy eu hunain; ni chymerem lawer chwaith a dweyd nad oes rhai o honynt yn wir alwedigion Duw, wedi cael eu galw, fel Paul, allan o'r ffordd gyffredin, ac eto dywedwn yn ddibetrus mai diogelwch pob dyn ieuanc fyddo yn ymestyn at y weinidogaeth yw yr ymwybyddiaeth ddedwydd iddo gael ei alw i'w swydd gan Grist trwy lais rhyw eglwys neu gilydd. Dywedwn fwy, Nid oes dim yn gymaint o nerth i weinidog ieuanc i gyflawni ei swydd bwysig yngwyneb gwrthwynebiadau na'r ffaith y gall gyfeirio at y tystysgrifau

hyn. Heb hyn bydd dynion yn ameu ei awdurdod a'i gymhwysder beunydd. Dyma y gofid gai Paul yn barhaus: rhyw ddynion yn ameu ei awdurdod, am na chlywodd neb yr alwad ddwyfol ond efe ei hun.

Mae ysbryd diystyru y weinidogaeth ar led; ac y mae yr ysbryd hwn, oblegid chwildroadau meddyliol yr oes, fel pe yn myn'd ar gynnydd. Daw o wahanol gyfeiriadau. Yn gyntaf, o gyfeiriad Defodaeth. Try yr ysbryd hwn y gweinidog dysyml ordeiniodd Crist i ddysgu yn offeiriad rhwysgfawr i offrymu. Deifia yr awelon chwythant dros fynyddoedd Defodaeth symledd y bregeth yn llwyr. Ni ddichon pregeth fod yn rhyw bwysig iawn yng ngolwg y rhai a sugnant ogoniant o'r llithoedd, o'r ffurfweddïau, ac o'r offeren: na, ä y bregeth, Adda y Weinidogaeth, ar goll ymhlith prennau a blodau yr ardd.

Yn ail, chwŷth yr ysbryd gwrth-weinidogaethol a gwrth-bregethwrol hwn o gyfeiriad gau-ddiwylliant. Clwyfo y bregeth yn nhŷ ei charedigion yw hyn. Fu dim yn fwy effeithiol i lanw gwledydd Ewrob â gwybodaeth a gwir ddiwylliant na'r pulpud; ac mae clywed addolwyr y rhai hyn heddyw yn dweyd fod dyddiau y weinidogaeth efengylaidd ar ben, a blynyddoedd y bregeth wedi eu rhifo i fyny, yn angharedigrwydd eithafol. Na, nid felly; mae y weinidogaeth o apwyntiad Duw ei Hun; ac mae y bregeth wedi cael ei hordeinio yn y nefoedd; ac mae yr oll yn gymhwys i angen y byd fel y mae. Nid yw y Beibl—yn arferol—yn effeithiol i gyrraedd yr amcan yr ordeiniwyd ef, oddi eithr cael y bregeth i'w esbonio. Mwy, nid yw pawb yn alluog, heb son am fod yn ewyllysgar, i ddefnyddio Gair Duw i'r amcan y rhoddwyd ef heb gynorthwy. "Ni chlywant ac ni chredant heb bregethwr" (Rhuf. x. 14). Mae swydd y pregethwr i aros tra yr erys dyn yn bechadur. Y proffwyd â Gair yr Arglwydd sydd i achub dynion. Ac ymhellach, mae rhyw ddylanwad gan bersonoliaeth athraw da i fod yn weinidogaeth effeithiol, yn anibynnol ar yr hyn a bregetha. Trwy ddynion, yn fwy na thrwy lyfrau o unrhyw fath, mae Duw yn achub y byd "Haiarn a hoga haiarn; felly gŵr wyneb ei gyfaill" Wedi awgrymu, fel hyn, fod *lle* i weinidogaeth y Gair yngoruchwyliaeth Gras, awn rhagom i sylwi ar y prif swyddog sydd ynglŷn â hi, y PREGETHWR; ac ar un ran yn unig o waith y swyddog hwn, sef PREGETHU. Mae pregethu yn anhebgorol i'r efengyl. Dyna sydd yn ei dwyn at y byd "Pwy bynnag a alwo ar enw yr Arglwydd cadwedig fydd." "Pa fodd gan hynny y galwant ar yr hwn ni chredasant ynddo? pa fodd y credant yn yr hwn ni chlywsant am dano? a pha fodd y clywant heb bregethwr?" Y pregethwr a'i bregeth sydd i achub y byd; mae dechreuad y cadw i fywyd tragwyddol gyda'r pregethwr: efe yw "Cyfaill y Priodfab" sydd yn llawenychu wrth weled yr Iesu a phechadur yn ymgofleidio mewn heddwch.

Hanes pregethu yw hanes eglwys Dduw. Llwyddiant y pulpud yw llwyddiant yr achos ymhob oes Trwy bregethwyr yr ymwnai Duw â'r hen fyd: Enoch yr efengylwr dysyml, a Noah, pregethwr cyfiawnder. Rhag-efengylu yr oedd Abraham pan gyfiawnhawyd ef trwy ffydd. Pregethwyr yr hen oruchwyliaeth oedd y proffwydi. A ffrwyth y pren hwnnw wedi addfedu oedd Ioan Fedyddiwr, yr olaf a'r mwyaf o honynt. Ac am yr apostolion, a phroffwydi yr efengyl, nid oeddynt yn ddim heb eu pregethau.

Mae yr eglwys a'r pulpud bob amser yn dilyn eu gilydd. Mae gogoniant y naill a'r llall yn cydsefyll ac yn cydsyrthio. Pan mae y bregeth yn wael a diafael, mae yr eglwys yn isel; a phan mae y bregeth yn odidog a gafaelgar, mae yr eglwys yn llwyddiannus. Fforddia hi ddim i eglwys ddiystyru, dibrisio, ac anwybyddu ei gweinidog: cyflawnu hunanladdiad y mae wrth wneud hynny.

Dywedwn fwy: fel y mae llwyddiant yr eglwys, dan fendith Duw, yn dibynnu ar y pulpud, felly hefyd mae nerth ac effeithiolrwydd y pulpud yn dibynnu ar yr hyn a bregethir ynddo. Mae pregethu sothach a sorod yn cynyrchu pregethwyr gwael; tra, o'r ochr arall, mae pregethu athrawiaeth iachus yn cynyrchu pregethwyr cryfion a dylanwadol. Y mater, fel hyn, sydd yn ysbrydoli y pregethwr; nid y pregethwr y mater. Os ydyw y gweinidog am fod yn wir fawr, yn efengylaidd ac ysbrydol fawr, a dylanwadol, bydded yn ofalus beth a bregetha. Ysbrydoli dynion wnaeth Duw i ddatguddio ei air ir byd; ond byth wedyn, ysbrydoli ei air y mae yn fwy na dynion.

Beth oedd yn cyfrif am bregethu grymus yr Apostolion a'r Tadau Eglwysig? Onid yr hyn a bregethent? Dywedent efengyl newydd fflamllyd wrth y byd, a hynny gyda nerth annisgrifiadwy

Beth oedd yn cyfrif am bregethu gwael y Canol Oesau? Onid y peth a bregethent? Sothach, fel rheol, oedd materion pregethau yr oesoedd tywyll. Traddodwyd cyfres o bregethau gan dduwinyddion Vienna yn y flwyddyn 1430 ar "Hanes y Deg-ar-hugain arian." Dywedent mai Terah, tad Abraham, fathodd yr arian; ac iddynt fyned o law i law—ac enwir perchennog pob llaw, wrth gwrs—nes dod i law Mair, mam yr Iesu, yn rhodd i'w mab bychan, oddi wrth y doethion; ac i Mair eu rhoi i'r offeiriaid yn Jerusalem yn offrwm am ei glanhad, a'i phuredigaeth; ac iddynt hwythau eu rhoi i gadw yn y deml hyd nes i Judas Iscariot eu derbyn am fradychu ei Arglwydd. Yn awr, beth oedd mewn sothach fel yna i ysbrydoli pregethwr? llawer llai i fod yn fwyd ysbrydol i'r cynulleidfaoedd oedd yn marw o eisieu bara y bywyd?

Materion pwysig eraill y pregethid llawer arnynt oedd y purdan; ffurf-addoliad Mair, a'r seintiau; ac yn enwedig disgrifiad o dân uffern. A phan y byddai y pregethwr yn tynnu tua'r diwedd, ac yn myn'd i hwyl, ar y mater olaf a nodwyd, ac am gario dylanwad ar y gwrandawyr, byddai ganddo frwmstan yn ei logell i'w losgi yn y pulpud, er mwyn egluro tragwyddol gosbedigaeth yr anuwiol.

Wrth glywed a gweled pethau o'r fath, pa ryfedd fod dynion yn ymgaledu, ac yn gadael tŷ Dduw? "Y dieithr nis canlynant, eithr ffôant oddi wrtho." Os ydym am fod yn gryfion yn y pulpud, gofalwn beth fydd baich ein pregethau; gadewch i'n cenadwri blygu dan faich o athrawiaeth iachus efengyl. Mae sothach a heresi yn y bregeth yn rhwym o gynyrchu capeli gweigion.

Wrth ei gyferbynnu â'r oesau blaenorol, mor aruthrol fawr oedd y cyfnewidiad ddaeth dros bregethu yr eglwys yn ystod y Diwygiad Protestanaidd. Beth oedd arian bathol Terah, a brwmstan llosgedig y mynachod, yn ymyl gogoniant trarhagorol y cyfiawnhad trwy ffydd, gan Luther? sancteiddhad gan y brwdfrydig Biwritaniaid? a'r ffydd ddiffuant a bregethai hen Anghydffurfwyr a Diwygwyr yr oesau o'r

blaen? *Beth* i bregethu sydd yn bwysig: y mater sydd yn codi yr ager yn y pulpud. Ac eto nid ydym, wrth ddweyd hyn, yn dibrisio y *modd* i bregethu. Yr wyf yn cofio fy mod unwaith yn cerdded un o heolydd Caerdydd yng nghwmni y diweddar Mr. Nicholson—oedd ar y pryd yn weinidog yn y Groeswen. Ac, yn ymyl masnachdŷ adnabyddus, wrth weled y ffenestri wedi cael eu gwisgo yn ardderchog o ddeniadol i'r prynnwr, ebe Mr. Nicholson, "Look, Morris, not *what*, but *how*." Gwell athrawiaeth, feallai, fyddai *What* AND *how*. Ac at y mater pwysig hwn y deuwn yn awr. Mae pedair elfen mewn pregethu: Yr anianyddol, y lenyddol, y grefyddol, a'r ysbrydol.

## I. ELFEN ANIANYDDOL PREGETHU.

Yn gyntaf oll, mae o bwys anrhaethol i bregethwr a phob siaradwr cyhoeddus gofio fod yr offerynnau sydd ganddo i wneud ei syniadau yn hysbys i gynulleidfa trwy siarad, sef yr *organau llafar*, yn berffaith anianyddol. Nid oes dim mwy o berthynas rhwng crefydd, ac efengyl, ac Ysbryd Glân, â llais y pregethwr, nag sydd rhyngddynt â braich y gôf, ac â bysedd y dilledydd. Mae anghofio hyn wedi peri i lu o bregethwyr galluog fyn'd i fedd yn anamserol; ac i lu eraill dywallt dagrau gofid ar derfyn eu hoes, fel rhai heb le i edifeirwch, am werthu o honynt yr enedigaeth-fraint o lais bendigedig ar allor esgeulusdod a hunan-ogoniant. Mae tri pheth ynglŷn â llais: meddu llais, cadw llais, ac iawn-ddefnyddio y llais.

(1.) *Meddu llais.* Nid oes dim yn cyfreithloni neb i fyn'd i'r pulpud os na bydd yn meddu ar lais; a llais hyglyw, da. Nid llais mawr, fel llais Sinai, neu lais *Stentor*, herodr Homer, wyf yn feddwl. Na, anfantais fyddai hynny. Anfantais yw pob peth anghyffredin yn y pulpud. Llais naturiol yw y goreu; llais cryf, iach, treiddgar.

Mae meddu llais, a llais da, yn dibynnu i raddau ar y pregethwr ei hun. Wedi i un ddeall ei fod yn rhydd oddiwrth bob gwendid etifeddol yn yr organau llafar, mae nodwedd y llais yn dibynnu i raddau pell ar y dyn ei hun. Os gofala yn ddigon buan, cyn i wahanol rannau y gwddf ymgaledu, fel y gwnant gan gamddefnydd a henaint; ac os rhydd yn rheolaidd ymarferiad priodol i'r organau, a gofalu am ei iechyd, gall sicrhau llais clir, da, hyglyw, a threiddgar. Mae iechyd yn anhebgorol i siaradwr. Mae llais da mewn corff gwael yn wyrth. Organ gyfansawdd o *reed* a *string* sydd yn cynyrchu llais. Ac fel mae y tywydd yn effeithio ar linynau y crwth a'r delyn, felly hefyd mae anhwyldeb corfforol yn dylanwadu yn niweidiol ar linynau y llais, i gynyrchu crygni a llacrwydd anaturiol. I sicrhau llais da dylai pregethwyr ieuainc wneud pum peth: codi yn fore; digon o ymarferiad yn yr awyr agored; myn'd i orffwys yn amserol; ymgadw rhag popeth fyddo a thuedd ynddynt i amharu iechyd; a dilyn ymarferiadau lleisiol. Dyna gynghorion y diweddar Syr Morel Mackenzie. Mae gwneud hyn yn rheolaidd a gofalus yn sicr, yn gyntaf, o gryfhau y llais; yn ail, yn eangu cylch y llais; yn drydydd, yn puro y llais; ac yn bedwerydd, yn dwyn y llais dan awdurdod a llywodraeth y siaradwr.

(2.) *Sut i gadw llais.* Mae Duw, fel rheol, yn rhoi llais i bob gwir bregethwr; efe ei hunan sydd yn ei ddifetha. Sut i gadw y llais.

(i.) Anadlu yn briodol, ac, hyd y gellir, yn wastad trwy y ffroenau. Mae yn rhyfedd meddwl, ond mae yn wir, mai pan yn blentyn, a phan yn cysgu, mae un yn anadlu yn fwyaf priodol. Wrth anadlu yn briodol y golygwn defnyddio yr holl ysgyfaint at y gwaith. Mae y fath beth yn bod a defnyddiad rhanol o'r ysgyfaint. Weithiau, defnyddir rhanau uchaf yr ysgyfaint yn ormodol. Gelwir hwn yn *collar bone breathing.* Y ffordd i adnabod hwn mewn siaradwr yw ei weled yn codi ei ysgwyddau gyda phob anadliad, yn cochi yn anaturiol yn ei wyneb, a gwythienau y gwddf yn chwyddo. Y niweidiau y mae y math hwn o anadlu yn wneud ydynt, methu cael digon o wynt i orffen brawddegau; cynyrchu crygni yn y llais; ac enynniad (*inflamation*) weithiau ym môn yr ysgyfaint, yr hwn sydd yn troi yn ddarfodedigaeth mewn cynifer. Math arall o anadlu yw defnyddio yn ormodol ystlysau yr ysgyfaint. Gelwir y math hwn o anadlu yn *costal breathing.* Adnabyddir y siaradwr hwn wrth arwyddion o flinder anamserol, chwys gormodol, a siarad herciog (*jerky*). Yr hyn sydd yn achosi hyn yw fod pob anadliad yn gorfod lledu yr asenau, ac esgyrn cryfion y fron; ac at hyn, yn aml, godi esgyrn trymion yr ysgwyddau. Y math arall o anadlu yw llanw yr holl ysgyfaint yn wastad ac yn ogymaint. Gelwir y math hwn yn *diaphragm breathing.* Ac mae yn sicr mai dyma yr anadlu priodol. Dyma anadlu plant, dyma anadlu creaduriaid, dyma anadlu pob dyn wrth gysgu. Arwyddion y math yma o anadlu ydynt, rhyddid hollol oddiwrth flinder wrth siarad, llithrigrwydd a naturioldeb yn y llafar, a gwaredigaeth hollol oddiwrth anhwylderau y gwddf a'r fron yn codi oddiwrth siarad. A'r hyn sydd yn cyfrif, yn bennaf, am hyn yw fod y Creawdwr wedi darparu parwyden (*diaphragm*) ystwyth, ysgafn, eto gref, a hollol dan lywodraeth yr ewyllys, i roi ffordd yn ufudd a pharod gyda phob anadliad.

(ii.) Dylid cadw y gwddf yn rhydd. Ni ddylai siaradwr fod a dim yn clymu nac yn bytymu uwchlaw asgwrn y gwddf (*the collar bone*). Mae i un sydd a'i alwedigaeth dymhorol, yn gystal a'i rwymedigaeth ysbrydol, yn dibynnu ar ei lais, a'r *llais* hwnnw yn dibynnu yn gwbl ar flwch bychan, rhyw fodfedd a hanner yn y gwddf, i wasgu y gwddf hwnnw â choler dèn, neu ynte â chadach tynnach fyth, yn ffolineb, ac yn bechod anfaddeuadwy yn erbyn deddfau natur.

(iii.) Hefyd, dylid cadw y corff, ac yn enwedig y gwddf, a'r fron, yn iach a chaled i ddal cyfnewidiad y tywydd, trwy eu golchi bob boreu â digon o ddwfr oer.

(iv.) Eto, dylai dynion ieuainc, yn enwedig, wneud ychydig o ymarferiadau mewn anadlu (*breathing exercises*) yn ddyddiol; dyweder cyn codi yn y bore, ac wedi myn'd i orffwys yn yr hwyr. Nid yw yn werth i rai oedranus ddechreu hyn.

(v.) At hyn dylid ychwanegu ymarferiadau mewn darllen a siarad, yn bennaf, er mwyn cynyddu llawnder yr anadliad a'i lywodraethu. Mae egluro y mater hwn yn helaethach ar bapur yn amhosibl.

(vi.) Yn olaf, dylid ymgadw rhag bwyta nac yfed dim fyddont yn niweidiol i'r gwddf a'r organau llafar, megys bwyd rhy boeth, gwirodydd, blaseynod poethion (*condiments*); ac at hyn oll ymgadw, hyd y gellir, oddiwrth y tybaco. Mae tuedd uniongyrchol yn y rhai hyn oll i amharu y llais.

(3.) *Defnyddio y llais.* Wrth sylwi ar hyn, byddwn, o angenrheidrwydd, yn cyffwrdd â rhai o'r arferion pwysicaf sydd â thuedd ynddynt i amharu y llais

(i.) Siarader yn *naturiol.* Dechreuer y bregeth neu yr araeth yn y cywair ymddiddan; ac yna gall y siaradwr esgyn neu ddisgyn fel y byddo y syniadau yn galw, heb fyned yn anaturiol a gwrthun. Plentyn yw yr engraifft oreu o'r naturioldeb hwn.

(ii.) Ni ddylid dechreu siarad, nac yngan gair, heb sicrhau fod digon o anadl yn yr ysgyfaint at hynny. Nid oes dim yn fwy niweidiol na siarad heb ystôr digonol o wynt yn yr ysgyfaint. Yr arwyddion o'r drwg hwn ydynt, torri brawddegau ar hanner, chwysu, a chodi yr ysgwyddau, a chlywed brawddeg hir, hyawdl, a barddonol, yn marw yn anamserol; ac yn dweyd yn ei hiaith mai dyna yn fuan hefyd fydd tynged yr hwn a'i llefarodd.

(iii.) Peidier a gwastraffu gwynt heb ddweyd dim. Y *test* ar anadlu priodol yw hyn: Siarad yn ymyl canwyll heb aflonyddu dim ar y fflam. Fe ddylai yr anadl oll fyn'd yn llais—yn eiriau.

(iv.) Na chamgymerer *maint* sŵn am nerth llais. Gewynau anianyddol sydd yn cynyrchu y naill, eithr purdeb celfyddydol, eto naturiol, sydd yn cynyrchu y llall. Fe glywir tôn bur y crŵth neu'r delyn ar ddydd y ffair, yng nghanol llon'd tref o sŵn anghydmarus anifeiliaid a phorthmoniaid meddw a thrystiog.

(v.) Gofaler peidio blino y llais. Mae Eglwysi Cymru wedi lladd ugeiniau o'u pregethwyr goreu trwy wneud iddynt gyflawni mwy na'u gallu—pregethu pum', ïe chwe' gwaith, mewn yspaid dau ddiwrnod. Mae yn brofedigaeth gref i bregethwyr ieuainc poblogaidd gydsynio â chais creulawn diaconiaid annynol Ond wrth wneud hyn merthyron ydynt; merthyron, weithiau, i uchelgais, yn fwy nag i awydd i wneud daioni.

(vi.) Dylid cymeryd y gofal mwyaf o'r gwddf a'r holl gorff wedi iddynt fod mewn ymarferiad caled, a hynny mewn lle poeth; mae yr holl gorff y pryd hwnnw yn agored iawn i gymeryd anwyd. Ac er dim na ddefnyddier y llais pan dan anwyd a chrygni: mae yn ddinystr iddo.

(vii.) Peidier siarad yn rhy fuan ar ol bwyta. Mae hyn yn niweidiol i iechyd ac yn niweidiol i lefaru yn effeithiol.

(viii.) Cadwer perffaith lywodraeth ar y llais i'r diwedd. Peidier a gadael i dymher, na hwyl, na'r Ysbryd Glân, hyd y gellir, dynnu y pregethwr oddiar ei wyliadwriaeth. Mae gan y canwr fantais ar y siaradwr yn y peth hwn: rhaid iddo ef gadw ei nodau. Mae siarad yn dda yn llawer anhawddach na chanu yn dda. Mae y Gerddoriaeth yn amddiffyn y naill, tra mae y llall yn gorfod amddiffyn ei hun; amddiffyn ei hun rhag ei dymher a'i ysbryd tanbaid; rhag dylanwad hwyl gref; rhag ysbrydiaeth y gynulleidfa; ac weithiau rhag dylanwad anorchfygol yr Ysbryd Glân, yn chwythu heibio fel gwynt nerthol. Mae yn anhebgorol, gan hynny, i siaradwr gadw llywodraeth drwyadl arno ei hun.

## II. ELFEN LENYDDOL PREGETHU.

1. *Beth yw Pregethu?* Dwyn cenadwri Duw at y byd; a dylai y cyfrwng fod yn un glân iawn. Dylai pob pregeth gario bendith gyda

hi, fel y wenynen ei mêl. Iesu roddodd y darnodiad goreu o'r hyn ddylai pregeth fod, yn yr ymadrodd hwnnw, "Y geiriau yr wyf Fi yn eu llefaru wrthych, Ysbryd ydynt, a bywyd ydynt" (Ioan vi. 63). Dyna yw pregethu—ysbryd a bywyd. "YSBRYD" yw pregeth, nid ffurf, nid corff, nid llythyren, nid cnawd; meddwl llawn, caled, ac nid tâs o wlân; nid *padding* masw. "BYWYD" hefyd; tân, gallu, ŷni, *force*—rhywbeth â myn'd ynddi. Nid yw pob ŷni unrhyw ŷni. Ffrŵd drystiog oedd ŷni Paul; ond afon loew, lefn, lonydd, ddofn, oedd ŷni Iesu. Yni i ymresymu oedd eiddo Paul; ŷni i ddatguddio oedd eiddo Iesu.

Wrth ateb beth yw pregethu, rhoi deffiniadau y Beibl o hynny fyddai oreu. Mae pum' gair am bregethu yn y Testament Newydd. λαλεω; siarad, ymddiddan; διαλέγομαι, ymresymu; καταγγέλλω, siarad yn ddwys a difrifol; κηρύσσω, cyhoeddi, yn glir a hyglyw; Σύαγγελίζω, cyhoeddi newyddion da, cysurus Yn awr, dyna yw pregethu yr Efengyl, yn ol dysgeidiaeth y Beibl: siarad dros Dduw wrth bechadur, mewn modd *ymddiddanol*, nid yn oer a phell; siarad yn gryf, *ymresymu* yn argyhoeddiadol; siarad yn *ddifrifol*, pwnc enaid yw; siarad yn *glir* a *hyglyw;* nid mwmian pregeth; a siarad yn *siriol*, siarad "newyddion da o lawenydd mawr" wrth bechaduriaid. Dyna yw pregethu. Mor syml a naturiol y dylai pregethwr fod.

2. *Darparu ar gyfer y bregeth.* Fe ddylai y pregethwr fod yn barod. Pechod ysgeler yw i un ymgymeryd â dweyd Efengyl wrth bechaduriaid, a hynny heb fod yn barod. 1 fod yn barod,

(i.) Dylid *darllen.* Dylid darllen llawer, darllen yn llwyr a thrwyadl. Cymerer amser i ddarllen, er mwyn darllen yn araf. Ar deithiau hirion gyda y trên, daw y *guard* atom weithiau i ddweyd, "Pum' munud i aros yma;" ac mae y teithwyr yn rhedeg am y cyntaf i fwyta tamaid. Rhyw fwyta rhwng prydiau yw hyn. Mae yn dda wrtho dan yr amgylchiadau. Ond ddaw neb yn dew ar ryw "bum' munudau" o fwyta: rhaid cymeryd amser i fwyta; a'r bwyta araf yw y goreu. Mae lle i ofni fod llawer o weinidogion mor brysur a ffwdanus, fel Martha, gyda "llawer o bethau," fel mai rhyw "bum' munud o aros" yw eu holl ddarllen. Y canlyniad o hyn yw mai pregethwyr teneu ydynt; ac mae eu pregethau yn deneuach fyth. Pwnc chwysu yw darllen a pharatoi ar gyfer y pulpud; nid pwnc *easy chair* ac ysmocio. Ymdrech yw darllen a myfyrio; fe ddylai darn o bersonoliaeth yr awdwr fod yn gwneud i fyny bob pregeth. Mae pregethwr i fod yn awdurdod yn ei *line* ef. "Gwefusau yr offeiriaid a gadwant wybodaeth, a'r gyfraith a geisiant o'i enau ef" (Mal. ii. 7). Rhaid cael cyn rhoi. Rhaid ennill ysbrydiaeth y pulpud ym myfyrdod a gweddi y Llyfrgell, "Ysbrydoliaeth yr Arglwydd a rydd ddeall."

(ii.) *Beth* i ddarllen. Yn bennaf, dywedwn, darllenner y Beibl: dyma lyfr y pulpud, a maes pori y bregeth. Dylid darllen y Beibl o'i gŵr, ar gynllun, dyweder, "Oriau gyda'r Bibl;" ac nid llamu drosto o fan i fan. Gyda hyn, darllenner llyfrau da fyddont yn dal perthynas â'r Efengyl. Ni ddylai rhai ieuainc ddarllen llyfrau amheus ag y byddo heresïau yn llechu ynddynt. Mae y pulpud yn lle rhy bwysig i bregethu tybiaethau. Gwirionedd sydd yn cadw, nid tŷb. Dylai pregethwr ddarllen llawer ar "Hanesiaeth Eglwysig." Rhydd hyn

nerth yn ei esgeiriau wrth weled ffydd y cewri gynt, a gofal Duw am ei eglwys ym mhob oes Nac anghofier "Duwinyddiaeth Gyfundrefnol;" rhydd hyn nerth yn y bregeth. Darllenner hefyd lenyddiaeth amddiffynol crefydd *(apologetics)*; dyma darian ac astalch y pregethwr, i ddiffoddi picellau tanllyd amheuwyr. Darllenner barddoniaeth hefyd, er mwyn rhoi tlysni a dillynder yn y syniadau. Yn olaf, dywedwn, darllenner llenyddiaeth ddefosiynol yr Eglwys, y Salmau, a gweithiau Thomas à Kempis, Jeremy Taylor, a Bunyan, er mwyn cadw yr ysbryd mewn naws nefol a chrefyddol.

(iii.) *Sut* i ddarllen? Nid darllen er mwyn darllen; eithr darllen i amcan. Nid darllen tipyn ar gyfer pob pregeth chwaith, fel y byddo y galw; eithr darllen i gadw y meddwl yn llawn o hyd. Melinydd gwael yw hwnnw sydd yn rhedeg i'r afon am ychydig ddwfr bob tro y daw mâl i'r felin. Cadw llyn y felin yn llawn sydd oreu: ac yna mae y felin yn barod bob amser i falu pob math o rawn pryd y mynner. Byw aniben iawn yw byw o'r llaw i'r genau, rhyw redeg i'r siop bob tro y bydd eisieu bwyta tamaid. Ond un gwaelach ac anibennach na'r ddau a nodwyd yw y pregethwr hwnnw sydd yn gorfod rhedeg am ryw lyfr neu gilydd i ddarllen tipyn cyn gallu dweyd cymaint a phum munud ar ddim. Disgrifiad byw Carlyle o'r math yma o bregethwr yw, "There he goes laddling out dishwashings, and calling them the water of life." Darllennwch, frodyr ieuainc, cadwch y llyn yn llawn o hyd.

(iv.) I ddarparu ar gyfer y pulpud, rhaid *myfyrio* hefyd. Casglu y gwlan yw darllen; nyddu a gwau y syniadau yw myfyrio: ac mae cymaint o wahaniaeth rhwng pregethu heb fyfyrio, a phregethu wedi myfyrio, ag sydd rhwng swp o *wadding* a "brethyn cartref" cryf. Casglu yr ymborth yw darllen; ei fwyta yw myfyrio. Ac at y myfyrio dylid ychwanegu gweddi daer am fendith y nefoedd ar y cyfan.

3. Ar ol y darparu a nodwyd, *pa fath bregeth* ddylid wneud?

(i.). Dylai pregeth fod yn *bregeth*, ac nid yn draethawd neu araith, neu ddarlith: traethawd i'r wasg, araith i'r clwb a'r *mass meeting*, darlith i'r *class room*, a'r neuadd, a phregeth i'r pulpud: traethawd i'r doeth, araith i'r werin, darlith i'r myfyriwr, a phregeth i bechadur.

(ii.) Dylai pob pregethwr ysgrifennu ei bregethau, yn enwedig am yr ugain mlynedd cyntaf o'i weinidogaeth. Heb hyn ä y bregeth yn unffurfiol, ac yn afler yn ei hiaith; a bydd yr aflerwch hwn yn rhwym o ddweyd ar y traddodiad.

(iii.) Dylai pregeth fod yn amserol. Yn nhiriogaeth pregethu mae rhai pethau yn symud, a rhai pethau yn aros. Nodweddion yr oes hon ydynt (*a*) Deffroad yn y Celfau a'r Gwyddorau, (*b*) Ysfa am newydd-deb, (*c*) A thuedd at yr ymarferol. Er mwyn cyfarfod â'r nodwedd gyntaf a enwyd dylai pob pregeth fod yn ddestlus a dillyn, yn *work of art.* I gyfarfod â'r ail nodwedd dylai y bregeth fod yn wreiddiol: ond nid yn *odd.* Dylid dweyd yr hen wirionedd mewn dull newydd. Mae pob dyn yn un newydd, ac ni ddylai ddweyd pethau ail law. Ac i gyfateb i'r drydedd nodwedd a enwyd dylai pob pregeth fod yn ymarferol. Dyna bregeth yr oes hon felly: un ddillyn, un wreiddiol, ac un ymarferol. Nid ydym, wrth ddweyd hyn, am i neb dybio mai rhywbeth i ogleisio chwaeth oes yw pregeth. Na, na, cenadwri i

gyfarfod angen dyfnaf dyn. Mae rhyw bethau yn aros yr un ymhob oes, ac ar gyfer y rhai hyn mae goreu pob pregeth i fod. Er engraifft, (*a*) Mae dyn yr un ymhob oes: er gwaethaf, neu oreu, dadblygiad ac addysg, pechadur yw. (*b*) Mae yr Efengyl yr un. Nid oes dim i droi Iesu o'r bregeth nac o'r galon. (*c*) Mae gofynion yr Efengyl yr un; mae ffydd ac edifeirwch i aros byth. (*ch*) Mae amcan pregethu yn aros yr un, sef troi pechaduriaid at Dduw, dadblygu grasusau a gweithgarwch yr Eglwys, a rhoi cyfeiriad iawn i gymeriad a gwaith crefydd. Mae rhywbeth yn ffurf y bregeth, fel hyn, i newid bob oes; ond mae ei hanfod yr un bob amser.

(iv.) Mae pob pregeth i dyfu allan o destun priodol; adnod neu baragraph o Air Duw. Tipyn o fawredd, a mwy o fyfiaeth, yw pregethu heb destun, fel pe byddai un uwchlaw ymostwng i adael adnod i'w lywodraethu.

(*a*). Ond sut i ddewis testun? Y cynllun wyf fi wedi gymeryd o'r dechreu yw darllen Gair Duw yn rheolaidd o'i gŵr; a nodi i lawr destynau fel y deuant i'r meddwl wrth ddarllen. Ac, fel rheol, d'ont yn gawodydd. A byddaf hefyd yn ysgrifennu sylwadau byrion ar y testynau hyn wrth fyned heibio: ac, fel rheol, dyma y rhaniadau mwyaf naturiol—ffrwyth cyntaf y meddwl. Rhydd y cynllun hwn ddigon o destynau cymwys i bob achlysur.

(*b*). Sut destun ddylid bregethu arno? Testun gweddus i'r achlysur; a gweddus i'r pregethwr ei hun. Ffolineb yw clywed llanc yn pregethu ar destun hen ŵr. Gocheler ar bob cyfrif destynau hynod: meddwl am *oddity* y testun, ac *oddity* mwy y pregethwr y byddys, dan amgylchiadau felly, yn fwy nag am y mater—os bydd yno fater o gwbl. Gocheler hefyd destynau rhy fyrion. Mor ynfyd yw dewis testun byr —un gair, feallai,—a myn'd i bob man i chwilio am y bregeth!

(*c*). Wedi cymeryd testun, cadwer ato. Bydded i'r bregeth dyfu allan o hono, fel cangen o gyff, a chyff o wreiddyn. Byddwn, wrth hyn, yn debycach o bregethu Gair Duw na dim arall.

(v.) Dylai y bregeth fod yn *wreiddiol*, hynny yw, yn eiddo y pregethwr ei hun, fel pregeth. Lladrad yw pob peth arall.

Pa ddefnydd ynte ddylid wneud o bregethau dynion ereill? gofynna rhywun. Darllenner hwynt wrth gwrs (*a*) Er mwyn cael cynllun y pregethwyr goreu. (*b*) Er mwyn cael, a mabwysiadu arddull y siaradwyr coethaf. (*c*) Er mwyn cael materion a syniadau perthynol i bregethu. (*ch*) Er mwyn cadw ymlaen gyda llenyddiaeth bulpudol yr oes Na ddarllenner pregethau gwaelion ar un cyfrif: diffrwytho tir y meddwl wnant.

(vi.) Mae yn well i bregeth fod yn gymharol fer. "*Never bring a bucket to fill a pint.*" Nid ydym, wrth ddweyd hyn, yn diraddio y gynulleidfa: mae hanner awr neu dri chwarter yn ddigon o bregeth i unrhyw bwrpas.

(vii.) Dylai pregeth fod yn llawn i'r ymylon o syniadau a materion Biblaidd ac Efengylaidd; ac nid yn rhyw hanner awr o siaradach a chlebran dibwynt.

(viii.) Dylai pregeth fod o nodwedd gyffredinol. Mae cynulleidfa yn llawer, ac yn cynnwys pob chwaeth. A dylai pregethwr ddarparu ar gyfer angen y lliaws, ac nid yn unol â'i chwaeth ei hun: mae i

wneud ei hun yn bob peth i bawb er mwyn ennill rhai. Pan mae y bregeth yr un peth drwyddi, a phob pregeth yr un fath, rhaid mai i ychydig iawn mae honno. Mwy, onid oes amrywiaeth ymhob meddwl? a dylai pregeth fod yn amrywiol i gyfateb i hynny. Mae deall ymhob dyn, a serch, a chydwybod, ac ewyllys. A rhaid i'r bregeth siarad â phob un o honynt. Ymhellach, mae ymhob cynulleidfa, ac ymhob dyn yn wir, dipyn o'r bardd, rhaid dweyd gair wrtho ef; a thipyn o'r athronydd, rhaid iddo yntau gael tamaid; a thipyn o'r dyn ymarferol, rhaid cofio am dano yntau. Pregethwyr y Gydwybod oedd Newman, Massillon, a Monod; pregethwyr y deall a'r rheswm oedd Jonathan Edwards a'r Tadau Methodistaidd—a phwy yn fwy yn hyn na Phroffeswr Morgan, Caerfyrddin? Pregethwyr i'r teimlad oedd Vinet, Bersier, a Herber Evans. Trwy yr amrywiaeth nodweddion hyn ar yr Efengyl mae cyrraedd y galon. A beth am blant y gynulleidfa? Rhaid eu cofio hwythau.

(ix.) Mae pob pregeth i gael ei llywodraethu gan ei diwedd: mae i fod fel llong, y llyw o'r tu ol sydd i benderfynu lle mae i fynd. Yr oedd pob ffordd, gynt, yn arwain i Rufain; felly y dylai pob pregeth, a phob rhan o bregeth, arwain i'r galon. Dylai rhan gyntaf y bregeth ymwneud â'r deall yn fwy nag â'r teimlad, a'r rhan olaf o honi ymwneud â'r teimlad yn fwy nag â'r deall: a dylai ei diwedd fod yn gymwysiad yn siarad â'r gydwybod a'r galon.

(x.) Lle cydmariaethau *(illustrations)* yn y bregeth. Mae eu lle iddynt. Mae rhai, mae yn wir, yn eu camddefnyddio; mae pregethau rhai fel gwddf-dorch *(necklace)*—tipyn o linyn yn dal ynghyd y gleiniau o ystorïau dibwynt. Mae y camddefnydd hwn a wneir o honynt yn arwain ereill i'w diystyru yn llwyr.

Y meusydd i gasglu cydmariaethau o honynt ydynt:—(i.) Meusydd Natur. (ii.) Meusydd y Celfau a'r Gwyddorau. (iii.) Ac, yn enwedig, meusydd profiad amrywiol bywyd a chymdeithas. (iv.) Ac yn bennaf meusydd yr Ysgrythyrau.

Amcanion cydmariaethau ydynt,—(i.) I ysgafnhau y cyfansoddiad i'r gynulleidfa. (ii.) I egluro syniadau y bregeth. (iii.) I gymhwyso y gwirioneddau at y galon. (iv.) I gynorthwyo y cof. Meistriaid y gynnulleidfa yn y mater hwn oedd Williams o'r Wern, Christmas Evans, Guthrie, a Spurgeon; ac yn arbennig Iesu, y Pregethwr Mawr ei Hun.

Mae dwy ffordd i ddefnyddio cydmariaeth:—(i.) Un yw y ffordd ddychymygol, hedegog *(the idealistic)*. Mae cryn lawer o'r Saeson yn mabwysiadu y dull hwn; a'r rhan fwyaf o feirdd Cymru. Diffyg mwyaf y dull hwn yw ei fod yn tynnu sylw y gynulleidfa oddiwrth brif fater y bregeth, neu y paragraff, at y gydmariaeth,—peri i bobl agor eu genau, a synnu at fedr y siaradwr, yn hytrach nag agor eu clustiau a chredu i fywyd. Mae prif amcan defnyddio y gydmariaeth yn cael ei golli yn y dull hwn, ynghanol gau-farddoniaeth a ffolineb. Defnyddio y gydmariaeth er ei mwyn ei hun yw hyn, ac nid er mwyn y gwirionedd.

(ii.) Y ffordd arall, a'r fwyaf priodol, mae yn sicr, o ddefnyddio cydmariaeth yw yr un ryddieithol, gywir *(the realistic)*. Dyma ddull Butler

a Spurgeon, dull Christmas Evans a Herber; a dyma ddull ein Hiesu yn ei Ddamegion a'i Alegorïau.

Wel, dyna y bregeth yn barod; o ran *mater* mae yn *eglur*, yn *rymus*, yn *llawn*, yn *ddillyn*, yn *ddyddorus*, yn llawn hewyd *(pathos)*, ac yn *apelio* at bob un yn y gynulleidfa; ac at yr *oll* o bob un.

4. Wedi gwneud y bregeth, pa fodd i'w thraddodi? (1.) Dylai pregeth gael ei thraddodi, ei dweyd, ei siarad, ac nid cael ei chanu. Mae yn sicr fod dyddiau canu pregeth ar ben; a blynyddoedd ei *chantio* wedi eu rhifo i fyny. Siarader hefyd yn naturiol. Distryw areithyddiaeth pulpud Cymru yw ei harddull sectyddol. Mae gan bob enwad yng Nghymru ei arddull ei hun; mae y dawn, y llais, yr ystum, dal y pen, a'r pesychiad cysegredig yn tyngu i bob un o honynt. Mae bron holl bregethwyr pob un o honynt yn tyfu yr un ffordd; yn dod allan o'r un *fold;* a'r *mold* hono yn efelychu rhyw ŵr enwog. Fel mae dysg yn cynyddu mae hyn yn mynd mor wrthun a'r tonyddu a'r canu gynt.

(2.) Dylid, hyd y gellir, siarad heb bapur. Nid ydyw fod rhai, fel yr enwog Dr. Chalmers, yn fawr, er yn darllen y bregeth, ddim yn profi na byddent yn fwy pe y traddodent hi. Ond cofier, nid siarad difyfyr yw pregethu heb bapur. Mae yn llawer anhawddach siarad heb bapur na darllen y bregeth; mae yn gofyn mwy o baratoi, a gwaith mwy trwyadl. Nid ydym chwaith yn golygu adrodd pregeth, fel bachgen yn adrodd ei wers. Na, paratoi y bregeth yn fanwl, er mwyn meistroli y materion, a'i hysgrifennu yn ofalus, er mwyn cadw i fyny goethder y pulpud, ac eto nid ei dweyd air yn air; eithr gadael *margin* rhwng yr hyn a ysgrifenwyd a'r hyn a ddywedir, er mwyn (i.) bod yn agored i dderbyn ysbrydiaeth ar y pryd, a syniadau newyddion, oddiwrth y gynulleidfa; (ii.) a derbyn gwreichion datguddiad o ddylanwad yr Ysbryd Glân. Mae y dull hwn o bregethu yn fwy *naturiol*, yn fwy nerthol, ac yn fwy apeliadol na darllen pregethau. Mae yn wir ei fod yn rhoi mwy o brofedigaeth i aflerwch a diogi. I ysgoi hyn dylid ei wneud yn drylwyr a thrwyadl.

(3.) Dylid bod yn berffaith hunan-feddiannol yn y pulpud. Nid hyfdra digywilydd ydym yn feddwl; eithr hyder sanctaidd. Amharcdrwydd yw tad ofn yn y pulpud i raddau pell: a mamaeth hyder yw yr ymwybyddiaeth fod y bregeth yn barod, ac fod Duw ar ein deheulaw. A chyda y parod mae Duw bob amser. Rhyfyg yw rhodianna o dŷ i dŷ ar hyd yr wythnos, a dibynnu ar yr Ysbryd Glân i wneud popeth ar y Saboth dilynol. Peidiwch a *thrustio* gormod yn yr Ysbryd Glân yn y mater yma.

(4.) Gofaler na byddo dim yn tynnu sylw y gynulleidfa oddiwrth y bregeth. Y gwirionedd yw brenin y pulpud: dylai pob peth gael ei guddio gan y bregeth—Iesu yn unig yn y golwg. Dyma rai o'r pethau ydynt yn tynnu sylw cynulleidfa oddiwrth y bregeth:—(i.) Y pregethwr yn rhy anesmwyth yn y pulpud. (ii.) Chwareu yn ddibaid â'i gadach poced, neu â bytymau ei wisg. (iii.) Dyrnu y Beibl a'r Llyfr Emynnau. (iv.) Gwisgo yn anweddus; weithiau yn goegfalch, bryd arall yn goegfalchach fil trwy fod yn afler. Bod fel pob pregethwr arall yw bod yn ddifalch yn y pulpud; ac nid bod yn *odd*, ac afluniaidd.

(5.) Cadwer cynllun y bregeth o'r golwg. Mae dweyd y pennau oll gyda'u gilydd yn lladd dyddordeb llawer o wrandawyr; yn lle gwrando

änt i gysgu, neu i fyfyrio eu hunain ar y pennau. Dyweder pob pen a sylw fel y bydd eu heisieu.

(6.) Dylid ymdrechu sicrhau a chadw dyddordeb y gynulleidfa i fyny i'r diwedd. Gellir gwneud hyn (i.) Trwy foddhau y gynulleidfa â tharawd *(pitch)* priodol a gweddus. (ii.) Trwy gydmariaethau a hanesion tarawiadol. (iii.) Trwy amrywio y llais i ateb i'r syniadau. (iv.) Trwy ystum urddasol. Er popeth, gocheler gormodedd o ystumiau. (v.) Trwy roi ar ddeall i'r gynulleidfa ar unwaith mai ei llesiant hi yw y peth pennaf yn eich golwg.

(7.) Sut i siarad? Dyma y cwestiwn pwysig.

(i.) Siarader yn dyner. Nid lle i fod yn arw ac yn gas yw y pulpud. Yr ydym ni wedi dod o Sinai i Galfaria. (ii.) Siarader yn naturiol. Llais yr aelwyd a'r llais ymddiddanol yw llais y pulpud. (iii.) Siarader yn ddifrifol, ac eto heb fod yn feddrodol, nac yn esgobol o awdurdodol. (iv.) Siarader yn rymus; ac ar un cyfrif na adawer i'r llais a'r nerth ddiffygio cyn terfyn yr odfa.

"Begin low, proceed slow,
Rise higher, take fire;
When most impressed, be self-possessed"

Ac eto, dymunwn wneud un sylw ar hyn. Na ddechreuer siarad yn rhy isel. Mae rhyw *gast* gan rai pregethwyr i ddechreu siarad mor isel fel nad yw yn bosibl eu clywed. Fe ddylai y rhai hyn ddechreu pregethu rhyw ugain munud cyn i neb ddod i mewn; ac i'r gynulleidfa ddod i mewn pan geir ar ddeall fod y pregethwr, wrth gwrs, mewn cywair digon uchel y gellir ei glywed. Cam â chynulleidfa o ddynion, mewn oes brysur fel hon, yw eu cadw i edrych ar un yn sefyll o'u blaen yn y pulpud, am yn agos i hanner awr, ond na chlywant air o hono. Pe byddai y pregethwyr hyn yn troi diwedd y bregeth i'r dechreu, gallai y gynulleidfa fyn'd allan, a'u gadael hwy i ddiweddu yr odfa yn hamddenol yng nghwmni y siarad anghlywadwy a nodwyd. Nid diffyg gallu a nerth corfforol yw hyn, eithr *affectation* a *myfiaeth*; *trick* areithyddol. Hefyd na waedder yn uchel ac anurddasol yn y pulpud. "*When most impressed, be self-possessed.*"

(8.) Gadawer i'r materion a'r syniadau lywodraethu y llais, yn ei nerth, ei darawd (*pitch*), a'i ansawdd. Sicrhäi hyn amrywiaeth hapus yn y llefaru; cadwai i fyny ddyddordeb y gynulleidfa; ac arbedai fywydau llawer o bregethwyr da; undonyddiaeth sydd yn lladd siaradwyr.

(9.) Un gair eto, a'r olaf ar y mater yma. Peidiwch maldodi (*coaxio*) cynulleidfäoedd. Gofyn beth mae y claf yn hoffi yw hyn. Nid oes dim yn tynnu urddas y pulpud i lawr yn gymaint a chlywed dynion y gallesid disgwyl pethau gwell oddi wrthynt yn gogleisio a *coaxio* cynulleidfa. Perffeithrwydd yw *motto* y pulpud; nid *marketability*. Rhy isel yw i'r pregethwr sydd yn gennad dros Dduw at bechadur colledig ofyn iddo ei hun, wrth fyn'd i wneud pregeth, "Beth gymer oreu?" "Beth wertha heddyw?" "Beth fydd debycaf o greu hwyl?" Pregethau i'w teimlo sydd eisieu; nid pregethau i'w hedmygu. Peidiwch ymgeisio at fod yn bregethwyr mawr, eithr at fod yn bregethwyr da. Pregethwch i'ch eglwysi eich hunain hefyd; ac nid i bob eglwys ond

hi. Hynodrwydd rhai yw bod yn fawr a chartrefol ym mhob man ond gartref. Daliwch y brofedigaeth fawr hon; mae yn brofedigaeth lem, rhaid cydnabod. Ac mae ambell eglwys yng Nghymru yn euog o gynyrchu y drwg hwn. Eu nôd wrth ddewis gweinidog yw, cael un y byddo eglwysi ereill yn ei wel'd. Dyn Duw yw pregethwr i fod; ac mae yn anenwog yn yr eglwysi yn aml, fel y proffwydi yn Israel; ac fel yr Iesu ei hunan. "Gwae chwi, pan ddywedo pawb yn dda am danoch." Byddwch yn ffyddlon i'ch galwedigaeth.

## III. ELFEN GREFYDDOL PREGETHU.

Cadw enaid yw amcan mawr pregethu. Y bregeth yw offeryn effeithiolaf yr Efengyl i gadw, a dyna paham y dylai yr Efengyl fod yn llon'd pob pregeth. Duw, y cwymp, yr Iesu, yr Iawn, yr Eglwys, y Byd, a'r Farn, yw materion y bregeth.

Y fath alwedigaeth nefol! Perffeithio dyn Duw, adeiladu yr Eglwys, caboli y saint allan o feini mor eirwon, dwyn dedwyddwch i aelwydydd a theuluoedd, gwneud i ddaioni a heddwch ffynnu dros gyfandiroedd, achub eneidiau, a gogoneddu Duw. Mor aruchel! Mae mater y bregeth yn cynnwys popeth, nefoedd a daear; Duw a dyn; amser a thragwyddoldeb! Fe weddai i'r bregeth, yn anad dim, fod yn dra-rhagorol.

1. Dylai ysbryd y bregeth fod *yn llawn cariad.* Pwy all bregethu Efengyl cariad gyda chalon oer? Pwy all grybwyll yr enw Iesu, gyda thafod rewllyd? "Newyddion da, o lawenydd mawr," oedd pregeth gyntaf Efengyl, yn cael ei thraddodi gan engyl fflamllyd gogoniant. Nid oes dim yn cyfiawnhau pregethu oer, a difater. Cario cariad i'r galon yw cenadwri y bregeth.

2. Mae y bregeth i adeiladu. "Deisyfwch y doniau goreu, ond yn hytrach fel y proffwydoch." Mae popeth i fod yn is-wasanaethgar i'r adeiladu ysbrydol. Gwnewch y goreu o'r Coleg a'i fanteision, deisyfwch y Celfau a'r Gwyddorau, deisyfwch bob athroniaeth, deisyfwch y tlws, y dillyn a'r *aesthetic*; ac uwchlaw pob dawn, deisyfwch Synwyr Cyffredin, ond yn hytrach fel y proffwydoch. I feithrin y bregeth mae popeth i fod. Os nad yw y bregeth yn adeiladu, nid yw yn ddim. "Eithr yr hwn sydd yn proffwydo sydd yn llefaru wrth ddynion er adeiladaeth, a chyngor, a chysur." Mae yr anwybodus yn dod at y pulpud am adeiladaeth grefyddol; mae y tlawd a'r amryfus yn edrych i'r pulpud am gyfarwyddyd a chyngor; ac mae y trallodedig yn edrych i'r pulpud am gysur a dyddanwch. Y fath gynulleidfa ryfedd sydd gan y pregethwr i'w hanerch. Ac eto, anwyliaid y nefoedd ydynt. "Deuwch ataf Fi bawb ar y sydd yn flinderog ac yn llwythog, a Mi a esmwythaf arnoch."

3. Mae y bregeth i fod yn *fawr* a *llydan*, fel yr Efengyl ei hun. Mae llawer o siarad am "obaith mwy" (*larger hope*); eisieu pregeth fwy sydd; pregeth ddofn, i gyrraedd y dyfnaf yn ei bechod; pregeth lydan, i gyrraedd dros ben ffiniau enwad, a *shibboleth* credo, at y pechadur pellaf yn ei afradlonedd; a phregeth uchel, dàl, i ddweyd gair yn ei bryd wrth fawrion y ddaear, breninoedd a llywiawdwyr. Mor lydan oedd pregeth Paul, "Pa lesâd a wnaf i chwi oni lefaraf wrthych, naill ai trwy weledigaeth, neu trwy wybodaeth, neu trwy athrawiaeth?"

Mor lydan! mor syml! mor adeiladol! ac, am hynny, mor effeithiol! Nid gallu taflu y *line* yn *showy* sydd yn gwneud pysgotwr, ond dàl; dàl rywfodd, hyd yn oed gyda llinyn pwyntryd a phin ar flaen ffon. I wneud ei waith yn effeithiol dylai pregethwr wybod rhywbeth am bopeth, a phopeth am y peth mawr—y Beibl a chrefydd.

4. Mae y bregeth i fod yn *ddyrchafol* yn ei thuedd. Gwella dynion yw ei hamcan; codi, a dyrchafu dynion. Mae yn amhriodol iawn i ddefnyddio y pulpud i drin, i feio, ac i ddylorni. Mae dynion yn dod i Dŷ Dduw o ganol eu gofid a'u trallodion, o ganol eu temtasiynau a'u tywydd garw. O! mae angen bod yn dyner iawn wrthynt, yn ddiddanus iawn; a rhoi help llaw i'w codi, eu tywys, a'u harwain. Y pregethwr yn ei flodau ddylai y bregeth fod. Defaid ar ddisberod ymhlith y drain yw cynulleidfa pob pregethwr. Peidiwch a bod yn gâs wrth eich cynulleidfaoedd. Bu Iesu farw drostynt, byddwch chwithau yn dyner wrthynt.

### IV. ELFEN YSBRYDOL PREGETHU.

Dyma'r mater pwysicaf o'r cwbl. Mae perthynas agos rhwng yr Ysbryd Glân â phregethu yr efengyl. Yr un berthynas ag sydd rhwng gwaith yr amaethwr yn trin y tir ac yn hau, a gwaith Duw yn rhoddi y cynnydd. Addawodd Iesu Grist y rhoddid yr Ysbryd Glân i'r eglwys; ond mewn modd neillduol yn gynnorthwy i'r apostolion, ac i bawb a'u dilynent yn eu hymwneud â Gair yr Efengyl. Ac mae yn sicr fod mwy o angen dylanwad dwyfol ar bregethwr nag sydd ar neb pwy bynnag.

1. Yn gyntaf oll, dymunem wahaniaethu rhwng dylanwad yr Ysbryd Glân wrth bregethu a "hwyl." Mae yn sicr fod y naill yn cael ei gymeryd am y llall yn rhy aml. "Dawn yr Ysbryd" mae y Beibl yn galw y dylanwad goruwchnaturiol yr ydym yn son am dano; ac mae yn wahanol iawn i'r hyn a eilw rhywrai "hwyl." Mae y dawn ysbrydol sydd yn ysbrydiaeth pregethu yn anhebgorol i lwyddiant yr efengyl. "Gweddw crefft heb ei dawn," ebe yr hen ddiareb. O! pa faint o "weddwdod" sydd ym mhulpudau ein gwlad!

Ni ddymunem ddweyd gair yn angharedig am "hwyl"—hwyl iawn, onest, bybyr, ddwyfol. Ac nid peth Cymreig, yn unig, yw yr hwyl iawn hon. Dywed Elihu, mab Barachel y Buziad, o genedl Ram, am "hwyl" yn eu plith hwy fel Edumeaid, ym moreu oes y byd: dywed eu bod hwy yn arfer "hwylio eu hymadroddion." Mae *hwyl* iawn, yr ἐλᾶσία oedd ymhlith y Groegiaid, y "gyrru," y "mynd," y "carlamu," o ran yr ysbryd, yn beth hollol gyfreithlon; ac yn perthyn i bob cenedl; ac nid yn fwy yn neb nag yn y Cymro. Nid yn erbyn yr hwyl gyffredinol a dwyfol hon yr ydym yn dywedyd; eithr yn erbyn yr hwyl "gwneud," yr hwyl dwyllodrus, anonest; a eilw rhai yr hwyl Gymreig, Mae hwyl iawn o Dduw: o'r dynol yn unig mae yr hwyl dwyllodrus. Ac yn awr, sut mae adnabod yr hwyl genedlaethol hon oddi wrth ddylanwad yr Ysbryd Glân?

(1) Yr ydym, yn gyffredin, yn cysylltu "hwyl" â hyawdledd, sŵn, a thonyddu ystrydebol, yn fwy nag â dim arall. Nid ydym am wadu yn hollol ddylanwad hwyl—yn yr ystyr israddol a nodwyd—ar y meddwl. Fe all gynyrchu dagrau, a thoddi y teimladau; a thrwy

hynny fod yn gynorthwy ar brydiau, i'r pregethu. Ond, pryd arall, gall galedu dynion, wrth weled gormod o'r dyn a'r ddyfais areithyddol yn dod i'r golwg. Mae dylanwad yr Ysbryd Glân yn wahanol iawn i'r hwyl hon. Trwy ddynion di-hwyl yn gyffredin iawn mae yr Ysbryd Glân yn dylanwadu yn y pulpud: ond nid am eu bod yn ddi-hwyl chwaith. Nid yn y "gwynt," y "ddaeargryn," a'r "tân" yr oedd Duw ar Horeb, eithr "yn y llef ddistaw fain."

(2) Yr ydys, fel rheol, yn darparu ar gyfer "yr hwyl" ymlaen llaw. Yr ydys yn darparu ar gyfer yr hwyl fydd yn yr oedfa wrth ysgrifennu y bregeth. Ac mae y sŵn ar led fod rhai yn mynd mor bell yn hyn fel ag i nodi ar ymyl y tudalenau yn ei hysgrifau sut mae y traddodiad i fod; rhywbeth tebyg i hyn, "Siarad yn naturiol yma," "llais isel yma," "ystum a llais pruddaidd yma, "gwaeddu yma" Na chyhoedder hyn yn Gath; ac na sonier am dano yn heolydd Ascalon. Ynfydrwydd, rhagrith, a chnawd yw hyn oll. Darfydded o'n gwlad ynglŷn â'r efengyl. Arogl y chwareudŷ sydd ar hyn oll. Pan mae yr Ysbryd Glân yn dod, daw, fel rheol, yn ddiarwybod i bawb. "Yn ddisymwth" y disgynnodd ar ddydd y Pentecost.

(3) Ni a enwn nôd arall i adnabod "hwyl" oddi wrth ddylanwad yr Ysbryd Glân. Mae hwyl yn canol-bwyntio yn y pregethwr yn fwy nag yn y gynulleidfa; tra mae dylanwad yr Ysbryd yn effeithio ar y gynulleidfa yn fwy nag ar y pregethwr. Braidd na ddywedem fod dylanwad yr Ysbryd wrth bregethu yr un fath a chnu gwlân Gideon, y pregethwr yn gymharol sych a didwrw, a phawb ereill yn wlith i gyd: ond mae "yr hwyl" yr un fath â'r unrhyw gnu mewn cyflwr arall, y pregethwr yn wlyb drosto gan chwŷs a gwaeddu, a phawb ereill yn sychion iawn, fel "dyffryn" Eseciel. Arfer yr Ysbryd, pan ddaw, yw tanio pawb, y pregethwr a'r gynnulleidfa, nes gwneud yr holl le yn oddaith; dyna y dylanwad dwyfol. Ond weithiau gwelir y fath beth a thân—os tân hefyd—yn y pulpud yn unig, a phawb arall yn oer a didaro; dyna "yr hwyl," a hi yn unig. Gwyliwn hi.

(4) Ni a nodwn un peth eto i adnabod dylanwad yr Ysbryd oddi wrth "hwyl." Maent i'w hadnabod wrth eu ffrwythau. Synnu dynion mae "hwyl;" ond mae dylanwad yr Ysbryd Glân yn cadw dynion: a chaniatau y gwneir mwy na synnu trwy hwyl, y cynyrchir rhywbeth tebyg i dyfiant, eto ofnwn mai tyfu ar greigleoedd wna, lle ni cheir fawr ddaear; a gwywo am nad oes iddynt wreiddyn. Yr Ysbryd Glân sydd yn effeithio argyhoeddiadau a gwreiddiau iddynt. Mae o bwys cael yr Ysbryd Glân yn y pulpud, y llyfrgell, ac yn enwedig yn y galon.

2. Yr Ysbryd Glân yn unig ddichon gynnal i fyny feddwl y pregethwr dan ei dreialon Nid ydym yn cysylltu treialon â'r pregethwr yn ddifeddwl. Braidd na ddywedem fod treialon pregethwr yn amlach nag eiddo neb arall, ac yn drymach. Maent yn codi o'r cyfeiriadau hyn, ymhlith ereill, (1) Aflwyddiant yr achos; ac, fel rheol, iddo ef y priodolir y cyfan. Os bydd mynd ar bethau, ond odid mai rhywun arall fydd yn cyfrif am y llwyddiant; ond os bydd y gwersyll yn sefyll, fel rheol, rhoir y bai ar y weinidogaeth. Mae angen help yr Ysbryd i ddal peth fel hyn. (2) Difaterwch crefyddwyr; dyna ffynhonnell arall o ofid i bregethwr. (3) Anffyddlondeb swyddogion eglwysig. Yn hytrach na chynorthwyo y gweinidog ceir y rhai hyn

yn rhy aml yn rhwystr iddo, yn llesteirio ei holl gynlluniau er ffyniant yr achos. (4) Cynllwynion ymyrrwyr aflonydd a siomedig. (5) Diffyg cefnogaeth a chymeradwyaeth i waith gonest a chydwybodol. (6) Tuedd llawer o ddynion i gamesbonio ymdrechion y weinidogaeth. Rhai o gwynion y weinidogaeth yw hyn. Ac oni bai am nerth dwyfol i ymgynnal danynt, diffoddasai tân ac yni y pulpud er ys canrifcedd. Cariad at yr achos, at Iesu, ac at y praidd, sydd yn cynnal ysbryd y pregethwr gonest i ddal ati yngwyneb y rhwystrau hyn. Lle nad yw y cariad hwn at yr efengyl, at bregethu, ac at y praidd, mae y weinidogaeth yn rhwym o fynd yn fethiant. "Y mae y gwas-cyflog yn ffoi oblegyd mai gwas-cyflog yw: ac nad oes arno ofal am y defaid." "Y Bugail da sydd yn rhoi ei einioes dros y defaid." Mater o farw yn yr ymdrech yw gwaith gonest gweinidog da i Iesu Grist. Ac yng nghynnorthwy yr Ysbryd Glân y gellir gwneud hyn.

3. Mae angen dylanwad yr Ysbryd Glân i gadw i fyny safon uchel o burdeb a duwioldeb addas i'r weinidogaeth. Po agosaf y byddo un at Dduw, sancteiddiaf oll y dylai fod. Un agos at Dduw yw pregethwr. Yr oedd yn rhaid i'r offeiriad ymlanhau yn Israel yn fwy na neb arall. Pa faint mwy felly y dylai pregethwr Efengyl fod yn gymeriad glân? Mae y Moses sydd i ymddangos yn y mynydd gyda Duw i fod yn gymeriad pur iawn: dyna paham mae ei wyneb yn disgleirio wedi dyfod o'r mynydd.

Gwelir rhai pregethwyr yn bur esgeulus yn y peth hwn. Allan o'u dosbarth, ymysg lleygwyr dyeithr, maent yn seremonïol o lân a duwiol yr olwg arnynt, fel pe byddai yr ymadroddion hynny yn wastad ger bron eu meddwl, "Tewais yn ddistaw tra yr oedd yr anuwiol yn fy ngolwg." Ond ymhlith eu cyd-bregethwyr, a rhyw gyfeillion ffafredig, hai ati! maent yn ysgafn, yn gellweirus, annuwiol. Nid oes dim niwed, eithr budd mawr, mewn tipyn o ddigrifwch sanctaidd weithiau; ond mae yr ysgafnder pechadurus yr ä ambell frawd esgeulus iddo weithiau yn ddirmyg ar y weinidogaeth, yn andwyol i bawb dd'ont i gysylltiad â'r ysgafnder; ac mae yn rhwym o fod yn ddwbl ddinystriol i galon ac ysbryd y rhai ydynt yn y camwedd. Gradd helaeth o ddylanwad yr Ysbryd i beri i un gofio o hyd ei fod yn "llestr etholedig" i Dduw a'i ceidw rhag hyn oll.

4. Eto unwaith. Mae angen dylanwad yr Ysbryd Glân i gynnal i fyny frwdfrydedd yn y pulpud. Fe ellir cael dysg, a dawn, a hyawdledd, a destlusrwydd, a safle, yn perthyn i'r pregethwr, ond heb frwdfrydedd i roi y cyfan ar dân, nid ydynt ond "efydd yn seinio a symbal yn tincian." Cydmara Longinus, Cicero a Demosthenes fel hyn, "Dywedai y bobl am Cicero, 'y fath areithiwr ardderchog! Y fath gyfansoddiad godidog! Y fath iaith ddestlus! Y fath lais peraidd! Y fath draddodiad hyawdl!' Ond ar ol clywed Demosthenes dywedent, 'Awn ac ymladdwn â Phillip.'" Dyna sydd yn cario dylanwad o hyd ar gynulleidfa o ddynion—brwdfrydedd. Dyma yr "hwyl" iawn. Hyn sydd yn gwneud i ddynion waeddi allan, "Ha, wŷr frodyr, beth a wnawn ni, fel y byddom gadwedig?" Ac ereill i waeddi, "Awn, ac ymladdwn â phechod."

*Ton—Ystrad.* M. C. MORRIS.

## LLYFR HYMNAU NEWYDD Y METHODISTIAID.

MAWR yr amrywiaeth barn sydd am hanfodion emyn; ac arwydd er daioni yw fod emynyddiaeth a chaniadaeth y cysegr yn cael y fath sylw'r blynyddoedd diweddaf hyn. Gynt, y bregeth oedd popeth, ac ymhell y byddo'r dydd i honno golli gafael ar y werin. Erbyn hyn y mae canu yn dyfod yn rhan bwysig o'r gwasanaeth, ac ymdrech yn cael ei wneud i ddethol y pethau mwyaf cyfaddas fel cyfryngau mawl. Os gall Cymru ymffrostio mewn unrhyw gangen o lenyddiaeth, gall wneud hynny gyda balchder esgusodol yn y gangen emynnol. Y mae gennym gyfoeth o emynnau nas gellir eu rhagorach, am eu bod wedi eu trochi mewn gras. Cynyrchion dynion sanctaidd Duw ydynt, ac ni fyddai yn ormod ychwanegu iddynt ganu "megys y cynhyrfwyd hwynt gan yr Ysbryd Glân." Yng ngwyneb gwahanol olygiadau crefyddol, ac yng ngwyneb dadleuon tanllyd ar bynciau ffydd a chred, cenir yr emynnau gan bob plaid yn ddiwahaniaeth, ac addolir y Duw Goruchaf drwyddynt yn yr un ysbryd â thrwy ganiadau Perganiedydd Israel. Sut y mae cyfrif am y gallu hwn sydd yn emynnau Cymru i unoli pob plaid? Nid oes un ffordd i gyfrif am hynny ond trwy gredu eu bod wedi eu cyfansoddi yn yr un ysbryd ac yn yr un goleuni ag eiddo'r Salmydd gynt. Yr oedd athrylith awenyddol Dafydd dan arweiniad, a hynny yn ddiarwybod iddo ei hun. Tywalltai allan ei brofiad yn y ffigyrau mwyaf cyfaddas, gan egluro daioni a thrugaredd Duw, heb ei faglu gan y balchder gwag hwnnw sydd yn chwennych cymeradwyaeth dynion. Felly yn union y canai y goreuon o'r emynnwyr Cymreig. Dyna'r unig ysbryd all gyfansoddi emyn; ac y mae mor hawdd i'r ysbryd hwnnw a dweyd profiad. Ffurf neillduol ar brofiad ydyw, ac y mae profiadau'r saint ymhob oes yn debyg iawn i'w gilydd.

Yr oedd yr hen emynnwyr gynt yn canu am nas gallasent beidio. Llestri yn llifo drosodd oeddynt. Dyna sydd yn cyfrif am y bywyd a'r eneiniad sydd ar eu llinellau. Cyfansoddwyd y goreuon yn adeg y diwygiadau mwyaf nerthol. Y tân cyfriniol hwnnw yw y peth byw sydd yn aros yn yr emyn. Gwirioneddau wedi cronni mewn calon dduwiolfrydig, ac yn cael eu bwrw dros yr ymylon gan gynhyrfiadau, yn ddafnau ysbrydoledig mewn ffurf neillduol. Dyna ddirgelwch yr arddeliad sydd ar hen emynnau. Yn wir y mae perthynas agos iawn rhwng Ysbrydoliaeth ac Awenyddiaeth yn y gangen hon. Hynny yw, awenyddiaeth yn ystyr uchaf y gair. Nid cynghanedd gaboledig yn ogoniant ar gelfyddyd. Nid llinellau wedi eu bwrw at eu gilydd mewn odlau soniarus; ac nid creadigaeth newydd o syniadau oerion ar fesur. Ond yr awenyddiaeth brin honno sydd yn gwella pen a chalon y byd. Y dyeithr beth hwnnw sydd yn cyffroi meddyliau oesoedd yn ddiwahaniaeth. Rhywbeth nad yw'n mynd yn hen, ac nad yw'r byd yn blino arno. Gallu prin ydyw hwn; ond lle bynnag y ceir ef, y mae yn anhawdd ei wahaniaethu oddiwrth Ysbrydoliaeth bur. Nid talent ydyw, ac nid athrylith ynddi ei hun, eithr athrylith dan eneiniad arbennig. Nid oes un ffordd arall i gyfrif am debygolrwydd yr hymnau Cymreig i Salmau a hymnau y Gyfrol Ysbrydoledig.

Y mae symledd diaddurn y gangen hon o lenyddiaeth wedi hudo llawer i ymgynnyg ar waith nas gwyddant ddim am dano. Gall pawb wneud pennill, a gall dyn o feddwl cryf, ac o synwyr cyffredin cymedrol, wneud cân a ddeil brawf beirniadaeth, tra y cedwir y gân honno o fewn ei chylch. Ond treisier y cyfryw i gylch arall, i gylch cysegredig emynnau Seion, a bydd yn ddiymadferth hollol, ac mor amddifad o ysbryd canu mawl a physgodyn mewn llyn. Y mae yn hawddach i feirdd yr oes hon gyfansoddi pryddest o fil o linellau, neu wneud awdl ar y Pedwar Mesur ar hugain, na gwneud emyn o dri phennill. Pam hynny? Am ein bod yn byw mewn cyfnod mor oer ar grefydd, a chysylltiadau cymdeithasol na wyddai eu tadau fawr am danynt yn ein daearoli hyd yn oed yn y cylchoedd mwyaf cysegredig. Ond nid yw llenyddiaeth Gymreig i fyw byth ar y gronfa o emynnau sydd gennym yn barod. Awgrymodd un o arweinwyr y genedl, dro yn ol, nas gallwn ddisgwyl rhagor o emynnau, fod y cyfnod hwnnw wedi myned heibio. Ond yr oedd sylw felly yn codi o syniadau anghywir am hanfodion emyn. Os gellir profi fod diwygiadau crefyddol wedi llosgi allan yng Nghymru am byth—ac na ato Duw i hynny fod yn wir; os yw calon y wlad i fod yn haiarn, a'r nefoedd yn bres oddiyma ymlaen; os yw mynydd Seion wedi ei droi yn Gilböa, na ddisgynna arno na gwlith na gwlaw byth mwy; yna y mae cyfnod emynyddiaeth Cymru wedi ei selio i fyny. Ond credwyf fod ystyr eto i'r hen bennill hwnnw:—

"A'i weithrediadau megys tân,
O! deued Ef i lawr."

A phan ddaw hwnnw, yn ei ddylanwadau nerthol fel cynt, fe ddaw âg ysbryd cân a moliant gydag ef; ac fe fydd yn hawddach i ddyn ar dân ganu emynnau na dim arall. Ond nid oes ofod i ymhelaethu yn y cyfeiriad hwn.

Yn y TRAETHODYDD am fis Mawrth ceir erthygl ddyddorol ar "Lyfr Hymnau Newydd y Methodistiaid," gan y Parch. J. Puleston Jones. Y mae yn alluog ac yn ddoniol. Amheuthyn yw cael ysgrif mor fyw, mewn arddull mor newydd, heb lwydni canrifoedd ar un o'i brawddegau. Feallai nad yw y syniadau yn llawn mor newydd, yn arbennig y rhai sydd a mwyaf o arddeliad arnynt. O safle'r awdwr ei hun, y mae ei ymdriniaeth â'r pwnc yn hollol deg, ac yn ddidderbynwyneb. Y mae ganddo ddigon o amrywiaeth i roi hwyl ar ddarllen, ac i wneud i bawb wrando gyda genau agored. Weithiau yn ogleisiol fwyn; bryd arall yn trywanu'n llym. Weithiau yn torri'r blwch enaint ar ben y Pwyllgor; y funud nesaf yn gofyn, "I ba beth y bu y golled hon?" ac yna yn ei goroni â drain. Diau fod y Pwyllgor hwn, fel pob cyngor o'i fath, yn haeddu gwg a gwên, er, fel y dywed yr awdwr, "Na fu Pwyllgor gonestach am gymeryd trafferth na'r un a wnaeth y casgliad hwn. Y mae ol gwaith trwyadl, manwl ar bob dalen." Nid amddiffyn y Pwyllgor yw amcan y nodiadau hyn, oblegyd, ar wahan i'r llyfr hymnau, y mae erthygl fy nghyfaill siriol yn ddigon o anfarwoldeb ar hwnnw. Cymerwn yr ysgrif i fyny ar ei thir ei hun. Gan fod opiniynau can amled a phennau pobl, a chwaeth y lliaws yn amrywio mor ddiderfyn, ofer disgwyl i unrhyw gasgliad gyrraedd y perffeith-

rwydd hwnnw fydd yn ei osod uwchlaw beirniadaeth. Nid oes niwed mewn beirniadaeth, os na fydd egwyddorion amheus yn gymhelliad iddi. Gall fod yn iechyd i galon cymdeithas, yn gystal ag yn rhyddhad mawr i feddwl puraidd y beirniad ei hun.

Cyferbynnir yr hen lyfr a'r newydd yn bur fanwl. Canmolir yr un o'r blaen yn fawr, ac nid heb achos. Diamheu ei fod y lyfr hymnau goreu yn ei ddydd. Ond ar wahan i'w ddiffyg trefn, yr hyn a gydnabyddir gan Mr. Jones, yr oedd ynddo doraeth o emynnau yn marw o newyn mewn dinodedd—emynnau nad oedd neb byth yn meddwl am danynt fel cyfryngau mawl. Llïaws yn rhy anafus i gerdded, ac yn dysgwyl i rywrai eu bwrw i'r llyn, a neb yn gwneud drwy'r blynyddoedd. Ereill wedi syrthio ar y ffordd, nid ymhlith lladron, a'r offeiriaid a'r Lefiaid bob Sul, gŵyl, a gwaith, yn myned heibio'r ffordd arall, heb un Samariad i'w cymeryd ar ei anifail ei hun. Dyddorol iawn fyddai galw i gôf faint o emynnau'r hen lyfr, wedi'r cwbl, oedd yn arferedig ac yn boblogaidd. Y mae eu nifer yn anghredadwy o fychan. Cofus gennyf glywed blaenor parchus yn dweyd iddo gadw cyfrif un flwyddyn, ac nad oedd y nifer yn y capel hwnnw yn fwy na rhyw dri dwsin, er fod wyth yn cael eu rhoddi allan bob Sul. Pa un ai yn y llyfr ei hun, ynte'r tu allan iddo, yr oedd y diffyg, nis gwyddom. Ond dyna hanes yr hen. Fe allai mai dyna fydd hanes y newydd hefyd; amser a ddengys. Y mae yn rhy gynnar eto i roddi barn bendant ar un o ddirgeledigaethau y dyfodol.

Gyda golwg ar drefniant y newydd, y mae yn amlwg i rywrai gymeryd trafferth dirfawr i'w wneud mor berffaith ag oedd yn ddichonadwy dan yr amgylchiadau. Cwyna rhai ar fanylder y mynegai yn ei ddechreu, yr hyn sydd yn un o ragoriaethau amlwg y llyfr. Yn y cyfeiriad hwn y mae wedi rhoddi cam mawr ymlaen, ac wedi gadael y lleill i gyd ar ol yn y cysgodion. Iawn y dywed Mr. Jones fod hyn yn "goron" ar bob rhagoriaeth arall. Pan ddaw y llïaws yn gynefin â'r llyfr newydd, fe drawsnewidir y cwynion yn edmygedd ac yn ddiolchgarwch. Fel rheol, yr unig dramgwydd mewn casgliad fel hwn yw ei newydd-deb. Y mae yn cau i fyny hen lwybrau cyfarwydd, ac yn arwain y darllennydd i feusydd oedd yn ddyeithr iddo o'r blaen. Anhawdd ei argyhoeddi ar unwaith fod yn bosibl i ddim newydd fod cystal a'r hen. Y mae ei brofiad yn y naill yn creu rhagfarn at y llall. Dyna hanes y llyfr a gyhoeddwyd yn 1869. Yr un cwynion a ddygid yn erbyn hwnnw ag yn erbyn y casgliad presennol—hymnau sâl i fewn, a rhai da allan; a gofynwyd cwestiwn Mr. Jones lawer gwaith y pryd hwnnw, "A dalodd y drafferth am dani ei hun?" Cynefindra, i raddau pell, sydd yn rheoli barn y llïaws gyda phethau fel hyn, ac nid yw hynny yn safon ddiogel i benderfynu rhwng y gwych a'r gwael. Pan gyhoeddir argraffiad arall yn y dyfodol, odid fawr na cheir adgyfodiad arall i ddrychiolaethau cyffelyb. Bu penillion yn boblogaidd unwaith fuasent yn drosedd ar chwaeth cynulleidfa yn ein dyddiau ni. Odid fawr na fydd rhai yn synnu na fuasai y pennill hwn i fewn i'r cynhauaf—

"Mae adar tô mewn gwlad a thref,
A'r brain yn dysgwyl wrtho Ef;
Yr Hwn sy'n porthi rhain o hyd,
A'n gwnelo ninnau'n frain i gyd."

Ond y mae y byd yn myned yn ei flaen, ac y mae yn well gan bobl erbyn hyn delynau angylion na chrawciadau brain. Daw yr un teimlad i'r golwg gyda'r canu. Pan gyhoeddwyd llyfr tonau Ieuan Gwyllt, ofnai llawer hen Biwritan duwiol fod canu'r cysegr yn mynd yn ganu maswedd. I'r hen bobl dda hynny, canu tonau o'r cof, ac o'r galon, heb lyfr, oedd yr unig ganu mawl. Yr wyf yn cofio yn dda, ar ddiwedd cyfarfod canu, pan ddaeth y llyfr tonau i arferiad, i'r cwestiwn gael ei ofyn i hen bererin oedd yn dipyn o ganwr ei hun, "Beth feddyliech chwi o'r canu?" "Wel," meddai'r hen frawd, gan fwrw'i aeliau yn fargod trwm dros ei lygaid, "y maent yn canu yn bur dda, ag ystyried eu bod yn canu wrth *Notes*." Yr oedd ei gynefindra â'r hen drefn yn ei gwneud yn gysegredig yn ei olwg, ac yn peri iddo edrych ar y newydd, nid yn unig fel peth sâl, ond hefyd fel peth peryglus.

Cydolygaf yn hollol â Mr. Jones, "fod y gelfyddyd ddyrys o ddosbarthu emynnau, yn ol eu materion, wedi ei dwyn i'r perffeithrwydd llwyraf yn y llyfr hwn." Y mae hynny ynddo ei hun yn ymddangos i mi yn ddigon o dal am y "drafferth." Dyma un o ddiffygion mawr yr hen lyfr, ac, o bosibl, un o'r rhesymau cryfaf fod llawer o'i emynnau wedi eu claddu yn fyw. Yr ydym yn byw mewn oes a llawer o fynd ynddi—oes ddiamynedd i aros gyda phethau ag y gellir symud ymlaen yn weddol hwylus hebddynt. Er fod yn yr hen lyfr gyflawnder o emynnau da, o ran materion, yr oeddynt blith draphlith, ac yr oedd chwilio am bennill ar bwnc neillduol, lawer pryd, mor boenus a chwilio am nodwydd mewn cae gwenith. Dyna'r rheswm fod y pethau agosaf at law yn cael eu canu fyth a hefyd; ac os yw y llyfr newydd wedi llwyddo i symud yr aflwydd hwn, ac yn gam ymlaen i ganu cynnwys yr holl lyfr, yn sicr fe dâl yn dda am dano ei hun. Yr unig gwyn a ddygir yn erbyn y drefn yw; nad yw y rhif yn y llyfr hymnau yn cytuno a'r rhif yn yr argraffiad cerddorol. "Os oes lle i gwyno o gwbl," ddywedir. Nid yw Mr. Jones yn sicr ar hyn. Ond i waradwyddo y godidogrwydd sydd o ddynion, ac fel "na'm tra dyrchafer," barna'n well gosod hyn i lawr fel "bai bychan." Dymunol iawn fuasai cael y rhif yn cytuno yn y ddau, ond yr oedd hynny yn amhosibl heb leihau cryn lawer ar gynnwys y naill a'r llall; ac ofnwyf pe gwnaethid hynny, mai y farn gyffredinol fuasai fod y drafferth yn llawer mwy na'r elw. Canmolir yn fawr briodas hymnau a thonau yn yr argraffiad cerddorol —priodasau hapus ydynt gan fwyaf; a chydnebydd pawb yn ddiau, fod hynny yn anhraethol bwysicach ar aelwyd cân, na phriodasau diserch rhifnodau ar y trothwy. Camgymeriad dybryd fuasai bwrw allan hen donau fel ysbrydion aflan i wneud lle i'r un rhai hanner dwsin o weithiau drosodd. Y mae rhai eisoes i fewn fwy nag unwaith, ac y mae hynny wedi bod yn ofid mawr i ambell un sydd yn dysgwyl y swm mwyaf am ei brês; ac, o'r ochr arall, y mae gwynebau rhai hyd heddyw yn ddu gan alar ar ol yr ychydig fwriwyd allan o ddiffyg lle ac o ddiffyg anfarwoldeb. Buasai cael llai o donau ar yr adeg bresennol, ac ail adroddiadau mynych o'r un rhai, yng ngolwg gwlad yn gam anferth yn ol, ac nid ymlaen. Y mae y cynllun a awgrymir yn ddifrifol o undonog, ac yn gwneud i ffwrdd â'r amrywiaeth hwnnw sydd yn cadw bywyd a phrydferthwch ar y rhan gerddorol o'r gwasanaeth. Cyfynger yr un emyn wrth yr un dôn, fe genir y ddau i farwolaeth.

Heblaw hynny, yr oedd yna amcan arall mewn golwg wrth beidio lleihau'r llyfr—yr hymnau yn enwedig; sef yr un a gymeradwyir gan Mr. Jones mewn adran arall. Nid yw ei awgrym am gasgliad llai yn cytuno yn hollol â'i syniad am ail ddiben llyfr hymnau. Yr oedd y ddau amcan yn ddiau mewn golwg gan y Pwyllgor. Cael llyfr i'w ganu, ac hefyd i fod yn gydymaith teilwng i'r Bibl ar yr aelwyd gartref. I'r amcan olaf hwn nid oedd angen cyfnewid llythyren, ond rhaid oedd cael y ddau argraffiad yn unffurf.

Gellir crynhoi rhagoriaethau cyffredinol y llyfr newydd, yn ol yr erthygl, dan dri phen: 1. Perffeithrwydd trefn. Y mae yn ddiau yn anghydmarol yn hyn. 2. Priodasau diofid hymnau a thonau. Gwyr pawb fod cyfamodau cariadus yn fendith ymhob cylch. 3. Cywirdeb hanesyddol. Y mae hyn yn dêg â'r marw, ac yn ddyddorol i'r byw. Daw y diffygion eto i fewn dan yr un nifer o benau. Salwch emynau newyddion; clytio'r hen a'r newydd; a iachau'r cloff o'i enedigaeth. Y tri hyn, a'r mwyaf debygyd yw yr olaf. Y mae yn y newydd dros dri chant a hanner o benillion nad oeddynt yn yr hen, a chredwyf fod mwy na'u hanner ymhlith goreuon yr emynnau. Nid ydynt yn ddigon hen eto i gael y parch a deilyngant. Y mae hymnau, fel popeth arall, wrth heneiddio yn mynd yn ddyfnach i galon gwlad. Cydnabyddaf yn rhwydd fod yma raddau, ond camgymeriad yw dweyd mai ychydig yw y rhai cadwedig. Mewn Pwyllgor o ddwsin, rhaid gweithredu llawer yn ol yr egwyddor o roi a chymeryd. Nid wyf yn sicr nad cynllun Mr. Spurgeon fyddai'r goreu. Pwyllgor o dri, a dau yn absennol bob eisteddiad. Bu Mr. Jones yn ffodus iawn yn ei ddifynniad o beth sâl, er mai Dr. Watts yw yr awdwr; a thebyg ei fod yn iawn yn ei ddeongliad sut y daeth i fewn. Emyn digon diniwed ydyw. Synnwn i ddim er hynny, mewn cynulleidfa fydd wedi anghofio beirniadu, na chaiff ambell un "nefoedd fechan bron" wrth ei ganu. Gan mai un engraifft o beth sâl ddifynnir, digon i minnau, i fod ar yr un tir, fydd nodi un da gan awdwr diweddar—"Gwel uwchlaw cymylau amser," Islwyn. Dyma un o'r emynnau mwyaf poblogaidd y dyddiau hyn, gan bob enwad drwy y wlad. Os oes bai arno, rhy farddonol ydyw. Dyna nodwedd popeth o eiddo'r bardd anwyl hwnnw. Yr oedd hyd yn oed yn gweddïo yn farddonol yn ddiarwybod iddo ei hun, ac nis gallasai wneud fel arall heb ei ail greu.

Cywir iawn y dywedir mai emynnau ar achlysuron neillduol yw y salaf ymhob llyfr. Anhawdd iawn cael dim o nodwedd emynnol ar Ddirwest. Fel rheol, bydd gormod o ddirwest ar wyneb y pennill, a rhy fach o'r egwyddor yn ei galon. Rhaid cael yr enw ar ei dalcen i'w adnabod. Fel y plentyn hwnnw yn tynnu llun ceffyl, ac yn ysgrifennu dano, *This is a horse*, rhag i neb ei gamgymeryd am eidion. Ond gan fod cri yn y wlad fod y mater hwn yn haeddu mwy o sylw am dro, nid oedd dim i'w wneud ond cyfarfod y cri goreu gellid.

Ymosodir yn drwm ar glytio emynnau. Y mae hyn yn hen fai, a gellir ei olrhain yn ol i ddiwedd y ganrif ddiweddaf. Er pan brofwyd "Grawnsypiau Canaan," ar ddannedd y plant y mae dincod. O'r casglwyr diweddar, am wn i nad Eben Fardd, yn ei atodiad i'r "Salmydd Cymreig," oedd y pechadur mwyaf. Manion a anghofiwyd yw hwnnw bron i gyd. Lloffion wedi eu casglu o bob cwr o'r cae, ond

yn ysgubau digon taclus wedi eu rhwymo ynghyd. Nid oes nemawr un o honynt yn y fan lle tyfodd. Dyna'i ddiffyg; ond y mae ei gynnwys, er hynny, yn glod i chwaeth bur a duwiolfrydedd ysbryd y bardd o Glynnog. Y perygl wrth gasglu penillion gwasgaredig ynghyd yw colli unoliaeth a chyd-ddilyniad syniadau. Y mae emyn yn wahanol iawn i gyfres o ddiarebion, gan ei fod i'w ganu drwyddo ar yr un dôn. Dylid bod yn dra gofalus; yn enwedig wrth uno penillion hen a diweddar. "Y mae y Pwyllgor wedi gwneud cryn lawer o hyn," meddai Mr. Jones. Tybed? Ai nid yw wedi camgymeryd y ddau Bwyllgor? Cawn fwy o hyn o lawer yn yr hen nag sydd yn y newydd; ond anaml y mae yn cael ei gydnabod. Bid sicr, gadawyd yr hen i fewn am fod yr ieuad yn ddigon cydmarus, a'r wlad erbyn hyn wedi cynefino â'u canu. Cymerodd y Pwyllgor diweddaf drafferth enbyd i gael allan awdwr pob pennill, hyd oedd yn bosibl; ac ofnwyf mai y gwahanol enwau i benillion yn yr un emyn, lawer pryd, gamarweiniodd fy nghyfaill i feddwl mai clytwaith newydd oedd y cwbl. Perthyn i oruchwyliaeth arall y mae y rhan fwyaf o'r hyn y cwyna o'i blegyd, ac nid yw yn iawn beio'r Pwyllgor diweddaf am fod enwau'r awdwyr yn bradychu'r ffaith. Cam âg ymchwilwyr mor ddiflino yw dweyd iddynt wneud "cryn lawer o hyn." Gwnaethant ychydig, gan nodi allan lawer a glytiwyd o'r blaen, ac y mae yn syn iddynt allu cadw eu dwylaw mor lân dan yr amgylchiadau.

Dwy engraifft a nodir o lain o frethyn newydd wrth hen ddilledyn. Gallesid nodi dwy arall; ond nad oes fawr o wahaniaeth yn lliw y defnydd. Canmolir yr engraifft gyntaf fel pennill teilwng o le mewn unrhyw lyfr hymnau, ond amheuir doethineb ei leoliad. Yr wyf yn hollol gydolygu. Buasai gwneud pennill arall at hwn, a gosod y ddau yn emyn ar wahân, yn well. Unig fai y pennill arall yw, diffyg "ias o gynghanedd." Goreu po leiaf o gynghanedd fyddo mewn emyn. Dyna fai mwyaf emynnau Maesyplwm, a dinystr Salmau Gwilym Canoldref. Pedr Fardd oedd yr unig un fedrai roi cynghanedd mewn emyn yn ddifagl. Nid yw yn weddus ymgywreinio wrth addoli. Ond nid dadleu dros hon y mae ein cyfaill, ond fod arddull y pennill newydd yn torri ar gynghanedd yr hen. Y mae bron cymaint o'r ias hwnnw yn y naill a'r llall, ac y maent yn cyd-doddi yn hollol o ran ysbryd. Prin y gellir dweyd fod yma glytio darn newydd wrth hen ddilledyn, oblegyd yr oedd y ddau awdwr yn cydoesi, ac yn cydlenydda, a'r naill yn llawn cystal emynnydd a'r llall. Gan nad oedd dim ond diffyg "ias o gynghanedd" yn erbyn yr ieuad hwn, tro dipyn yn angharedig oedd gwneud cymaint o helynt yn ei gylch; ac y mae y cyfeiriad arall sydd yn yr ysgrif at yr un awdwr yn arogli mesur o ragfarn bersonol.

Y mae dau reswm dros gyfuno rhai penillion, er i'r Pwyllgor diweddaf fod yn eithriadol gynnil yn y gwaith. Un yw, prinder emynnau ar faterion neillduol. Y mae Mr. Jones ei hun wedi cyffwrdd â hyn yn ei gydmariaeth o ddewis blaenoriaid. Ond ni fyddai eglwys heb flaenor ymhlith y Corph yn Fethodistaidd. Dyna gyflwr yr hen lyfr. Os yw emynnau yn brin ar faterion neillduol, doethineb yw "clytio" 'r goreuon i gyfarfod â'r angen; a phe byddai yn bosibl clytio hanner dwsin o ddynion cyffredin ynghyd, feallai y gwnaent un blaenor go dda.

Y rheswm arall yw, fod ambell hen bennill ardderchog fel meudwy ar ei ben ei hun; ac mewn oes mor gerddorol a hon, os gellir ei briodi â chydmar teilwng, i gyd fyw dan ganu, y mae hynny yn well na gadael llonydd iddo i fyw neu farw mewn unigrwydd digymdeithas. Wedi'r cwbl, onid math o glytwaith yw rhai o'r emynnau goreu yn yr iaith? Gwaith yr un awdwr, mae'n wir; ond wedi eu casglu oddi yma ac oddi draw, o'u cysylltiadau cynhenid. Beth am yr emyn—"O! Ysbryd pur nefolaidd?" Fe'i cymerwyd o "Theomemphus" Williams. Y pennill cyntaf o bregeth "Boanerges;" yr ail o'r bennod ddilynol; a'r ddau olaf, heb fod yn nesaf i'w gilydd, o bregeth "Evangelius." Felly am amryw ereill o bethau goreu Pantycelyn; ac erbyn hyn y maent mor gynnes wrth eu gilydd a phe wedi tyfu ar fynwes y naill y llall. Y mae rhai a glytiwyd hefyd yn yr hen lyfr wedi eu dwyn yn ol i'w ffurf wreiddiol yn y newydd; megys, "O! iachawdwriaeth gadarn." Darn o bennill arall oedd yn diweddu hwn o'r blaen, ond yn bresennol, y mae fel y cyfansoddwyd ef.

Awn heibio'r "pahamau." Y mae iâs o dduwinyddiaeth o gwmpas y rhai hyn. Hen gwestiynau anorffen yw y "Paham" a'r "Pa fodd." Rhyw un ateb mawr, fel arfer, fyddai'r goreu yn y fan hon,—Canys felly y rhyngodd bodd yng ngolwg y Pwyllgor. Dichon fod rhesymau agosach dros adael allan y pennill,—

"Cyflawn o frasder yw'r tŷ tau."

Er cystal ydyw, y mae yn edrych yn beth truan iawn, ac yn gantwr digon di-swyn, yn ymyl yr adnod, "Llawn ddigonir hwynt â brasder dy dŷ; ac âg afon dy hyfrydwch y diodi hwynt."

Yn ol syniad yr adolygydd parchus, ymddengys fod y ddau lyfr yn bur gyfartal nes dod ar draws rhyw "chwiw" yn yr olaf. Yna y mae yn ymgynhyrfu drwyddo, ac yn tywallt dialedd llosgedig ar lofruddion y proffwydi. Yr wyf yn elyn anghymodlawn fy hun i ymyrrwyr diddawn ar dir mor gysegredig. Y mae llawer hen bennill yn y blynyddoedd gynt wedi ei ddadgymalu yn greulon, ac fe'i dygir ger ein bron yn rhyw greadigaeth newydd, a mwy na'i hanner yn goed. Bwrir llawer i garchar am droseddau llai. Nid oes hawl gan neb i lofruddio pennill, a rhoi enw yr awdwr wrtho wedi ei ddieneidio. Er hynny y mae yn bosibl i sel danllyd arwain dyn i eithafion yn ei gondemniad ar gyfnewidiadau, oblegyd nid oes dim eto wedi ei gyfansoddi yn berffaith. Awgrymir gwelliantau yn aml i awduron byw, a diolchir yn garedig am danynt; ac y mae yn ddigon posibl newid ambell air, os bydd galw am hynny, yng nghynyrchion y meirw, ag y byddai ysbrydoedd cyfiawn yr awdwyr yn llawenhau o'i blegyd. Bum yn ddigon beiddgar fy hun, unwaith, i newid un gair yn emyn Islwyn, am fod rhediad yr emyn yn awgrymu mai felly y cyfansoddwyd ef; ac erbyn dod o hyd i'r argraffiad cyntaf, yr oedd yn rhyddhad mawr i mi ddeall fod y cyfnewidiad yn gywir. Nid wyf yn amddiffyn y "chwiw" a gondemnir mor ddiarbed. Nid oes neb wedi ymosod yn fwy llym ar droseddwyr o'r fath. Ond credaf fod amgylchiadau o'r tu allan, a rhywbeth yn yr emyn ei hun weithiau, yn cyfiawnhau mymryn o gyfnewidiad, yn enwedig os bydd canu yn y cwestiwn.

Gyda llaw, gair da yw "chwiw." Nid oedd mewn arferiad yn amser Pantycelyn, onide buasai yn sicr o'i gael i fewn yn rhywle mewn odl.

Os dilynwn athrawiaeth y "chwiw" yn ol i'r hen lyfr, nis gallwn lai na thynnu y casgliad mai "chwiw" yw condemniad Mr. Jones ar chwiwyddiaeth y newydd. "Rhagoriaeth fawr y llyfr o'r blaen," meddai, "oedd ei fod ef braidd yr unig lyfr Cymraeg oedd yn cymeryd arno roddi pob emyn fel y cyfansoddwyd ef gan ei awdwr." Tybed nad oedd yn cymeryd arno yr hyn na pherthynai iddo? Oni ŵyr pawb fod y llyfr hwnnw drwyddo draw yn dryfrith o gyfnewidiadau? Pa bryd y gwnaed y rhai hynny, nid yw o bwys i ni yn bresennol. Nid oes nemawr dudalen yn yr hen lyfr nad yw y "chwiw" yn dod i'r olwg, ac weithiau chwech neu saith newidiad yn yr un emyn. Diau y bydd hyn yn disgyn yn rhyfedd ar glust ambell un; ond dyna'r ffaith. Pwy sydd yn gyfrifol am y cyfnewidiadau, ni pherthyn i mi chwilio allan; ond gall y wlad ddiolch i'r Golygwyr am beidio dilyn "chwiw" arall, a'u troi yn ol i'w ffurf wreiddol. Wele bennill o'r hen lyfr:—

"O! deffro, gwel, fy enaid trist,
Uffernol lu oddeutu'th Grist,
Am ladd dy Brynnwr pur;
Yn 'mofyn torf o dystion gau
I Pilat i'w gondemnio'n glau;
O! f' enaid, cofia 'i gur."

Sut mae hwn yn y gwreiddiol? A faint o hwyl fyddai ar ei ganu ar foreu Sul yn y ffurf y cyfansoddwyd ef?—

"O deffro, tro, fy enaid trist,
Gwel 'ffernol griw oddeutu'th Grist,
Am ladd dy Brynnwr pur;
Yn mofyn gang o dystion gau,
I Pilat i'w gondemnio'n glau;
O f' enaid, cofia'i gur."

Caned fy nghyfaill y pennill hwn, ar yr hen dôn, "Seion," a bydd yn debyg o gael ei feddiannu gan ryw deimlad gwahanol iawn i ysbryd mawl. Y mae yr hymnau mwyaf adnabyddus ymhell o fod yn cytuno â'r gwreiddiol, a dylem ddiolch i rywrai am y diwyg newydd sydd arnynt. Pennill sydd ymhob llyfr yw, "Marchog Iesu yn llwyddiannus." Ond yn y casgliad o'r gwreiddiol a gyhoeddwyd yn 1830, gan John Williams, dyma'r drych sydd arno:—

"Marchog Iesu yn llwyddiannus,
Gwisg dy gleddau yng ngwasg dy glun;
Nis gall daear dy wrth'nebu'
Chwaith nac uffern fawr ei hun;
Mae dy enw mor ardderchog,
Pob rhyw elyn gilia draw;
Mae dy arswyd trwy'r greadigaeth,
Tyr'd gan hynny maes o law."

Cyfnewidiwyd hwn dros gan' mlynedd yn ol, ac nid oes neb hyd yn hyn, wedi meddwl fod y gwreiddiol yn canu yn well. Un o'r emynnau Cenadol mwyaf cyfarwydd yw, "Tyred Iesu i'r ardaloedd;" neu yn ol

y gwreiddiol, "Dere Iesu." Byddai yn ddyddorol cydmaru hwnnw â'r cyfieithiad diwygiedig o hono. Y mae yr ail bennill yn ei ffurf gyntefig fel hyn:—

> "Aed i'r dwyrain a'r gorllewin,
> Aed i eitha'r India draw,
> I fod hoelion dur cadarnaf
> Yn ei draed ac yn ei law."

Cenir llawer ar yr emyn, "Ymneillduwch, bethau'r ddaear." Y mae yr ail bennill wedi mynd drwy gyfnewidiadau lawer. Fel hyn y canwyd ef gan Williams:—

> "Doed y diluw i deyrnasu,
> Unwaith eto fel o'r bla'n;
> Doed hen Gäos i gymysgu
> Daear, awyr, dŵr a thân;
> Dedwydd fi, Chäos llu,
> Tra fo'm Duw'n teyrnasu fry."

Emyn a llawer o hwyl arno yw, "Mi feddyliais cawn fy Arglwydd. Y mae diwedd un pennill yn hwnnw yn cloi i fyny fel hyn:—

> "Daeth Moria,
> 'Nawr yn ysgol sound i'r nef."

Buasai yn flin iawn gan bawb weled hwn yn y llyfr newydd fel y cyfansoddwyd ef. Felly hefyd am y pennill, "Dyma'r tlawd a gyfoethogwyd." "Dyma'r begger," oedd gan Pantycelyn. "'Does dim a laesa'm poen," sydd yn y ddau lyfr; ond yn y gwreiddiol, "Does medswn laesa'm poen." "Medswn" *(medicine)*. Mewn rhannau o'r De, "moddion" yw y gair. Yn y Gogledd, "*physic.*" Buasai'r cysegr yn waharddedig i'r pennill gwahanglwyfus hwn oni buasai i rywun gymhwyso "medswn" diweddarach i'w iachau. Y mae y gwreiddiol yn frith o bethau fel hyn, a golwg frith ar lawer emyn o herwydd hynny. Wrth gydmaru fel hyn, teimlir ar unwaith mai camgymeriad dybryd fyddai troi yn ol at bethau yn eu ffurf gyntaf. Un o'r emynnau melusaf yn y llyfr fel profiad credadyn yw, "'Rwy'n dewis Iesu a'i farwol glwy;" ond y mae ynddo dri neu bedwar o hen gyfnewidiadau, ac i gyd yn weithredoedd o drugaredd. Cymerwn un arall, yr hwn oedd yn ei gyflwr natur fel hyn:—

> "Goleuni ac anfeidrol rym
> Yw hyfryd eiriau'r nen;
> A phob sillaftyn dd'wedodd Ef,
> Sydd siwr o dd'od i ben."
>
> "Ac rwy'n resolfo myn'd yn gloff,
> I mewn i deyrnas nef."

Ond pa ddyben ychwanegu? Tybed, wedi'r cwbl, nad "chwiw" i gyfeiriad arall yw y cri am gyhoeddi pob emyn, air a llythyren, fel y cyfansoddwyd ef? Dengys yr engreifftiau hyn, o rai o'r emynnau mwyaf poblogaidd, fod eu defnyddioldeb cyhoeddus yn ddyledus i fân ddiwygiadau blynyddoedd diweddarach. Y mae yn amlwg fod pob ymdrech wedi ei wneud i gadw'r meddwl, wrth sicrhau iachawdwriaeth y corff; ac ymddengys i mi mai dyna'r unig amcan mewn golwg yn y

newid fu ar ambell air yn y llyfr newydd. Prin mae yn iawn rhoi y trugarogion hyn yn nosbarth y "cyfnewidwyr hymnau," oblegid buont yn ofalus iawn am ysbryd yr emyn wrth dynu'r llwch oddiar ei wisg. Buaswn i yn canmol y bobl dda sydd wedi achub ambell hen bennill rhag dinodedd bythol drwy ei godi mewn diwyg barchus i blith emynnau goreu Cymru. Nid y rhai hyn yw y "cyfnewidwyr hymnau" sydd yn haeddu eu crogi. Deallaf fod Pwyllgor y llyfr newydd yn hwyrfrydig i gaboli llinell; ond ar gais y cantorion—y dosbarth mwyaf agored i syrthio oddiwrth ras—anturiwyd ystwytho ambell gymal, gyda gwylder a pharchedig ofn. Yr wyf yn hollol rydd oddiwrth y cyfnewidiadau fy hun, fel nad oes dim byd personol yn gymhelliad i'r amddiffyniad diniwed hwn.

Cymeradwyir rhai o'r diwygiadau mewn gwaed oer; ond fel *peroration* i'r erthygl, cyhoeddir barnedigaeth yn ddychrynllyd o hyawdl ar y lleill. Ond credwyf fod yr awdwr yn cynhyrfu mynydd i esgor ar lygoden, a honno yn llygoden farw. Sylwer ar yr engreifftiau a ddyfynnir, pa un ai drwg ai da ydynt, y maent yn eithriadol fychain i wneud cymaint o helynt yn eu cylch. Mae'n ymddangos fod llawn cymaint o reswm dros y cyfnewidiadau ag sydd dros yr ymosodiad arnynt. Y pethau bach diniwed! Pump a godir i sylw, ac a ddedfrydir i golledigaeth; a ddiau fod y rhai hyn, yn ol syniad y barnwr, y pechaduriaid mwyaf ymhlith yr "ugeiniau." Wele un o honynt:

"Minau mewn myfyr fel mewn hûn."

Dywedir fod miwsig y llinell hon wedi ei golli yn y trawsgyweiriad fu arni—

"A mi mewn myfyr fel mewn hûn."

Nid yw y condemniad ar y mymryn cyfnewidiad hwn yn profi dim ond nad yr un peth sydd yn berorol i bob clust. Y mae i fiwsig ei reolau Trosedder y rheolau hynny, fe dry'r seiniau yn aflafar, ac yn ferwindod i bob clust. Y mae yr un peth yn wir am linellau prydyddol, yn arbennig i'w canu. Diau y cydnebydd pob cerddor, sydd wedi cael mwy o ysgol yn y gelfyddyd na Mr. Jones a minnau, fod mwy o fiwsig yn y newydd yn y fan hon na'r hen. Dichon fod cyfieithiad Emwnt Prys yn gywirach, gan ei fod wedi canu o'r gwreiddiol. Y mae yr adnod yn y Beibl Cymraeg fel hyn—"Mi a edrychaf ar dy wyneb mewn cyfiawnder; digonir fi pan ddihunwyf â'th ddelw di." Nid oes dim yn y cysylltiadau yn gwahardd y cyfnewidiad, oblegyd yr adnod olaf o bymtheg ydyw yn y Salm, a'r wythfed yw yr agosaf ati ar gân yn y llyfr hymnau. Ar yr un pryd, credaf fod mwy o angen olew ar y pennill blaenaf oll—

"Galw'r wyf arnat am dy fod
Yn Dduw parod i wrando."

Nid oes llawer o fiwsig yn hwn ar wahan i'r beroriaeth ysbrydoledig sydd yn yr adnod. Yr wyf yn cofio dysgu hen rigwm pan yn blentyn,

"It is a sin to steal a pin,
Much more to steal a greater thing."

Ond y mae Mr. Jones yn llawer mwy graslawn pan yn dweyd,—"Nid yw camacen yn nechreu llinell ddim yn fai, oddieithr iddo ddigwydd yn fynych iawn." Ystyr hynny ydyw, nad yw trosedd yn drosedd, ond fel y tra mynychir ef. Yr oeddwn i wedi arfer meddwl fod bai yn fai, ar wahân i'w hiliogaeth; ac y mae rhywrai i'w canmol am amcanu, o leiaf, at wella y bai bychan hwn. Ond rhaid i mi beidio manylu. Y mae y ddwy engraifft nesaf yn hollol o'r un natur,—"Dyddiau fy rhyddid rowd dan sel;" a "Lledant eu gwraidd mewn daear frâs." Y cyfnewidiad yn y naill yw,—"Rhoed dyddiau fy rhyddhad dan sel;" ac yn y llall,—"Ymlêd eu gwraidd mewn daear frâs." O newid o gwbl, i foddio dosbarth neillduol, anhawdd meddwl am ddim mwy didramgwydd. Ond bu dystewi cwynion ar y naill law yn foddion i'w deffro ar y llall. Ofer i neb ddadleu nad yw y llinellau diwygiedig yn llawer ystwythach i'w canu, a phrin y maent yn haeddu termau mor gryfion a "thriniaeth farbaraidd." Gyda golwg ar y ddau air arall, "A waeddodd tua'r nef," a "Fe dalsai Mhrynwr mawr," tueddir finnau i gredu mai gwell fuasai gadael y rhai hyn fel yr oeddynt. Nid fel cwestiwn o ramadeg, oblegyd gellir dadleu yn gryf dros y ddau. Fe allai, mewn llŷs teg, y byddai y ddedfryd o blaid y cyfnewidiad yn y naill, ac yn ei erbyn yn y llall. Y mae y gwahaniaeth, wedi'r cwbl, mor fychan fel nad oes raid i neb lewygu o'i blegyd. Yr oeddwn yn coleddu barn ffafriol iawn am y llyfr newydd o'r cychwyn, ond yr wyf yn meddwl yn uwch o hono ar ol yr adolygiad. Y mae y gwendidau a nodir allan mor fychain, ac mor ddibwys, fel y maent yn diflannu bron yn ddim po fwyaf yr edrychir arnynt. Ei bechod mawr, mae'n amlwg, yw yr ychydig gyfnewidiadau sydd ynddo; ond fel y dangoswyd eisoes, y mae newid gair, lawer pryd, nid yn unig yn esgusodol, ond yn angenrheidiol, er diogelwch y pennill ei hun. Nid yw yr adolygydd yn ol o gydnabod hynny. Dywed fod gair neu ddau, weithiau, yn ddigon i "dori caritor" unrhyw bennill. Ond os gellir, o ras, gadw ei garitor, a chadw ei fywyd, drwy ddileu ei bechod, y mae hynny yn well na'i fwrw allan i rincian dannedd yn lle canu. Gan nad faint o wendidau sydd yn y llyfr, credaf fod ei ragoriaethau yn anhraethol fwy; ac, fel y bydd iddo addfedu ym marn a theimlad y wlad, ac i ragfarn ddilywodraeth ymdawelu, nid oes un amheuaeth na chaiff ei gydnabod gan bob cydwybod ddirwystr fel y casgliad goreu o hymnau a gyhoeddwyd hyd yn hyn.

DYFED.

## Y BARDD A'I DELYN.

Mewn ogof yn Eryri ddwys, bum' canrif bell yn ol,
Ar niwliog hwyr eisteddai Bardd a'i delyn yn ei gôl;
Drwy dannau hon o'i galon gûr galarnad Cymru Fu
I'r cwm unigol ledai'n dòn wylofus ar bob tu;
Ei wallt oedd wŷn, ei rudd yn llwyd, a'i ofid lifai i lawr
Mewn ffrwd o ddagrau oedd yn drwm o wladgar deimlad mawr;
Fel deilen olaf derwen deg ein hanibyniaeth fyw,
Ymsiglai rhwng y byd a'r bedd yn unig, gwan, a gwyw.

A'r delyn honno taniodd hwn ardderchog wŷr ei wlad
Ar lawer du bryderus daith i ymladd yn y gâd;
Drwy hon rhodd ysbryd cario'r dydd ym mynwes llawer gŵr
Fu'n dwyn y cledd a'r darian der dan faner goch Glyndwr;
Yr hwyrnos hon nid rhyfel-gân yn swn ei thannau gaed;
Na, dwfn ruddfaniad rhyddid pur wrth drengu yn ei waed:
A pha faint bynnag oedd y grym i frwydrau ganddynt roed,
Eu holaf hwyrol gân oedd fil tynerach nag erioed.

"Cymylog awr," dywedai'r Bardd, "canolnos ar bob tu;
Awr claddedigaeth gobaith gwlad ym mynwent tynged ddu!
Mae'r bryniau'n aros fel o'r blaen i wylio pyrth y nef,
Mae'r gwŷn raiadrau wrth eu traed yr un eu beiddgar lef;
Ond gostwng pen mae'r ysbryd hyf fu'n herio cyrch pob câd,
A thewi ceir y fonllef fu yn dychryn brudwyr brâd!
A chyd-ddistewi, delyn fwyn, sydd raid i ninnau'n awr,
Ar fynwes nos heb foreu rhown mewn cân ein pennau i lawr."

Ar hyn daeth Duwies Barddas bur i enau'r ogof gudd,
A chyda'i gwên goleuodd ael yr hen delynor prudd,—
"Fy ffyddlon ddisgybl," meddai hi, "rhy gynnar yw dy gŵyn,
Rhy drwm y dianghenraid faich y mynni ddal i'w ddwyn;
Wrth syllu i'r dyfodol gwŷn drwy wyll pob siomiant sydd,
Mae'th lygaid am y llèn i fawr ogoniant Cymru Fydd;
O'r dduaf nos daw gwynaf wawr y dydd a'r eurog daen,
Drwy'r cwmwl llwythog, clyw y llais, "Mae amser gwell ymlaen."

Iacheir gwaniadau llym y cledd, iau gormes dyn a dyr,
Ei didau dur oddiar bob gwar gânt syrthio i'r llawr ar fyr;
O'r llwch dyrchafa Gwalia'i phen, dadebra eto'i chân,
Ei hiaith a'i thelyn geir yn goedd ar hyd ei glynodd glân;
Os olaf heddyw yw ei lle yn rhengau maith y byd,
Daw eto i gerdded ar y blaen yn ieuanc hardd ei phryd;
Yn nheml anrhydedd eto'i ceir yn fywiol gongl-faen,
Wylofus blentyn, sych dy rudd, "Mae amser gwell ymlaen."

Fel machlud haul a'i gusan gŵyl, yn ngwrid ei gariad gwiw,
Yn rhoi i olaf awr y dydd anfarwol lun a lliw,
Cyffelyb y meudwyol fardd, a'i delyn lawn o swyn,
Fe'u hanfarwolid yno'u dau gan rin y dduwies fwyn;
Distawodd eu galarnad drist, a thrwy y cwmwl mawr,
A llygaid ffydd, canfyddent draw arwyddion toriad gwawr;
A chyda bysedd heb ddim cûr, a chalon heb ddim draen,
Diferwyd miwsig nef i'r gair, "MAE AMSER GWELL YMLAEN."

GLAN ALAW.

---

## GYRFA ATHROFAOL Y DIWEDDAR MR. THOMAS E. ELLIS.

YN nechreu y flwyddyn 1875 y daethum gyntaf i adnabod Mr. Ellis, pan ddaeth yn fachgen un ar bymtheg oed i Aberystwyth, a minnau wedi bod yno rhyw dri mis o'i flaen. Bum yn gydefrydydd âg ef yno hyd Ebrill, 1879, pan aethum i i Rydychen, lle y dilynodd yntau yn yr Hydref o'r un flwyddyn. Y mae yn werth aros gyda pheth manylrwydd ar y pedair mlynedd hyn, gyda'r amcan o ddeall yr amgylchedd y bu byw ynddo, a'r dylanwadau a ddygwyd i weithredu arno ym moreuddydd cyntaf addysg uwch-athrofaol Cymru, a pha fodd y bu yr addysg honno yn ei deng mlwydd cyntaf yn foddion i ddarparu gŵr mor uwchraddol, ac arweinydd mor nodedig i ateb angen y wlad.

Ers blwyddyn yn ol, wrth gydnabod yr anrheg a roddodd Urdd Graddedigion Prifysgol Cymru iddo ar fin ei briodas, cyfeiriai at ddau beth yn neillduol oeddynt wedi effeithio yn ddwfn ar ei fywyd, sef yn gyntaf ei dymhor athrofaol yn Aberystwyth, ac, yn ail, y cyfeillion a gafodd mewn blynyddoedd diweddarach wedi cychwyn o hono ar ei yrfa gyhoeddus. Nid oeddwn yn synnu at y pwys a roddai ar y cyntaf o'r dylanwadau hyn, na'r dyfnder teimlad a ddanghosai wrth gyfeirio ato, oblegyd yr wyf yn sicr na bu erioed fyfyriwr mwy teyrngar i'w athrofa a'i athrawon nac efe, na neb a ymroddodd yn fwy llwyr i fanteisio ar bob cyfleusdra oedd o fewn ei gyrhaedd. Yr oedd y gallu i edmygu a thalu gwarogaeth syml i werth mewn ereill yn elfen gref a swynol yn ei gymeriad. Fel efrydydd dilynodd ei wersi gyda manylrwydd a chysondeb. Darllenodd y llyfrau a roddid ger ei fron, ymostyngodd i ofynion yr arholiadau y byddai yn ymbarotoi ar eu cyfer. Dechreuodd gyda *matriculation* Prifysgol Llundain, yr hwn a ofynai y pryd hynny fwy o amrywiaeth pynciau nag hyd yn oed yn ddiweddarach. Ond yn fuan ar ol myned trwy yr arholiad hwnnw rhoddai ei fryd, fel y gwnaeth amryw o'r gwŷr ieuainc ereill oedd yno yr adeg hynny, ar baratoi i fynd i Rydychen, a chyfyngodd ei efrydiaeth yn bennaf i'r

ieithoedd clasurol a llenyddiaeth Seisonig. Yr oedd ganddo syniad uchel am yr athrawon a'r addysg gyfrennid yn y dosbarthiadau. Wrth ysgrifennu ysgrif fer i'r TRAETHODYDD am Ionawr, 1899, ar rai o nodweddion y Prifathraw, Dr. Edwards, un peth oedd yn fyw iawn yn fy meddwl oedd y parch dwfn a'r edmygedd diysgog a goleddid tuag ato gan yr enwocaf o'i ddysgyblion, sydd erbyn hyn wedi ei ragflaenu i'r byd sydd o'r tu fewn i'r llen. Ar gynghor Dr. Edwards yr anfonodd ei rieni ef i'r Athrofa, a bu rhyngddynt ill dau gydymdeimlad a chydddealldwriaeth llwyr o'r dechreu i'r diwedd. Ymhlith yr athrawon ereill derbyniodd lawer oddiwrth addysg ac urddas cymeriad Mr. Angus a sêl Mr. Rudler, ac wedi hynny Mr. Keeping, tros ddadblygu amgueddfa y Coleg ac addysg wyddonol Cymru. Bu yn un o ysgrifenyddion y Gymdeithas Darllen Shakespeare a sefydlwyd gan Mr. Craig, yr hwn a feddai gryn allu i ennyn chwaeth at ddarllen y beirdd Seisonig. Tybiaf iddo fel fy hunan werthfawrogi cwrs ar hanes llenyddiaeth yr Almaen a draddodwyd gan Dr. Ethé, a chael hyfforddiant yn iaith a llenyddiaeth Cymru yn nosbarth yr Athraw Silvan Evans. Rhyw ddosbarth neu ddau yn yr wythnos oedd gan Mr. Silvan Evans, yn yr hwn y darllennai lyfr ac y gwnai nodiadau arno. Yr oedd dyddordeb ei bwnc a'i feistrolaeth arno yn peri fod bron bopeth a ddywedai yn glynu yn y cof. Athraw arall o gyrhaeddiadau eang a chwaeth lenyddol uchel oedd Mr. Grinley, yr athraw mewn mesuroniaeth, yr hwn oedd mewn cydymdeimlad â chenedlaetholdeb Cymru, fel y dengys y dyfyniad a ganlyn o anerchiad a draddododd i'r Gymdeithas Ddadleuol (gwel Cylchgrawn yr Athrofa am Mai, 1879), ar y testyn, "How to spend the vacation."

"Just as the mountains of Wales exist in vain unless their grandeur penetrates into our minds, and our whole spiritual being is penetrated with their glory, so the Wales of the past is a dead Wales unless we live in ever-tremulous sympathy with all its heroisms and generosities. This we cannot do unless we study the lives of the men of the past. And their lives cannot be so satisfactorily studied by us as when we visit the scenes amid which they toiled heroically for the good of others. The fairest scenes on earth have a glory shed on them by their association with the great men of the past. So that it might well be part of the work of the long vacation to study the lives of the leaders of men in the past times, and to go on pilgrimage to the scenes of their labours. Such pilgrimage would, I assure you, be a pilgrimage of love, if only it were a pilgrimage of earnest devotion to the memory of true and brave men."

Yr oedd adran gerddorol yr Athrofa y pryd hynny yn ei bri, a Dr. Joseph Parry yn llawn gwaith a bywiogrwydd yn arwain côr o fyfyrwyr a ganent gyda hwyl a blas rai o'i gydganau soniarus a gwladgarol.

Heblaw ei fod yn efrydydd ymroddgar a manwl, ymdaflodd Mr. Ellis â'i holl egni i fywyd cymdeithasol yr athrofa. Ymhyfrydai yng nghymdeithas ei gyfoedion, ac ym mhopeth nodweddiadol a dyddorol mewn cryn amrywiaeth o gymeriadau. Yr oedd cyfartaledd oed y myfyrwyr yn nês at y pump ar hugain nag at bymtheg, ac o ganlyniad yr oedd llawer ohonynt yn ddynion yn eu maint, ac er bod cyrhaeddiadau rhai mor brinion, oherwydd diffyg paratoad blaenorol, eto yr oeddynt yn meddu ar uchelgais ac awydd cryf am wybodaeth, a mesur helaeth o allu ac arbenigrwydd cymeriad. Yr oedd esiampl, ymdrech,

ac aberth y dosbarth hwn, a'u cyfeillach a'u hynawsedd, yn werthfawr i'r myfyrwyr ieuainc. Engrhaifft ragorol o honynt oedd y diweddar Mr. Thomas Roberts, yr hwn a wnaeth lawer i gyfeirio llwybrau ei gydfyfyrwyr. Daeth i'r athrofa oddiwrth ei ddiwrnod gwaith, ac aeth oddiyno i Gaergrawnt, wedi ennill ysgoloriaeth mewn Daeareg. Cyrhaeddodd y swydd o athraw a chynnorthwywr i'r Proffeswr Daeareg yng Nghaergrawnt, lle y bu farw yn anterth ei ddydd, er mawr alar i Mr. Ellis a phawb a'i hadwaenent Yr oedd tua thair modfedd tros chwe' troedfedd o daldra, o dymer lednais a diniwed, â'r diniweidrwydd sydd yn ol yr hanesydd Groegaidd yn brif elfen mewn mawredd cymeriad, a'i wyneb yn adlewyrchiad o'i natur, ac yn efrydydd ardderchog. Y mae y cyfryw fyfyrwyr yn iachawdwriaeth i athrofa. Yr oedd yno ereill o'r un dueddfryd sydd heddyw yn llenwi swyddi o barch ac ymddiriedaeth yn ein gwlad.

Yr oedd bywyd cymdeithasol yr athrofa yn ffafriol i ferthriniad ysbryd cyhoeddus a'r gallu i drin materion. Parai amrywiaeth oed a phrofiad y myfyrwyr ryw gymaint o eangder ac addfedrwydd yn eu hymdriniaeth ar bynciau y dydd. Byddai bron bawb o honynt yn bresennol bob nos Wener yng nghyfarfodydd y Gymdeithas Ddadleuol. Nid oedd yno ball ar sel wleidyddol, ac yr oedd y teimlad gwladgarol yn uchel. Yr oedd Mr. Ellis yn un o'r gwrandawyr mwyaf astud a sylwgar, a phan ddechreuodd siarad siaradai mewn dull syml, yn glir ac argyhoeddedig, heb amcanu at iaith flodeuog nac ehedeg ar edyn dychymyg a theimlad. Ei nodwedd amlycaf yn y blynyddoedd cyntaf oedd ei chwaeth at fanylion a ffeithiau, a'i ddiwydrwydd yn eu casglu a'u trefnu. Yn raddol y deffrodd ac y cryfhaodd ei farn a'i grebwyll. Wedi ymsylfaenu ar gyfoeth gwybodaeth, ymlwybrai yn fwy meistrolgar a phenderfynol beunydd; fel cadfridog yn hir ddisgyblu ei filwyr a darparu ei ystorfeydd, ac yna â llaw gadarn yn myned rhagddo i fuddugoliaeth.

Yn dra chynnar yn hanes yr athrofa penderfynwyd cyhoeddi cylchgrawn. Cylchgrawn ysgrifenedig oedd ar y cyntaf, ond wedi ychydig rifynnau yn y wedd hon mynwyd ei argraffu, ac oherwydd prinder defnyddiau yn y dechreu, bu raid aberthu y rhifynnau cyntaf i borthi y wasg. Y mae'r cyfrolau argraffedig ar gael o'r cychwyn. Yr oedd Mr. Ellis yn aelod o'r pwyllgor golygyddol cyntaf, ac yn un o'r rhai mwyaf ymroddgar a gofalus. Y mae cynnwys y rhifyn cyntaf yn dra dyddorol a nodweddiadol o'r athrofa ar ei goreu. Dechreua gyda Rhagarweiniad gan y Prifathraw, yn yr hwn y dywed :—

"At the very least let Wales be represented here. Let the College be 'Wales writ small.' Just as our Museum ought to contain specimens of every Welsh rock, plant, and manufacture, and as every section of the Welsh people ought to have its representatives among the students, in like manner, whatever distinctive excellence belongs to our national character, let it assert itself fairly, and tell as powerfully as may be on the growth of the College."

A thrachefn :—

"Here in Wales the bitter contentions of our fore-fathers are to us well-nigh unintelligible. An eirenicon is going forth through the land. We are learning to believe in the honesty of others while we claim their belief in our own. I cherish in my very heart the hope that every one of our students, when he

leaves this place, will carry into his future life and work comprehensiveness of vision with its consequent breadth of sympathy." . . . . . . . "We ought to balance our philanthropy with loyalty to truth; for every falsehood corrupts and destroys men. 'Be loyal to truth and love one another,' is a maxim that, intelligently understood, earnestly embraced and courageously put in practice, will make the future life-work of every one of our students noble and good in itself, honourable to him, and serviceable to Wales."

Yna daw y gyntaf o gyfres o ysgrifau ar "Lenyddiaeth Persia" gan Dr. Ethé, y prif awdurdod, mae'n debyg, ar y pwnc. Yna dan y penawd *Cambria in Paris*, ceir desgrifiad gan y Proffeswr Rudler o gynyrchion Cymru yn arddangosfa Paris. "Long before France," meddai, "holds her next International Exhibition, the present students of the University College of Wales, and many of their successors, will have passed into the bustle and business of life. It will then be their turn to come to the front, and assist in upholding the position of Wales before the world." Erbyn hyn y mae Paris ar fedr cynnal arddangosfa arall, a Chymru yn paratoi i arddangos ynddi ei chyfundrefn addysg fel prif gynnyrch ei bywyd cenhedlaethol, ochr yn ochr â chyfundrefnau cenhedloedd y cyfandir. Dilyna cyfieithiad hapus o'r Lladin gan y Proffeswr Angus, ac wedi hynny ysgrif Mr. David Adams ar *Creed and Character*, yr hon a barodd gryn siarad ym mysg y myfyrwyr. Dilynir hi gan erthygl ysgolheigaidd o eiddo Mr. J. E. Lloyd ar "Ddechreu Llenyddiaeth Gyfnodol yng Nghymru," ac yn olaf gan y bennod gyntaf o Ramant, "Gwenllian o Ddolbadarn," gan un sydd yn bresennol yn Aelod Seneddol, a dyfodol disglaer o'i flaen. Terfyna'r rhifyn gyda llythyr o Rydychen, hanes gweithrediadau Pwyllgor yr Athrofa, a chofnodion gwahanol gymdeithasau y myfyrwyr.

Yn y pedwerydd rhifyn (Mawrth, 1879), y mae ysgrif o eiddo Mr. Ellis ar *The College Calendar*, yn yr hon y gwel y darllennydd egin rhai o'i nodweddion fel arweinydd ei genedl, ac yn y dyfyniad a ganlyn addewid o'r hyn a gyflawnwyd hyd yr ymylon gan yr ysgrifennydd ieuanc pan ddaeth ei gyfleusdra:—

"Nevertheless, all is not gloom. The fine and extensive building, though still unfinished, is paid for in full; the College, which was opened without adequate funds, has paved its way and won the confidence of the greater part of the nation; the subscriptions collected amount in all to £58,194 10s. 4d., and there are ten Professors, representing every branch of a liberal education. This has been accomplished in the face of an unusual amount of newspaper criticism and petty jealousies, and in spite of the fact that a government grant was twice refused—the first time with some excuse, but the second with cruel injustice, for the request was backed by the voice of the whole Principality, and the very small sum asked for would not have been given without precedent. The friends and well-wishers of the College, then, have no just grounds for despondency and alarm. The name of Lord Aberdare, the President—not in name only, but in true earnest—is a sufficient guarantee that the management of the College will be efficient, for he has not been in the habit of letting his undertakings dwindle and fail."

Lletyai tua deg-ar-hugain o'r myfyrwyr yn nhŷ yr athrofa, ac oedd ganddynt fywyd cymdeithasol o'r eiddynt eu hunain. Er budd y cylch hwn golygai Mr. Ellis, ac ysgrifennai â'i law ei hun, yn y llythyren fân, brydferth, sydd mor adnabyddus trwy Gymru, gylchgrawn mwy cyfriniol a elwid *The Cap*, yn trin materion y tŷ gyda llawer o ddigrifwch.

Efe yn ddiameu oedd y gwleidyddwr ymarferol mwyaf aiddgar o'r holl fyfyrwyr, er bod yno wleidyddwyr pybyr ereill, ac yn eu plith yr Aelodau Seneddol presennol dros Ganolbarth Morganwg a Sir Fôn. Yn fynych elai ei hunan i'r orsaf i ymofyn y papyrau newyddion, a dygai hwy i'r *Common Room* dan ei fraich yn fuddugoliaethus. Nid oedd ar neb a'i hadwaenai angen proffwyd i'w hysbysu am Mr. Ellis mai yn nhir gwleidyddiaeth y byddai gwaith ei fywyd.

Wrth edrych yn ol yng ngoleuni yr hyn a wyddys erbyn heddyw, y mae yn eithaf amlwg fod cychwyniad yr Athrofa, trwy ddwyn at eu gilydd wŷr ieuainc o bob parth o Gymru, wedi creu cyfnod newydd yn hanes ein gwlad. Daeth Deheuwŷr a Gogleddwŷr, o bob enwad ac o amrywiol amcanion, wyneb yn wyneb am y tro cyntaf. Daeth y Bala a Chaerfyrddin yn un. Cysylltwyd Meirion a Cheredigion mewn undeb nas datodir mohono mwyach. Gwnaeth cydgyfarfod ym moreu oes fwy i uno y genhedlaeth honno, a thrwyddynt hwy Gymru, mewn cydweithrediad nag a wnaethai hanner canrif heb y cyfryw gydgyfarfyddiad. Sicrhäodd sefydlwyr yr athrofa yn annhraethol fwy nag a wyddent hwy na'r wlad ar y pryd. Yr oeddynt yn fawr eu gofal yn talu yr athrawon, ac yn cadw'r drws yn agored, ac ar ddiwedd y dengmlwydd cyntaf yn cyfrif pennau ac yn digalonni ar brydiau, am na buasent yn deirgwaith cymaint, a'r ffrwythau arholiadol yn deirgwaith mwy ffafriol. Ni wyddent eu bod yn y blynyddoedd hynny—y blynyddoedd teneuon—wedi dwyn elfennau trydanol at eu gilydd, a pheri rhyngddynt ffrwydriad dystaw ym myd yr ysbrydol a droes freuddwydion a chynlluniau y Cymry yn ffeithiau.

Bron bob dydd elai Thomas Ellis i'r rhodfeydd a gylchynant hen gastell Aberystwyth, ac yno gwelai lannau Cymru yn ymestyn yn odidog o Ben Tyddewi hyd Enlli. Syrthiodd ei enaid mewn cariad â'r olygfa. Canfu ynddi weledigaeth newydd o Gymru unedig a'i hwyneb, nid tua Dwyrain cydymffurfiad â safonau allanol, ond tua gorwel disglaer ei gobeithion a'i hegwyddorion gwahaniaethol. Nid oes man yng Nghymru yn llefaru yn fwy hyawdl am ei hundeb gwahaniaethol na'r lle a ddewiswyd gan arweinyddion addysg y bobl fel cartrefle ei phrifathrofa hynaf, ac nid argraffwyd y wers erioed mewn llythyrennau dyfnach nag ar enaid Thomas Ellis. Yr oedd y Prifathraw yn un a ddeallai gyfrinach glannau y môr. Y mae yn gof gennyf ei glywed yn atolygu ar y myfyrwyr adael i nerthoedd a swynion y môr lefaru wrthynt tra fyddent yn trigo am ennyd ar ei lân. Ac os blinent hwythau weithiau ar eu gwersi, ni flinent ar amrywiaeth ddiderfyn a pheroriaeth ystormus y dyfroedd.

Yn nesaf at swyn a newydd-deb y fan yr oedd swyn a newydd-deb y symudiad roddasai fôd i'r athrofa yn ysbrydoliaeth i un mor fyw i argraffiadau dyrchafol a Mr. Ellis. Flwyddyn ar ol blwyddyn yn yr Hydref deuai prif noddwyr yr Athrofa i gyfarfod y Llywodraethwyr, ac aent i mewn ac allan ymhlith y myfyrwyr. Nid elai eu hymweliad heibio heb iddynt gael cyfle i annerch y myfyrwyr gyda'u gilydd yn yr hen lyfrfa aeth wedi hynny yn aberth i'r tân, neu mewn cyfarfod cyhoeddus yn y dref. Yr oedd gweled y dynion hynny yn addysg uwchraddol ynddo ei hun,—Hugh Owen a'i wyneb cryf angylaidd, Arglwydd Aberdâr, Dr. Edwards y Bala, Henry Richard, Robert Jones,

Rotherhithe, David Davies, Llandinam, John Griffiths, Castellnedd, Y Gohebydd, a'i lais egwan yn pwysleisio "*Don't be afraid of drudgery,*" a'r rhai sydd eto'n aros, fel J. F. Roberts, Stephen Evans, Stuart Rendel, Lewis Morris, T. Mc Kenna Hughes, ac A. C. Humphreys-Owen. Yr oedd anhawsderau a siomiannau y gwaith, y cynnilo dybryd, y ceisiadau ofer am gynorthwy y Llywodraeth, a haelioni ardderchog gwerin Cymru, yn rhan o gwrs addysg y myfyrwyr, yn destyn eu hymgom, ac yn baratoad at y gwaith oedd o'u blaen. Ni phetrusent feirniadu a gosod y byd yn ei le fel y gwelent hwy ef, tra yr oeddynt yn deyrngar hyd y carn at yr achos.

Ar rai prydiau drachefn deuai ysgolheigion ac addysgwyr enwog i ymweled â'r lle, fel Mark Pattison i draethu ar astudio llenyddiaeth mewn cysylltiad agos â hanes oes ac amgylchiadau bywyd y prif awduron, neu Edward Thring i egluro ei argyhoeddiad newydd am swydd athraw. Nid yn fynych y deuai y cyfryw ymwelwyr, ond yr oedd eu geiriau yn bethau i'w gwerthfawrogi a'u cofio.

Bob blwyddyn cadwai yr Enwadau crefyddol yn y dref eu cyfarfodydd pregethu, ac yn eu tro eu prif wyliau a'u cymanfaoedd, yn y rhai y clywodd y myfyrwyr rai o brif bregethwyr yr oes yn anterth eu nerth—Owen Thomas, David Saunders, David Charles Davies, Gwilym Hiraethog, Herber Evans, John Evans, Eglwysbach, Hugh Jones Llangollen, ac ereill o'r pregethwyr cryfion a meddylgar a ddatguddient seiliau dyfnion yr argyhoeddiadau sydd wedi creu Cymru o'r newydd. Y mae bywyd a llafur Thomas Ellis yn dyst nad ofer fu eu gwaith.

Gyda'i fyned i Rydychen, yn Hydref, 1879, dechreuodd ail gyfnod yn ei fywyd a'i dug o dan argraffiadau newyddion a thra gwahanol oeddynt ar yr un pryd yn anhebgorion dadblygiad ei feddwl a'i gymeriad. Ymhen tua blwyddyn ar ol myned yno, ymunodd â *New College*, un o'r Colegau blaenaf yn y Brifysgol. Am y ddwy flynedd gyntaf astudiai lenyddiaeth Groeg a Rhufain, o hynny i ddiwedd ei gwrs ymroddodd gyda blas ac egni at hanesyddiaeth ddiweddar. Tuedd gref rhai myfyrwyr Cymreig yn Rhydychen ydyw cadw yn ormodol iddynt eu hunain, neu ymgyfyngu i gymdeithas eu cydfyfyrwyr Cymreig. Glynodd Mr. Ellis yn dŷn wrth ei gydwladwyr, ac yr oedd yn un o aelodau mwyaf aiddgar y gymdeithas o hen fyfyrwyr Aberystwyth a elwid yn *A. C. C. (Aberystwyth College Club)*, yr hwn a rifai tuag ugain, ac a ymgynullai ar nos Sadyrnau yn ystafelloedd yr aelodau yn eu tro. Difyrwch ac adloniant feallai oedd prif amcan y Gymdeithas, o leiaf nid ymddengys iddi ymroi at lenyddiaeth Cymru mewn modd mor arbennig ag y gwnaed pan aeth Mr Owen M. Edwards i Rydychen, ac y ffurfiwyd Cymdeithas Dafydd ap Gwilym. Ond yr oedd yn yr *A. C. C.* gryn awydd deall pynciau Cymreig yn eu cysylltiadau eang, a chafwyd llawer ymdrafodaeth fuddiol arnynt, megys ar adroddiad Pwyllgor Arglwydd Aberdâr pan ddaeth allan gyntaf. Ond tra yn cadw y cysylltiad agosaf â'i gydfyfyrwyr Cymreig, manteisiodd Mr. Ellis ar yr un pryd yn gyflawn ar fywyd cymdeithasol a diwylliant *New College*. Daeth yn fuan yn un o'r myfyrwyr mwyaf adnabyddus a pharchus yn y Coleg. Yr oedd y croesaw a dderbyniodd gan aelodau galluocaf a mwyaf diwylliedig ei Goleg yn llefaru mor uchel am eu rhyddfrydigrwydd a'u craffder hwy ag am allu a serchogrwydd y Cymro ieuanc.

Dewiswyd ef yn aelod o'r *Essay Society*, un o'r cymdeithasau bychain o tua dwsin o nifer sydd yn elfen mor hynod werthfawr yng Ngholegau Rhydychen. Ar nos Suliau mynychai gyfarfodydd Undeb Ymneillduol y Brifysgol, llywydd yr hwn ar y pryd oedd Mr. R. F. Horton, un o athrawon *New College*. Annerchid y Gymdeithas weithiau gan Ymneillduwyr adnabyddus, fel Mr. Bryce. Yn y rhan olaf o'i dymhor athrofaol dechreuodd siarad yn yr *Union*, ac etholwyd ef ar ei Phwyllgor. Ymaelododd hefyd yn y *Palmerston Club*, a daeth felly i gysylltiad â rhai o Ryddfrydwyr mwyaf goleuedig ac egwyddorol ei oes. Yr oedd y Brifysgol yn ymdeimlo o'r newydd â'i swyddogaeth gymdeithasol, a'i hathrawon yn ymawyddu at wneud eu rhan o blaid dyrchafiad bywyd cyhoeddus ac addysg yn y trefydd mawrion, dan arweiniad y diweddar T. H. Green, yr hwn a fu farw tua dechreu yr ail flwyddyn o dymhor athrofaol Mr. Ellis, ac Arnold Toynbee, cyfaill y gweithiwr, yr hwn a ddaeth yn ol i Rydychen tua'r un adeg i ddarlithio yng Ngholeg *Balliol*. Gan hynny yr oedd yr awyrgylch yn llawn iechyd ac ysbrydoliaeth, a Rhydychen yn arwain mewn symudiad cymdeithasol sydd eisoes wedi gwneud ei ôl ar y wlad, ac sydd yn un o brif seiliau gobaith y ganrif sydd ar wawrio. Erys cyfeillgarwch mynwesol Mr. Acland a Mr. Ellis yn arwyddlun o undeb rhwng gweriniaeth Cymru a diwylliant Rhydychen wedi eu cyffwrdd â thân oddiar allor ymgysegriad. Er mwyn ieuenctyd Cymru eu hunain a'u hyfforddiant yn nulliau cydweithrediad cymdeithasol, hyderaf nad ofer fydd apêl diweddaf Mr. Ellis atynt, ac y gwelir cyn hir Sefydliadau Athrofaol Cymreig yn Llundain ac o fewn terfynau Cymru.

Nis gellid meddwl am amgenach paratoad at ei waith dyfodol na bywyd Mr. Ellis yn Rhydychen, ond cyfrannai iawn cymaint ag a dderbyniai. Ymhob cylch Cymro ieuanc o Ymneillduwr oedd yn meddu ar gynnysgaeth o egwyddorion dyfnion nad oedd os nac oni bai yn eu cylch; a'r hyn oedd yn Rhydychen a fu trwy ei oes. Yr oedd ynddo y fath unplygrwydd meddwl a chymeriad, a natur mor gyfan ac iach, nes y gwelai bethau fel yr oeddynt, ac fel y dylent fod, heb gysgod rhagfarn na thymher. Mynegai yr hyn a welai mewn iaith oedd yn ddrych perffaith o'i feddwl, a chyda brwdfrydedd a difrifwch un wedi ei lwyr feddiannu gan yr achos oedd ganddo mewn llaw. Yr oedd newydd-deb ac amrywiaeth ei gynlluniau a'i barodrwydd i fanteisio ar brofiad ac esiampl ereill, yn bersonau a chenhedloedd, mor nodedig a'i ffyddlondeb cadarn a diofn i'w egwyddorion a blanodd Cymru yn ei enaid.

Ond ni pherthyn i ni yma ddilyn Mr. Ellis ymhellach na throthwy ei fywyd cyhoeddus. Yn ystod ei oes fèr rhoddodd i'r byd syniad newydd am ystyr yr enw Cymro, ac i Gymru rhoddodd esiampl a chynllun bywyd nad ant yn anghof. Pe gallai dim ein cymodi â'i golli, yr hyn wnelai hynny yn fwy na dim arall fyddai yr argyhoeddiad y bydd i'w fywyd a'i waith, ei noswyl gynar, a dagrau cenedl uwch ei fedd ddyfnhau a sancteiddio bywyd holl ieuenctyd ein gwlad.

*Aberystwyth.* T. F. ROBERTS.

*

## LLYFR POBLOGAIDD.

Mewn dinas esgobol sydd, er hynny, heb fod yn ddigon pwysig i'w henwi, digwyddodd i nifer o enwogion gyfarfod â'u gilydd beth amser yn ol, ac wrth edrych ar eu gilydd teimlent fod y cynulliad yn un anghyffredin. Nid oedd y nifer yn ddwsin, ond yr oedd pob un o honynt yn adnabyddus fel awdurdod lled uchel yn ei gangen ei hun o ddysgeidiaeth. Yr oedd yn eu plith seryddwr gwych, meddyg rhagorol, gwyddonydd treiddgar, bardd meddylgar, gweinidog gwir hyawdl, masnachwr meistrolgar, gohebydd newyddiadurol galluog, ac athrawon athrofeydd yn ysgolheigion o'r radd uchaf. Teimlent mai hwynthwy ydoedd goleuadau y byd, a bod ei iachawdwriaeth yn dibynnu ar gael ynddo fwy o ddynion tebyg iddynt hwy eu hunain. Cyn i unrhyw bwnc cyffredinol gael ei drafod, yr oedd yr athrawon wedi bod yn cwyno wrth eu gilydd fod chwareuon a mabol gampau yn dwyn meddylfryd y bechgyn mwyaf galluog, tra yr oedd y meddyg yn datgan ei alar oherwydd diffyg brwdfrydedd meddygon gyda'u galwedigaeth ddyddorol a phwysig, a thra yr oedd y gwyddonydd yn datgan ei lawenydd fod gwyddoniaeth yn prysur ennill y safle flaenaf ym meddyliau dynion, ac yn peri iddynt anghredu y goruwchnaturiol, nes peri iddo hyderu y cai fyw i weled blynyddoedd olaf yr hyn a elwir yn grefydd ysbrydol a datguddiedig. Wedi peth ymddiddan gwasgarog fel hyn, aeth yr oll ynghyd i siarad am lenyddiaeth, am y llyfrau mwyaf poblogaidd, ac am yr achos o'u poblogrwydd. Wedi trafod tipyn ar y mater, gofynnodd y masnachwr "ar ba bwnc neu destyn y gellid ysgrifennu llyfr mwy poblogaidd na'r un a argraffwyd erioed," ac ychwanegodd y gohebydd newyddiadurol, "Pa ragoriaethau llenyddol fyddai raid eu cael yn y fath lyfr?" Gwahaniaethai yr enwogion hyn yn fawr ar y cwestiwn cyntaf. Teimlai pob un eiddigedd dros ei gangen ei hun o wybodaeth, ond tueddent i gytuno y byddai raid gwneud rhyw ddarganfyddiad newydd mawr a phwysig i dynnu sylw cannoedd o filoedd o ddarllenwyr. Gyda golwg ar y cwestiwn arall, yr oeddynt yn unfryd a phendant o'r farn y byddai raid i awdwr y fath lyfr fod yn llenor cyflawn a diwylliedig, ac yn feistr ar iaith gref ac ystwyth. Credent y rhaid i lyfr, mewn trefn i ddod yn bur boblogaidd, ennill yn gyntaf gymeradwyaeth darllenwyr o farn a choethder chwaeth, ac yna, wedi ennyn eu brwdfrydedd hwy, y byddai i ddosbarthiadau cyffredin dderbyn eu dedfryd a darllen y llyfr. Dau beth, gan hynny, a dybient yn hanfodol, sef pwnc neu ddarganfyddiad newydd o bwys, ac arddull feistrolgar a deniadol. Hwyrach y gallwn ychwanegu hefyd nad oedd dim pellach o'u meddyliau na thybied y posibilrwydd i'r fath lyfr fod yn grefyddol o gwbl. Ond yn fuan iawn wedi yr ymddiddan uchod daeth llyfr bychan i sylw yn y wlad hon, ac yr oedd wedi tynnu sylw mawr yn America cyn hynny. Erbyn hyn honnir nad ydyw ei ddarllenwyr yn rhifo llai na llawer o filiynau o bobl, ac, hyd yma, parha ei ddarllenwyr i gynhyddu. Eto nid ydyw yn trafod gwirionedd newydd, ac nid ydyw ei arddull

ieithyddol yn ddeniadol o gwbl. Nid ydyw ei awdwr ychwaith yn adnabyddus fel meddyliwr cryf, nac fel llenor coeth. Diystyr a diymhongar i fesur mawr ydyw ei deitl, "In His Steps," neu "What would Jesus do?" Daeth i fod yn un o daleithiau ieuengaf America, ond y mae wedi cerdded, fel tân y *prairie*, trwy wersylloedd darllenwyr o bob dosbarth a gradd, a thystia llawer fod eu calon yn llosgi ynddynt tra y darllenant y llyfr. Hapus iawn hefyd i greaduriaid a gymerant eu rhyddid i feirniadu hyd yn oed eu Creawdwr fod yn y llyfr lawer o amherffeithrwydd. Os bernir ef fel cynyrch llenyddol, gallwn osod ein bys ar lawer diffyg ynddo. Nid oes sail o gwbl i gondemnio ei athrawiaeth. Ofna rhai o ddarllenwyr prysur a beirniaid ffrwst a bydol Llundain fod y llyfr yn un peryglus, nad ydyw yn gosod yr arbenigrwydd a ddylai ar dduwdod ac aberth Crist, ac y coledda yr awdwr mewn gwirionedd syniadau undodaidd. Cynghorem y beirniaid hyn i ddarllen y llyfr un waith yn bwyllog a myfyrgar. Ond iddynt wneud hynny gwelent ymadroddion ag ydynt yn rhyddhau yr awdwr oddiwrth y cyhuddiad disail hwn. Heblaw hyn, os ydyw Iesu Grist yn arweinydd ac esiampl anffaeledig fel yr haera Sheldon ei fod, golyga hynny ei fod yn fwy na dyn. Ac heblaw hyn hefyd, ei ddadl trwy y llyfr ydyw y dylai disgyblion Crist—h. y., rhai yn credu yng Nghrist am eu bywyd, ddilyn ei gamrau. Fel Iago, gofynna am weithredoedd yn brawf o'u *ffydd*, a'r ffydd honno yn ffydd yn *ei waed Ef.* Wedi darllen y llyfr yn ofalus deirgwaith, ac wedi darllen chwech o lyfrau ereill yr awdwr, teimlwn ei fod mor iach a diogel i'w roddi yn nwylaw ereill ag ydyw epistol Iago, maes llafur Ysgolion Sabothol y Methodistiaid am y flwyddyn hon.

Pe mewn ysbryd i bigo beiau lled ddibwys, buasem yn dweyd fod bron yr oll o'r cymeriadau, o ran eu personau a'u nodweddion, yn cael eu cyflwyno i'r darllennydd yn amherffaith iawn. Nid oes yr un o honynt yn sefyll allan yn glir ar y canfas, ac nis gallwn deimlo eu bod yn gynddrych *(type)* ychwaith o ddosbarthiadau. Nid ydyw y prif linellau yn ddigon dyfnion, a dygir i fewn ormod o fân neillduolion iddynt fod yn *types.* Ymddengys yn rhyfedd—ond mae yn ffaith—ei fod yn rhoddi darlun mwy byw o rai heb eu haileni nag a ddyry o ereill. Cymeriadau Madam Page, Mrs. Winslow, Rose Sterling, a Carlsen y Socialist a osodir ger bron yn fwyaf clir. Amcana wneud arwyr o Maxwell, yr Esgob, a Dr. Bruce, ond anhawdd iawn i'r darllennydd ydyw cael syniad clir am bersonau y cyntaf a'r olaf; tra y mae cymeriad yr esgob yn gymysglyd iawn. Gwna ymdrech neillduol lawer gwaith i osod Rachel Winslow ger ein bron, ond er y cyfan teimlwn ei bod dan len o ran ei pherson a'i chymeriad. Llwydda yn well gyda Virginia Page, ac yn well drachefn gyda Felicia Sterling a Clyde. Ond ar y cyfan rhaid i ni gydnabod mai llaw anghelfydd iawn sydd ganddo i bortreadu personau a chymeriadau. Mae yn well, fodd bynnag, yn naturioldeb ei ymddiddanion ac yn ngharwriaethau Clyde a Felicia, a Rollin a Rachel. Nis gallwn ni wybod i ba raddau y gwnai hyn yn fwriadol. Ein barn ydyw fod hyn i'w briodoli mewn rhan i'r un peth ag a barai i rai dybied mai undodwr ydyw. Ei brif amcan ydyw dangos nerth ysbryd mewn crefydd, a dichon y bwriadai i'r ysbryd fod fel y cwmwl dan yr hen oruchwyliaeth, yn ddadguddiad

o agosrwydd ac ofnadwyaeth Duw, ond ar yr un pryd yn llen dros y rhai a neshaent i'r cwmwl ato Ef. Nis gallwn ganmol ychwaith frawddegau y llyfr. Ychydig o rai gafaelgar geir ynddo, tra y ceir llïaws yn arw ac afler, ac i efyd heb feddu cyffyrddiad llenyddol dymunol i'r archwaeth. Yr hyn a olygwn yw, mai coginiaeth gyffredin ydyw, heb unrhyw brawf o fedr dihafal pen cogydd. Ond ni ddylid condemnio yr awdwr am y pethau hyn. Nid ysgrifennu ei lyfr er mwyn elw yr oedd, ac, am hynny, ni theimlai ddyledswydd i roddi gwerth eu harian i'r prynwyr. Nid gosod ger ein bron gymeriadau neillduol oedd ei amcan, ond cymeriadau cyffredin o blith y llïaws, yn ymbleseru ar y cyntaf mewn meddwl am danynt eu hunain ac yn ymfalchïo mewn bod yn aelodau o eglwys ariannog a chysurus ei hamgylchiadau, ac mewn gweinidog oedd yn ysgolhaig da, ac yn draddodwr effeithiol, yr hwn a gymerai ofal rhag dweyd dim i ddeffro na thramgwyddo ei gynulleidfa foneddigaidd, ac yna dangos fel y gallai Ysbryd Crist ail greu y rhai'n ac argraffu ei ddelw Ef ar eu gweddïau a'u gweithredoedd, nes yr ymgollent ac y cilient bron o'r golwg fel personau unigol o dan fantell ddisglaer ei ysbryd rhyfedd Ef.

Cawn ddau beth teilwng o'n sylw ynglŷn â'r llyfr hwn. Yn gyntaf, y ffaith ei fod wedi cael ei feirniadu yn anffafriol, a hynny gan rai y disgwyliem ddistawrwydd, os nad pethau ffafriol, oddiwrthynt Yn ail, poblogrwydd digyffelyb y llyfr.

Nid y pethau a nodasom uchod ydyw y gwir achos o gondemnio y llyfr. Brychau mân iawn ydyw y pethau a nodwyd, pan ystyriwn amcan y llyfr a'i rym i gyrraedd yr amcan hwnw. Y gwir achos o'i gondemniad ydyw ei fod yn ymosod ar wahanol ddosbarthiadau o ddynion, ac yn taro hyd at waed. Cynwysa gyhuddiad (*indictment*) trwm yn erbyn dynion yr edrycha y byd i fyny atynt. Ac nid yn unig cyhuddir y cyfryw o fyw yn y modd nas dylent, ond hefyd o ddallineb nes methu gweled eu bod yn colli mwy nag a enillant o fyw fel y maent. Adsain geiriau y Gwaredwr ydyw yn erbyn y Phariseaid, y rhai a ddysgent ereill yr hyn ni wnaent eu hunain, a'r rhai, yn eu holl hunan-ddoethineb a'u cyfrwysdra, oeddynt yn ffyliaid a deillion. Gofala yr awdwr rhag cyhuddo na chondemnio ereill yn uniongyrchol, ond gwna hynny o angenrheidrwydd *by implication.* Dyry ar ddeall i ni y byddai Henry Maxwell yn paratoi ei bregethau heb ofyn i Dduw am oleuni ac arweiniad. Llafuriai yn galed a chydwybodol i baratoi y bregeth oreu a allai efe fel pe buasai yn paratoi darlith i ddosbarth o efrydwyr. Haera un o gondemnwyr y llyfr yr awgryma yr awdwr mai fel hyn y gwna llawer o bregethwyr. Nid yw yr awdwr yn awgrymu hynny; ni wna ond yn unig fynegi mai felly y gwnai Maxwell. Ond a ydyw Maxwell yn gynrychiolydd i ddosbarth llïosog? Credu yr ydym ei fod. Yr ydym yn credu am ein bod wedi bod yn gwrando llawer o bregethau nas gallem eu hesbonio ond ar y tir hwn. Haerir fod yn awr well pregethu yng Nghymru nag a glywyd erioed, ond nid oes angen haeru fod y pregethau yn llai effeithiol i argyhoeddi pechaduriaid nag eu gwelwyd mewn unrhyw gyfnod bron. Y casgliad naturiol ydyw fod y diffyg yn yr ysbryd ymha un, a'r amcan gyda pha un, y gwneir pregethau. Cadarnheir hyn, gallem dybied, gan brofiad

pob pregethwr. A oes un nad ydyw yn gwybod am y gwahaniaeth rhwng pregeth wedi ei gwneud, a phregeth wedi ei rhoddi? Nid ydym yn dadleu y *rhaid* i bregeth fod yn effeithiol pan wedi ei rhoddi gan Dduw, mwy nag yr oedd pob cenadwri o eiddo y proffwydi i Israel yn effeithiol, ond yr ydym yn haeru y rhaid fod llawer fel Maxwell yn gwneud pregethau heb ofyn am help i'w gwneud. Yn awr mae hyn yn gyhuddiad difrifol, oherwydd cymerir yn ganiataol mai cennad Duw ydyw y pregethwr, y dylai allu dweyd fel y proffwydi, "Fel hyn y dywed yr Arglwydd," ac fel yr Apostolion nad oes ystyr i'w henwau os nad ydynt wedi eu galw a'u danfon gan Dduw. Ac os yw yn wir y gwnant bregethau heb weddïo, ac yr honnant wrth bregethu fod ganddynt genadwri, mae hefyd yn wir eu bod yn hunanol ac yn tybied y gallant wybod pa beth a pha fodd i bregethu heb Dduw; ac os yw hyn drachefn yn wir, ai nid priodol y cyfarchiad "ffyliaid a deillion," oblegid bwriant ymaith ogoniant eu galwedigaeth a'r unig sail i lwyddiant yn y pulpud. Ni charem glywed un heb fod yn bregethwr yn dweyd y pethau uchod, ac ni fuasem ninnau yn eu dweyd yma oni bae fod rhai wedi cablu Sheldon am ddweyd y gwir ynghylch Maxwell, oherwydd fod yr un peth yn wir am danynt hwythau.

Cawn gangen o'r un pren pan y condemnir yn y llyfr y duedd gref mewn pregethwyr i gredu mai ar gyfer cynulleidfa gyfoethog ddiwylliedig y crewyd ac y galwyd hwynt, ac mai dynion gwahanol, llai eu gallu a'u gwybodaeth, a ddylent fyned at y tlodion a'r rheidus. Yn awr—i fod yn onest ac agored—Pe byddai dwy eglwys mewn angen am weinidog—Eglwys Alpha yn gyfoethog a dilafur, yn meddu manteision goreu cymdeithas, ac Eglwys Omega yn dlawd yn cynnwys gweithwyr gan mwyaf, ac ynghanol rhan dlawd a diymgeledd o dref—ai nid ydyw yn wir y buasai 3 o bob 4 pregethwr yn dewis Alpha? Ai nid ydyw eglwysi yn credu hyn? Pa fodd, os nad ydynt, nad ydyw Eglwysi Omega byth yn galw dynion o allu a diwylliant; ac os gwel Eglwysi Alpha un felly wedi dod i'r golwg mewn Eglwys dlawd, buan iawn y crogant y pwrs a'r aur o flaen ei lygaid, gan gredu mai hynny a dim arall ydyw galwad effeithiol yr oes hon. Haera un ymosodydd ar Sheldon fod yn bosibl iawn i ryw ddynïon fod o fendith i eglwys gyfoethog pryd na fuasent yn gymwys i eglwys dlawd ac aniwylliedig, ac fod yn well iddynt *nursio* y cyfoethogion i gyfranu ceiniog i ffurfio trysorfa lleoedd gweiniaid i gynorthwyo y brodyr na feddant ddawn na gallu i wasanaethu y cyfoethogion. Ffyliaid a deillion! eto. Onid efengyl i'r tlodion yn gyntaf o bawb ydyw efengyl Crist? ac os na all pregethwr bregethu i'r tlawd a'r anwybodus teimlwn sicrwydd pur gryf nad oes cymhwysder ynddo fel pregethwr i achub neb. Nid yw y disgybl yn fwy na'i athraw, ac ymffrost sanctaidd yr Iesu ydoedd ei fod Ef wedi ei anfon i bregethu i'r tlodion. Naturiol ynte ydyw clywed ambell glaiarnad o gyffiniau y pulpud yn erbyn y llyfr.

Naturiol hefyd ydyw clywed dynion yn caru arian, pa un bynnag ai yn y pulpud ai yn y sêt fawr y bônt, yn taflu amheuaeth ar ddysgeidiaeth y llyfr. Onid ydyw yn condemnio yn ddiarbed yr awydd am arian, ac am eu trysori, neu eu gwario, ar hunan, a welir mewn crefyddwyr? Ac oni wyddom ni oll fod hyn yn wir? Y fath ddyled drom sydd ar gapelau Cymru, ac eto mae yn amheus iawn gennym a

oes capel yng Nghymru na allasai y gynulleidfa a'i gwnaeth ei agoryd yn ddiddyled heb amharu ei hamgylchiadau nac aberthu yr un cysur o werth. Mewn llawer eglwys ceir mwy nag un person a mwy o arian yn *weddill* ganddo na holl ddyled y capel, ac eto gadewir y ddyled am 20 mlynedd heb ei thalu, a thelir swm mawr mewn llogau. Peth bychan iawn i'r rhai ariannog fyddai arbed y llogau i'r eglwysi. Ymhen ychydig eto daw y gelyn diweddaf at y dynion hyn, a dywed, "Y nos hon y gofynnir dy enaid oddiwrthyt," a bydd rhyw ysbryd yn eu blino trwy sibrwd, "O ynfyd—eiddo pwy fydd y pethau hyn?" Yn ddiddadl mae ariangarwch yn yr eglwysi. Cwyn llawer o aelodau eglwysig ydyw fod yn amhosibl cael lle i roddi swm mawr o arian i ennill llog boddhaol y dyddiau hyn. Mae eu harian yn rhydu, a bydd y rhwd hwnnw yn llefain yn eu herbyn eto. Dim lle i roddi arian i gael llôg da arnynt! O faich trwm! ïe, o drueni tost! Mae hen lyfr yn y tŷ yma —hynach o lawer na "Pha beth a wnaethai yr Iesu?" a chôf gennym ddarllen ynddo rywbryd,—fod y can cymaint i'w gael o lôg yn rhywle. Ond hen lyfr ffol yw hwnnw, neu ynte mae y banc hwnnw wedi myned yn fethiant, ac wedi cau. Dim lle i roddi arian i gael llôg arnynt! a chymaint o dlodi a thrueni mor agos atom. Dim llôg i'w gael am arian, a chynifer yn dioddef o eisieu bara yn ein teyrnas! Dim lle i gael llôg am arian ac achos Iesu Grist dan ddyled mor drom! Nac adroddwch hyn yn Gath, na fynegwch yn heolydd Ascelon, rhag llawenychu merched y Philistiaid, rhag gorfoleddu o ferched y rhai dienwaededig. Mae i'r gele lawer o blant, a'u henwau ar lyfrau yr eglwysi, a'u llef foreu a hwyr a hanner dydd ydyw, moes, moes, ac ni ddigonnir hwynt. Gresyn na chredent mai dedwydd yw rhoddi yn hytrach na derbyn. Ond, tra y byddant mor chwannog i elw, ac eto yn tybied y dylai eu henwau fod ar lyfrau yr eglwysi—cyhyd a hynny ceir dynion yn barod i feirniadu mor llym ag y meiddiant lyfrau o ysbryd "*In His steps.*"

Pwnc arall yr ymosoda y llyfr yn ddiarbed arno ydyw yfed a meddwdod. Cyn ei argyhoeddiad, pleidiai y Parch Henry Maxwell drwyddedu tafarnau. Wedi ei argyhoeddiad, aeth yn elyn anghymodlawn i'r tafarnau. Yr hyn y traetha y llyfr lawer arno ydyw yr anghysondeb i broffeswyr crefydd fod yn berchenogion tafarnau. Nis gwyddom a geir tafarnwyr yn aelodau yn America fel yng Nghymru, ond eglur yw fod perchenogion tafarndai yn aelodau blaenllaw mewn rhai eglwysi yno. O'r ddau credwn y buasai yn well gennym weled y tafarnwr yn aelod. Buasai yn llawer hawddach cyrraedd ei gydwybod a'i galon. Mae llofrudd yn wrthrych dygasedd gan bawb, ond teimlwn fwy o ddygasedd fyth at y dyn a gyfloga arall i lofruddio. Mae hwnnw yn llofrudd ac yn rhywbeth dros ben bod yn llofrudd. Anymunol iawn ac amhriodol yn ein tyb ni ydyw i geidwad tafarn fod yn aelod eglwysig, ond mwy anymunol ac amhriodol ydyw i'r perchen fod. Yng ngwyneb yr holl dlodi a'r holl drueni welir yn ein teyrnas trwy y ddiod feddwol, ac er gweled llawer o'n hieuenctyd addawol yn y trefydd lleiaf a'r pentrefi yn cael eu llithio a'u llygru a'u dinystrio ganddi hi, ceir nifer mawr o aelodau eglwysig yn ymarfer â hi, yn delio mewn eiddo cysylltiedig â hi, ac yn barod i gnoi a difrïo swyddogion eglwysig a feiddiant ei chondemnio. Da iawn cael rhywun i ofyn iddynt trwy y wasg neu o'r

pulpud, "A ydych chwi yn credu y buasai Iesu Grist yn cadw tafarn pe buasai yn byw yn yr oes hon?" Mae gofyn y cwestiwn bron yn gabledd. Paham ynte nad ydyw cefnogi y fasnach feddwol a phroffesu dilyn Crist yn gabledd hefyd?

Yr un peth ellid ddweyd drachefn am dorri y Saboth; ac y mae bron fwy o berygl yn y dyddiau hyn oddiwrth ddibrisio y Saboth nag sydd oddiwrth y ddiod feddwol. Anhawddach tynnu y llinell derfyn gyda'r Saboth. Un o'r arwyddion gwaethaf yn awr yn ddiau ydyw y diffyg parch a welir i'r Saboth hyd yn oed ymhlith aelodau eglwysig. A digon yn ddiau yr hyn a ysgrifenwyd i roddi cyfrif am y beirniadaethau anffafriol ar "In His Steps." Trown yn awr at ei ddarllenwyr.

2. Nid ydym yn gwybod nifer darllenwyr y llyfr. Gwelsom un amcan gyfrif o ugain miliwn, ond prin y gallwn gredu fod y nifer mor fawr. Eto mae yn sicr mai dyma y llyfr sydd wedi ennill poblogrwydd mawr yn fwyaf cyflym o'r un. Pa fodd y rhoddwn gyfrif am hyn? Cytuna pawb mai nid ei arddull sydd wedi ennill hyn iddo. Ceisia amryw dynnu oddiwrth werth y llyfr trwy ddweyd mai hen gwestiwn wedi ei eirio mewn ffurf newydd ydyw testyn y llyfr. Gwir iawn. Onid dyma gwestiwn Saul o Tarsus wedi iddo weled y goleuni mawr, "Arglwydd, beth a fynni di i mi ei wneuthur?" Ond ymddengys ffurf Saul arno yn fwy rhesymol i ni. Braidd na theimlwn fod Saul yn sibrwd "Hen bechadur gwan a diallu ydwyf fi, nis gallaf fi wneud yr hyn a wnai Efe pe yn fy amgylchiadau, ond gallaf finnau wneud rhywbeth trwyddo Ef—pa beth a fynni di i *mi* ei wneuthur?" A rhyfedd fel y cafodd i ddechreu rywbeth tebyg iawn i'w Arglwydd i'w wneud. Megis y bu Mab y Dyn dridiau a theirnos yn y bedd, bu Saul hefyd dridiau heb weled, ac ni wnaeth na bwyta nac yfed. Yn ddiweddarach ar ei fywyd, wedi dysgu ei adnabod Ef a grym ei adgyfodiad a chymdeithas ei ddioddefiadau, tystiai mai nid efe oedd yn byw mwyach ond Crist ynddo ef, ac y gallai bob peth trwy Grist. Chwareu teg i Sheldon, os ydyw wedi arall eirio cwestiwn Saul o Tarsus, credwn ei fod wedi gwneud hynny wrth fodd yr Apostol Paul. Mae yr ateb i gwestiwn Sheldon i'w gael, nid trwy ddisgwyl am genadwri mewn cynifer o eiriau llafaredig gan Iesu Grist, ond trwy ddarllen drosodd a throsodd hanes Iesu Grist, trwy astudiaeth barchedig o'i gymeriad, a thrwy gymdeithas mor agos ag Ef fel y byddo deuparth o'i ysbryd Ef yn meddiannu y dyn, ac y byddo yn dyfod i wybod trwy reddf ysbrydol pa beth a wnaethai yr Iesu. Gosoda cwestiwn Sheldon ddyn ar uwch tir. Nid derbyn cenadwri fel plentyn, neu was, ond meddu deall ysbrydol, a defnyddio hwnnw gyda'r amcan uchaf. Credwn fod y cwestiwn yn ddigon syml a chlir i'r distadlaf o'r disgyblion, a'i fod ar yr un pryd yn ddigon dwfn ac eang i gynnwys holl orchwylion pob dyn. Mae gennym wrth ein llaw ddernyn bychan o ifori, rhyw 6 modfedd o hyd. Dengys fesur o fodfedd, a dengys y filfed ran o hynny. Gesyd allan onglau (*angles*) o wahanol raddau, a chyda'i ochr gellid tynnu llinell berffaith union. Cynwysa bopeth angenrheidiol i ddyn a fynno dynnu cynllun ar bapur, ac nid ydym ni, er ymarfer tipyn âg ef, wedi gallu amgyffred eto hyd a lled y wybodaeth neu y cyfarwyddid a ddyry y dernyn ifori. Mae y cwestiwn "Beth a wnai yr Iesu?" yn

debyg i hwn—helpa y crefyddwr elfennol i dynnu llinell union, a chyfarwydda y sant aeddfed i fesur meddwl ei Arglwydd, ac i dynnu cynllun perffaith o'i fywyd; a gwŷn fyd y rhai perffaith eu ffordd y rhai a rodiant yng nghyfraith yr Arglwydd. Dyma ynte un esboniad ar rif darllenwyr y llyfr. Mae yn y cwestiwn ddefnyddiau fel yn y Beibl i wneuthur dyn Duw yn berffaith, wedi ei berffeithio i bob gweithred dda. Ond dengys yr awdwr hefyd effeithiau y cwestiwn ar eglwys ac ar fywyd dyddiol nifer o bersonau. Gwnaeth eglwys farw yn eglwys fyw, gwnaeth eglwys segur yn eglwys weithgar. Parodd i'r aelodau anghofio eu mursendod a'u moethau, a dadguddio meddyliau eu calonnau, a thosturio wrth drueiniaid. Cyfodasant i achub meibion yr anghenus ac i ddryllio y gorthrymydd. Daeth eu hymweliadau â'r tlawd fel disgyniad gwlaw ar gnu gwlân, fel cawodydd yn dyfrhau y ddaear. Daeth gwaed eu cyd-ddynion yn werthfawr yn eu golwg, a gwaredent hwy oddiwrth dwyll a thrawsder. Dyddorol iawn ydyw hanes hyn oll. Gwyddai yr Anfeidrol pa beth yr oedd yn ei gylch pan y gosododd hunanymwadiad ac aberth yn brif symudydd ar galonnau dynion. Perffaith ydoedd ymddiried ei Fab yn hyn pan y dywedai, "a minnau os dyrchefir fi oddiar y ddaear (ar y groes) a dynnaf bawb ataf fy hun." Dyma swyn y llyfr. Gosodir ger ein bron bersonau unigol yn aberthu elw bydol er mwyn dilyn camrau yr Iesu. Anhawdd cael neb wedi ei adael yn rhy lwyr i edmygu Edward Norman pan yn cau allan hanes y *prize fight* o'i newyddiadur, ac wedi hynny hysbysiadau am ddiodydd meddwol a thybaco. Yn ddwfn yn ein calon, trwy osodiad y Creawdwr ei hun, y mae rhywbeth sydd yn cymeradwyo ac yn parchu gweithredoedd fel hyn, pe yr elid yn fethdalwr wrth eu cyflawni. Edmygwn y masnachydd yn gwneuthur trefniadau newyddion ar gyfer cysur a lleshad ysbrydol ei weithwyr. Digrifol ar y wyneb, ond llwythog o *pathos* mewn gwirionedd, ydyw y desgrifiad o Virgiana Page, y foneddiges ieuanc gyfoethog, yn cymeryd yr eneth feddw ddigartref a digymeriad i'w phalas, ac yn ei hymgeleddu; a bendigedig ydyw gwaith Rachel Winslow gyda'i llais ardderchog yn myned i ganu i drueiniaid ym mharthau isel Raymond, a sylwi ar ei darpar ŵr, Rollin Page, wedi bod yn segur-ddyn cyfoethog, yn byw gan mwyaf yn y *clubs*, nes anurddo gwedd ei wyneb, yn bwrw ymaith ei hen arferion, yn cael gwyneb newydd, yn yr hwn yr oedd cyfiawnder yn tawel gartrefu, ac yn treulio ei ddyddiau i geisio ennill dynion ieuainc oedd heb neb yn gofalu am danynt a gormod o amser a gormod o arian a bychan o waith a bychan o synwyr ganddynt. Symbylid y rhai uchod oll gan un ysbryd, ac yr oeddynt wedi derbyn yr ysbryd trwy y cwestiwn, "What would Jesus do?" Ond paham mae y llyfr mor boblogaidd? Feallai mai ychydig frawddegau o'r llyfr ydyw yr esboniad goreu.

"Aethai tri mis heibio er y boreu Saboth y daethai Dr. Bruce i'w bulpud gyda chenadwri y ddisgyblaeth newydd. Nid oedd efe erioed wedi sylweddoli mor ddwfn y llifai teimladau ei aelodau. Addefodd yn ostyngedig fod yr apêl a wnaethai wedi cael derbyniad na ddisgwyliodd, gan feibion a merched, y rhai fel Felicia *oeddynt yn newynnu am rywbeth yn eu bywyd nad oedd aelodaeth a chymundeb eglwysig ffurfiol yr oes yn ei roddi iddynt.*

Rhag i'r ysgrif hon fyned yn faith rhoddwn ychydig ddyfyniadau ymhellach. "Pa le mae y disgybl a ufuddha i orchymyn ei feistr trwy fyned ei hunan at yr anghenus gyda'i rodd er mwyn gosod gwerth ar y rhodd yn y dyfodol? Rhydd dynion arian pryd na feddyliant am roddi eu hunain. Ac nid yw yr arian a roddant yn aberth o gwbl, ni wyddant oddiwrth eu rhoddi. Rhoddant y peth hawddaf i'w roddi, a'r hyn a deimlant leiaf oddiwrtho. Pa le y daw yr aberth i mewn? Ai dyma ydyw dilyn yr Iesu, ai dyma ydyw myned yr holl ffordd gydag Ef? Mor ychydig o aelodau o gynulleidfaoedd cyfoethog a boneddigaidd a ddioddefent unrhyw anghyfleusdra gwirioneddol er mwyn dynoliaeth druenus. Ai rhoddi hen ddillad ydyw elusen? Ai papuryn deg dolar yn cael ei roddi i ymwelydd cyflogedig neu i ysgrifennydd cymdeithas elusengar ydyw elusen? Ai nid aiff y dyn ei hunan byth gyda'i rodd? Ai ni wnaiff y ferch byth roddi heibio y wledd, y parti, neu y cyngherdd, a myned a chyffwrdd yn weithredol ei hunan ddolur aflan pechod dynoliaeth afiachus? A ellir cyflawni gwir elusen trwy drefniadau cymdeithasol? A ydyw yn bosibl dwyn y serchiadau dan warogaeth nes i gariad wneud pethau anymunol *trwy arall*." Yr agwedd hon ar grefyddwyr cyfoethog sydd yn cyfiawnhau y sylwadau a ganlyn a roddir gan yr awdwr yn ngenau Carlsen y Socialist. Yr oedd un arall wedi siarad a dweyd fod ganddo wraig a thri o blant, ond wedi methu cael gwaith am ddau fis. Fel hyn y sieryd Carlsen: "Mae yn y ddinas hon filoedd o broffeswyr Cristionogol, y rhai a feddant bob moethau a chysuron, y rhai a änt i'r eglwys ar y Sul i ganu emynnau am roddi yr oll i'r Iesu a'i ddilyn Ef yr holl ffordd—a chael eu cadw! Aed y gweinidog siaradodd yma heno i unrhyw un o ddwsin o eglwysi cyfoethog a allwn eu henwi, a chynygied i'r aelodau yr hyn a gynygiodd yma heno, a gwêl mor fuan y chwarddant am ei ben fel un ynfyd a phenboeth. Nis gallaf edrych am unrhyw ddiwygiad o werth oddiwrth yr eglwysi. Nid ydynt hwy gyda'r werin. Gyda'r boneddigion—gyda gwŷr yr arian—y maent. Mae dynion mwyaf y cwmnïau masnachol yn yr eglwysi. Caethion iddynt hwy ydyw y gweinidogion fel dosbarth."

Hyd yma Carlsen y Socialist—ac onid oes gormod o wir yn ei haeriadau? Credwn y gallwn derfynnu yn awr ac addef fod yr ysgrif hon yn anghyflawn iawn. Mae rhagoriaeth y llyfr yn ei ysbryd, am mai Ysbryd yr Arglwydd Iesu ydyw. Hyfryd fuasai myned dros hanes y diwygiad yn eglwys Maxwell a'r seiadau gwlithog a darddasant o ymdrech i wneud fel y gwnai yr Iesu. I ni y Cymry nid oes eisieu ond crybwyll y gair diwygiad i godi hiraeth am a welwyd yn ein plith, ond er mor gyfoethog y fendith a gawsom trwy y diwygiad, credwn y buasem wedi cael mwy pe buasai rywun y pryd hynny wedi gwasgu mwy ar yr eglwysi i wneud pob peth fel y buasai yr Iesu yn gwneud. Pe buasid wedi gwneud hynny yn effeithiol ni fuasai dyled ar unrhyw addoldy Ymneillduol yn y Dywysogaeth, ni fuasai angen trysorfa y gweinidogion na thrysorfa y lleoedd gweiniaid, na thrysorfa fenthyciol, nac unrhyw drysorfa arbennig arall, ond dygai y disgyblion eu rhoddion yn gyson tuag at yr achos, ac fel meibion Israel gyda'r tabernacl deuent a'u rhoddion yn ewyllysgar hyd nes y byddai digon at bob galwad, ac y byddai yn rhaid atal y bobl, ac nid eu cymhell i gyfrannu.

Credwn y gwnaiff y llyfr poblogaidd hwn lawer o ddaioni. Mae wedi profi fod ei enw Ef eto goruwch pob enw ar y ddaear, ac fod ei ddilyn Ef yr holl ffordd yn ennyn brwdfrydedd ac yn ennill parch dyfnaf calon dyn.

JOHN OWEN.

*Criccieth.*

---

## RICHARD HUMPHREYS MORGAN, M.A.

MAB ydoedd i'r diweddar Barch. Edward Morgan o'r Dyffryn. Ei fam ydoedd ferch i'r diweddar Barch. Richard Humphreys o'r Faeldre, yn yr un lle, ar ol yr hwn y cafodd ei enw. Ganwyd ef Awst y 14, 1851, yn Lluesty, yn y Dyffryn. Pan ydoedd oddeutu tair blwydd oed symudodd ei rieni i'r Faeldre, gan fod y Parch. Richard Humphreys erbyn hyn wedi ei adael yn weddw. Felly dygwyd yr ŵyr i fyny yn ystod blynyddoedd tyner mebyd wrth draed y doethawr o'r Dyffryn, yr hwn, fel y mae yn hysbys, oedd ar rai cyfrifon yn ŵr hynod. Er na feddai ddoniau gweinidogaethol mor boblogaidd âg amryw o'i gyd-oeswyr yng Nghymru, eto yr oedd ynddo rai elfennau oedd yn ei ddyrchafu yn naturiol i blith goreugwŷr y Methodistiaid Calfinaidd yn yr oes o'r blaen. Ac os ydym i farnu mawredd gŵr wrth yr argraff a wnaeth ar y wlad lle y trigiannai, y mae yn amheus a ellir enwi ond ychydig iawn i'w cymharu âg ef yn hyn. Y mae ei gysgod yn gorffwys ar Sir Feirionydd, yn enwedig y rhan Orllewinol ohoni, hyd y dydd heddyw. Ac os dymunwn ddeall y lle uchel sydd i'r rhan hon o'n gwlad mewn synwyr, moes, a chrefydd, rhaid myned yn ol at hanes y diweddar Richard Humphreys o'r Dyffryn. Tra y gadawodd gweinidogaeth ei fab-ynghyfraith argraff ddyfnach, a thra y mae ei ysbryd ef wedi gadael ei ddelw ar fywyd cyhoeddus y Sir, yn arbennig ynglŷn âg addysg a chrefydd, eto y mae delw Richard Humphreys yn llawn mor amlwg ar gymeriad a nodweddion y trigolion. Diamheu ei fod yn gynnyrch uchaf ei wlad ei hun, tra y bu dyfodiad Mr. Morgan i'r Sir yn foddion i ddwyn i mewn elfennau newydd a brofodd yn fendith anrhaethol i'r wlad.

Yr oedd yn Mr. Humphreys y gallu i ddylanwadu yn ddwfn ac arosol ar y teuluoedd yr ymwelai â hwy, ac ar y personau y deuai i gyffyrddiad â hwy. Symudodd Mr. Humphreys i fyw i Bennal pan nad oedd ei ŵyr ond saith mlwydd oed, eto y mae yn amheus gennyf a oedd yn bosibl i hyd yn oed blentyn mor ieuanc ddianc heb deimlo oddiwrth gymeriad mor llawn o natur a thynerwch a grym personol tawel fel ag a welid ym Mr. Humphreys. Hyn sydd sicr, fod yr ŵyr wedi dod i werthfawrogi cymeriad y taid yn fawr wedi iddo dyfu i oedran addfed, a chredwn fod ei edmygedd yn myned ar gynnydd. Ac er y gwahaniaeth allanol ac arwynebol rhwng y ddau, teimlid fod y tebygolrwydd yn dod fwy-fwy i'r golwg fel y cerddai blynyddoedd.

Yng nghyfarfod dadorchuddio darlun y diweddar Barch. Edward Morgan yng Ngholeg y Bala, yr hâf diweddaf, rhoddodd ei fab gipdrem ar hanes mewnol aelwyd ei dad. Gwelir oddiwrth y sylwadau craffus a thyner hynny fod ei uniondeb diwyrni,—ei aidd a'i ymgysegriad hollol i waith ei fywyd, ynghyd a'i lywodraeth fanwl Biwritanaidd yn ei deulu—wedi gadael argraff arosol ar feddwl ei fab. Er fod ein cyfaill ymadawedig yn eithriadol o ddistaw am gyfrinion mwyaf cysegredig ei fywyd—ni welsom neb yn fwy rhydd oddiwrth y fyfiaeth (*egoism*) sydd mor gyffredin yn ein hoes ni—eto y mae y sylwadau uchod y gorfodwyd ef megys gan deimlad o ddyledswydd a pharch i goffadwriaeth ei dad i'w traethu, yn profi mor ddwfn yr oedd ei gymeriad a'i eiriau wedi gadael eu hargraff ar ei feddwl.

Ni ddylid anghofio ei fod wedi ei freintio â mam oedd yn llawn o deimlad byw a thyner, ac un a osododd Gyfundeb y Methodistiaid, ac yn wir Gymru oll, mewn dyled iddi drwy ei gofal am iechyd a chysur ei phriod. Ni fuasai Mr. Morgan, er ei holl yni a'i wroldeb, yn abl i wneuthur y fath waith, a hynny yngwyneb y fath rwystrau, oni bai fod iddo hafan ddymunol yn ei gartre yn y Faeldre. Diamheu fod ein cyfaill ymadawedig yn ddyledus am ffurfiad ei gymeriad i ddylanwad aelwyd y Faeldre.

Drwy gyfrwng esiampl ac addysg ei gartref y daeth i deimlo dylanwad crefydd. Dyma lle y gwreiddiwyd ef yn egwyddorion yr Efengyl, ac yma hefyd y meithrinwyd ynddo yr arferion manwl oedd yn nodweddu ei gymeriad uchel mewn blynyddoedd addfetach. Yr oedd yn engraifft amlwg o'r dosbarth sydd yn amlhau bellach yn ein gwlad, "*A son of the manse.*" Danfonwyd ef pan yn blentyn i Ysgol Frutanaidd y Dyffryn, ac yna, pan oddeutu deuddeg oed, anfonwyd ef, fel llawer o blant yr Ymneillduwyr yn yr adeg honno, am addysg bellach i Ysgol Holt, yr hon a gedwid gan y diweddar Barch. Ebenezer Powell. Mawr yw dyled Ymneillduwyr Cymru am y gwasanaeth a wnaeth yr ysgol hon yn y cyfnod hwnnw. Yn ystod yr adeg hon cafodd y *rheumatic fever*, yr hyn a adawodd ei ôl ar ei gyfansoddiad tra y bu byw. Ac er ei fod, drwy ofal a rheoleidd-dra ei arferion, yn ymddangos yn llawn bywiogrwydd ac yni, nis gellir dweyd ei fod yn gwbl *sound*, er nad ynganai ef ei hun ddim am hynny. Yn nechreu y flwyddyn 1865 aeth yr holl deulu i aros i Hastings, er seibiant ac adferiad iechyd y tad ar ol ei lafur caled ynglŷn â chasgliad Athrofa y Bala. Gadawyd Richard Humphreys yno mewn ysgol hyd ddiwedd y flwyddyn. Drwy ei arosiad yn Hastings cryfhawyd ei iechyd, ac yr oedd ei arosiad yn y lle hwn yn gyfnod dedwydd yn ei hanes. Yr oedd ganddo adgofion melus am y tymhor hwn o'i fywyd, a gofidiai fod yn rhaid iddo ymadael mor fuan. Feallai mai i'w arosiad yn Hastings yn y cyfnod pwysig hwn ar ei fywyd y dylid priodoli i raddau ei feistrolaeth ar aceniad yr iaith Saesneg, yr hyn a'i gwnelai yn anhawdd i Saeson (ac yn wir i Gymry) wybod mai Cymro ydoedd wrth wrando arno yn siarad yn yr iaith Saesneg. Ar ddiwedd y flwyddyn gwelwn ef yn myned i Goleg y Bala, yn fachgennyn pymtheg oed. Ychydig wythnosau cyn ei fynediad i'r Bala derbyniwyd ef yn gyflawn aelod. Arosodd yn y Bala hyd Mehefin, 1870, sef cyfnod o bedair blynedd a hanner. Ac felly yr oedd wedi gorffen ei gwrs yn y Bala

cyn ei fod yn llawn ugain oed. Yr oedd ei safle yn y Bala, ar fwy nag un ystyr, yn un eithriadol. Yn un peth yr oedd yn ieuengach na'r cyffredin o'r rhai fyddai yn myned i'r Coleg. Yr oedd ei gyfoedion, gyda'r eithriad o un neu ddau, flynyddoedd yn hŷn nag ef Gwelir darlun bachgenaidd o hono ymhlith *group* o efrydwyr y cyfnod hwnnw, amryw o ba rai sydd ymhlith ein gweinidogion mwyaf adnabyddus heddyw. Nis gellid ychwaith anghofio ei fod yn fab i'r gŵr oedd wedi gwneud cymaint dros yr Athrofa. Edrychid arno, meddai un a fu yn gyd-efrydydd âg ef yn Edinburgh ar ol hyn, gyda anwyldeb eithriadol. Prin yr ydym yn credu mai mantais hollol ydoedd ei fynediad i'r Bala yn yr oedran cynnarol hwn. Feallai y buasai yn well iddo, ar rai ystyron, fod mewn ysgol o fechgyn ieuainc o'r un oedran âg ef ei hun. Y mae gennym le i gredu mai dyma ydoedd ei farn ef ei hun mewn blynyddoedd diweddarach, er mai anfynych y cyfarfyddid â neb yn fwy rhydd oddiwrth ymofidio am yr hyn nas gellid ei alw yn ol. Dylid cofio ar yr un pryd nad oedd yng Nghymru ysgolion Ymneillduol cyfaddas i fechgyn yn yr oedran hwn. A phe buasai yn cael ei adael lawer yn hwy yn Hastings, neu mewn sefydliadau cyffelyb yn Lloegr, y tebygolrwydd yw y buasai wedi ei ddieithrio i Ymneillduaeth Gymreig fel amryw ereill o feibion teuluoedd Methodistaidd. Ac yr oedd yn naturiol iawn i'w dad ddymuno gweled ei fab yn derbyn ei addysg yn Athrofa y Bala, yn arbennig gan ei fod ef a'i briod wedi gosod eu bryd ar weled eu mab hynaf yn ymgyflwyno i waith y weinidogaeth ym mysg y Methodistiaid Calfinaidd.

Yn Hydref, 1870, aeth i fyny i Brifysgol Edinburgh, lle yr arhosodd am bedair blynedd, ac ar derfyn y tymhor graddiodd yn Athraw yn y Celfyddydau. Yn ystod y cyfnod hwn cymerodd amryw ddigwyddiadau pwysig le yn ei hanes. Yn Mai, 1871, bu farw ei barchedig dad, gan adael ei fam yn weddw gydag wyth o blant, a'r rhai ieuengaf o honynt mewn oedran tyner iawn. Nis gallasai profiad y blynyddoedd hyn lai na gadael argraff ddofn ar y llanc ieuanc ugain oed. Clywir adlais o'r hyn a deimlodd yr adeg hon yn ei sylwadau dwys ar yr achlysur o ddadorchuddio darlun i'w dad:

"Nid yw yn rhyfedd fy mod yn cymeryd dyddordeb dwfn yn y Coleg hwn; oblegyd y mae wedi costio mwy i'n teulu ni nag i neb arall Parfu i lafur fy nhad wrth gasglu tuag ato fyrhau ei ddyddiau. Gallasai fyw i weled ei driugeinfed flwyddyn, os nad tu hwnt i hynny; ond aberthodd ei hun ar allor y Coleg, a dygodd arno ei hun nychdod a marwolaeth gyn-amserol, am ei fod yn caru ei waith yn fwy nag esmwythyd, ac am ei fod yn fwy pryderus i brofi ei hun yn oruwchwyliwr ffyddlawn nag i fwynhau amlder dyddiau."

Nid awn i geisio ychwanegu dim at yr uchod. Diau i elfennau newydd ddod i mewn i gymeriad ein cyfaill drwy brofiad y blynyddoedd hyn. Yn ei bregeth angladdol iddo yn Nhowyn noswaith y gladdedigaeth, gwnaeth y Parch. Evan Jones, Caernarfon (yr hwn a ymsefydlodd yn weinidog yn y Dyffryn y flwyddyn ddilynol i farwolaeth y Parch. Edward Morgan), gyfeiriad tyner at dystiolaeth Mrs. Morgan i ymddygiad ei mab hynaf yn yr adeg hon. Wrth i'r gweinidog ddatgan ei gydymdeimlad â hi yngwyneb y baich trwm oedd wedi ei osod arni, dywedai, "Y mae Richard gennyf." Ac wrth i'r gweinidog gyfeirio at ei ieuenctid a'i ddiffyg profiad, atebai ei fam yn ol:

"Digon gwir ei fod yn ieuanc, ond y mae yn dad i'r oll o'r plant," ac ychwanegai y pregethwr: "ac fe barhaodd felly hyd y diwedd."

Yn ystod ei gwrs athrofaol hefyd dechreuodd bregethu, sef yn Awst, 1872. Pan ydoedd yn 21 oed derbyniwyd ef yn bregethwr ar brawf ynghylch Cyfarfod Misol Gorllewin Meirionydd. Dechreuai bregethu pan yr oedd calon y rhan hon o Feirionydd yn drom gan hiraeth am weinidogaeth ddisglaer ei ddiweddar dad. Ni edrychid arno fel pregethwyr ieuainc ereill yn yr un sefyllfa. Ac er fod yr ymgeisydd ei hun yn ymddangos yn hynod wylaidd a diymhongar, eto yr oedd yr adgofion am ei dad yn peri fod disgwyliadau y wlad yn uchel wrtho, yr hyn a fu yn anfantais iddo, ac a deimlid ganddo felly yn ystod blynyddoedd cyntaf ei weinidogaeth, nes iddo wneud lle iddo ei hun. Er fod clod y diweddar Barch. Edward Morgan fel pregethwr yn hysbys ymhob rhan o Gymru, y mae yn anhawdd rhoddi syniad cywir am yr argraff ddofn a adawodd ar Orllewin Meirionydd. Heblaw ei fod yn sefyll arno ei hun fel pregethwr, yr oedd yna y blynyddoedd hyn, os nad ydym yn camgymeryd, elfen o wrthweithiad, yn dweyd ar deimladau Eglwysi Meirionydd, oherwydd ei ymdrech egnïol o blaid y Fugeiliaeth a'i ddadleuaeth wrol dros gydnabod y weinidogaeth yn dei wng, yn ogystal a'i lafur fel Casglydd tuag at Athrofa y Bala. Yr oedd tòn o ragfarn tuag ato ym mynwesau lliaws; ond wedi ei farw, agorwyd llygaid y rhai mwyaf dall i ganfod fod y gweinidog gwrol a phenderfynol yn un o'r dynion mwyaf anhunangar a hunanaberthol a fu yn addurno pulpud y Methodistiaid erioed. Chwalwyd fel niwl y rhagfarnau oeddynt yn codi o anwybodaeth neu o fân gamgymeriadau dyn cryf yn brwydro yn erbyn anhawsderau mawrion. Yn y cyfnod hwn y dechreuodd ei fab bregethu, a theimlid dyddordeb ac ymlyniad eithriadol tuag ato, yr hyn a'i dilynodd hyd ei fedd, fel y gwelid yn amlwg ddydd ei angladd.

Ar ol gorffen ei yrfa yn Edinburgh ymgymerodd â bod yn Athraw Clasurol yn yr ysgol a gedwid yn Nhowyn gan Mr. Edwin Jones, yn awr o Landinam. Arosodd yma am ran o 1874 ac 1875. Profodd ei hun yn athraw llwyddiannus iawn. Yr oedd yna amryw wŷr ieuainc yn yr ysgol hon yn paratoi gogyfer â myned i'r Bala, ac ereill yn ymbaratoi ar gyfer yr Arholiadau yng Ngholeg Aberystwyth, yr hwn oedd wedi ei agoryd ddwy flynedd yn flaenorol. Fe oddefir i ni nodi un o'r ysgolheigion hyn, sef Prifathraw presennol Coleg Aberystwyth, Mr. T. F. Roberts, M.A., yr hwn a ddygodd dystiolaeth uchel iddo ddydd ei angladd fel un y teimlai barch ac anwyldeb mawr tuag ato byth er yr amser y bu dan ei addysg. Mewn llythyr a dderbyniasom y dydd o'r blaen oddiwrth y Prifathraw, dywed: "O dan ei addysg ef y'm paratowyd gogyfer â'r arholiad am ysgoloriaeth ar fy mynediad i Brifysgol Aberystwyth. Llwyddai i gadw disgyblaeth fanwl o dan amgylchiadau anhawdd. Yr oedd yn ddieithriad yn garedig a thyner tuag at ei ysgolheigion. Cefais ef bob amser yn gyfaill cywir ac yn gyfaill cyson. Edmygwn ei allu a'i fedr i ysgrifennu Saesneg, ynghyd a'i ddealltwriaeth byw; ac yn fwy na'r cwbl tarewid fi yn fawr gan ei ddyddordeb dwfn yn y lenyddiaeth oreu." Gallwn ychwanegu, heblaw fod ynddo rai elfennau amlwg athraw llwyddiannus, megys trefn, deheurwydd, cyflymder meddwl, ac urddas personol, a'i gwnelai yn

amhosibl i neb fyned yn hyf arno, yr oedd yn cymeryd dyddordeb dwfn yng nghynnydd a llwyddiant ei ysgolheigion, a pharhaodd i deimlo dyddordeb ynddynt ar hyd ei fywyd.

Yn y flwyddyn 1875 derbyniodd alwad i fugeilio Eglwys Gymreig yr Abermaw. Credwn i'r alwad hon ddod iddo yn bennaf drwy ddylanwad y Parch. David Davies, yr hwn, ychydig cyn hynny, oedd wedi rhoddi ei ofalaeth eglwysig i fyny. Cyn dechreu ar ei waith aeth am un *term* i New College, Edinburgh, i efrydu duwinyddiaeth. Arhosodd yn yr Abermaw am ddeuddeng mlynedd. Ymhen ychydig gyda dwy flynedd ar ol ei ymsefydliad yno ffurfiwyd Eglwys Seisnig yr Abermaw, a daeth yntau ei gweinidog cyntaf. Nis gallwn fyned heibio i'r cyfnod hwn heb gyfeirio at berthynas y gweinidog ieuanc a'r hen weinidog poblogaidd oedd wedi bod a llaw arbennig yn ei sefydliad yn yr Abermaw. Hyfryd yw dwyn tystiolaeth fod Mr. Davies wedi bod yn dad tyner ac yn bob cymhorth iddo o'r cychwyn. Anfynych y gwelwyd cysylltiadau mwy dedwydd rhwng dau oeddynt ar rai cyfrifon mor wahanol i'w gilydd. Yr oedd parch Mr. Morgan a'i hoffder o'r hen weinidog yn ddwfn a diffuant, fel y dengys y sylwadau hynny a ysgrifennodd i'r *Drysorfa* ar ol ei gladdu, rhannau o ba rai a welir yng Nghofiant dyddorol Mr. Davies gan ei fab-ynghyfraith, y Parch. William Jones. Ar y cyntaf edrychid ar Mr. Morgan fel yn ieuanc a dibrofiad; ond yn fuan enillodd ei gymeriad uchel barch ac ymddiried yr Eglwys, a tharewid hwy yn arbennig gan ei weddïau, y rhai oeddynt mor briodol, newydd, ac amrywiol. A gellir dweyd iddo barhau i ennill lle a pharch yn ymddiried a serch eglwysi yr Abermaw hyd ei ymadawiad oddiyno yn 1887. Bendithiwyd ei lafur hefyd. Cynyddodd yr Eglwys Gymreig mewn rhif ac adeiladwyd Capel Seisnig hardd yn ystod ei arosiad.

Feallai mai dyma y cyfnod mwyaf dedwydd yn ei fywyd cyhoeddus. Ymroddodd i efrydu duwinyddiaeth, yn enwedig yn ei gwedd hanesyddol, a dyma yr adeg y gosododd i lawr seiliau ei wybodaeth eang o lenyddiaeth glasurol. Yn ystod y blynyddoedd cyntaf ar ol ei ymsefydliad darganfyddodd ei ddawn i ysgrifennu, yr hyn fu yn gymaint o hyfrydwch iddo yn y blynyddoedd diweddaf. Nid esgeulusodd ei waith bugeiliol ychwaith, eithr cynaliodd ddosbarthiadau darllen llwyddiannus, ac ymwelai yn gyson â'r cystuddiol Yr oedd yn sefyll yn barchus, nid yn unig yng ngolwg ei bobl ei hun, ond hefyd yn syniad yr holl drigolion. Yr oedd ar y telerau mwyaf cyfeillgar gyda gweinidogion o enwadau ereill. Yr oedd yn amhosibl bod yn ei gwmni am nemawr o amser heb ganfod fod i'r Bermo a'i phobl le cynnes iawn yn ei fynwes, a da gennym allu ychwanegu fod yr un teimlad yn cael ei goleddu tuag ato yntau yn yr Abermaw.

Yn ystod ei arosiad yn yr Abermaw cymerodd dau amgylchiad pwysig le yn ei hanes. Yn y flwyddyn 1877, ar ol iddo fod yn pregethu am dros bum mlynedd, ordeiniwyd ef i gyflawn waith y weinidogaeth. Ym mhen dwy flynedd ar ol hyn ymbriododd â Miss Jones, merch i Mr. Griffith Jones, y pryd hwnnw o Wyddelfynydd, Bryncrug, ac wyres felly i'r Parchedig Richard Jones o'r Wern. Nid priodol fyddai i ni yn awr ddweyd llawer ynglŷn â'r uniad dedwydd hwn, ond nis gallwn ymatal heb ddweyd fod Mrs. Morgan wedi bod yn gymhorth arbennig

iddo yn ei holl waith, ac y mae yn sicr na buasai wedi cyflawni y gwasanaeth a wnaeth yn ei yrfa fèr oni bai am gydymdeimlad doeth ei briod. Yn y flwyddyn 1887 daeth tristwch ar dristwch i hen gartre Mrs. Morgan, canys bu ei hunig frawd a'i hunig chwaer farw o fewn ychydig fisoedd i'w gilydd, gan adael eu rhieni (y rhai oeddynt erbyn hyn wedi symud i fyw i'r Tymawr, Towyn) yn unig ym mhrydnawnddydd eu bywyd. Ac oherwydd hyn, yn gystal a bod iechyd Mrs. Morgan yn achos o bryder, penderfynasant symud i fyw at ei rhieni i Towyn. Oddeutu yr adeg hon yr oedd Mr. Morgan wedi tueddu, yn wir wedi penderfynu, cymeryd gofal eglwys bwysig; ond teimlai mai ei ddyledswydd ydoedd aros am dymhor yn Nhowyn. Yn ystod tymhor ei arosiad ni bu yn segur, eithr cymerodd ofal am yr Eglwys Saesneg, yn y lle, yr hon oedd ar y pryd mewn anghen neillduol am ymgeledd, a phan yr oedd amgylchiadau yn agor eu ffordd iddo i ymadael o Dowyn i gymeryd bugeiliaeth Eglwys Seisnig Porthaethwy, teimlid colled wirioneddol ar ei ol. Er mai nid blwyddyn ddiwaith iddo oedd ei arosiad yn Nhowyn, oblegyd nis gallai dreulio ei amser mewn seguryd, eto ymawyddai am gyfleusdra i ymdaflu i'w waith fel gweinidog, ac yn hyn cefnogid ef yn gryf gan ei briod, iechyd yr hon oedd erbyn hyn i fesur wedi ei adsefydlu. Ymaflodd ar unwaith yn ei waith, ac enillodd le uchel ym mharch ac ymddiried Eglwys Seisnig Porthaethwy. Ymhen pedair blynedd penodwyd ef i gasglu at Gronfa Newydd Coleg y Bala, ac arweiniodd hyn iddo roddi ei ofalaeth eglwysig i fyny, a dod i fyw i Fangor, lle y treuliodd y chwe blynedd diweddaf o'i fywyd. Ceisiwn sylwi ar ei waith yn ystod y cyfnod hwn ymhellach ymlaen.

Edrychwn arno ymhellach o amryw gyfeiriadau :—

## 1. Fel Ysgrifennydd.

Byddai hanes Mr. Morgan yn anghyflawn heb wneud cyfeiriad arbennig ato fel ysgrifennydd. Nid oes un dyn yn y Cyfundeb a wnaeth gymaint o waith ag ef yn y cysylltiad hwn. Bu yn Ysgrifennydd Cymdeithasfa y Gogledd am chwe blynedd, sef o'r flwyddyn 1883 i 1889. Yr oedd rheol wedi ei phasio gan y Gymdeithasfa ychydig flynyddoedd cyn hynny, yn gwneud nas gellid ail ethol yr Ysgrifennydd ar derfyn tair blynedd; ond oherwydd y gwasanaeth a wnaed gan Mr. Morgan, a'r deheurwydd eithriadol a ddangosodd yng nghyflawniad ei waith, gosodwyd y rheol uchod o'r neilldu. Yn ei ddyddiau ef y mabwysiadwyd y drefn bresennol o argraffu ac anfon y Rhaglen ymlaen llaw i'r oll o aelodau y Gymdeithasfa. Yn y flwyddyn 1890 etholwyd ef yn Ysgrifennydd y Gymanfa Gyffredinol am ddwy flynedd. Ar ol i'r Parch. Robert Roberts, Dolgellau, roddi ei swydd i fyny fel Ysgrifennydd Coleg y Bala yn 1886, syrthiodd dewisiad y Pwyllgor yn naturiol ar Mr. Morgan fel olynydd iddo. Yr oedd y dewisiad ar lawer cyfrif yn un tra hapus. Yn y modd yma galwyd ef i gario ymlaen y gwaith oedd wedi ei gychwyn mor effeithiol gan ei ddiweddar dad, Ysgrifennydd cyntaf yr Athrofa. Yr oedd Mr. Morgan yn meddu cymhwysderau eithriadol fel ysgrifennydd. Yr oedd yn hoff o ysgrifennu, a gallai osod allan ei feddwl mewn brawddegau cryno a

chlir heb unrhyw drafferth. Yr oedd yn drwyadl onest a ffyddlawn i osod i lawr benderfyniadau, neu sylwedd ymddiddan, gwahanol bwyllgorau a chyfarfodydd. Ni cheisiai byth osod lliw ei deimlad ei hun ar ei adroddiadau. Cyflymder a rhwyddineb, hwyrach, oedd y nodwedd mwyaf amlwg ynddo fel ysgrifennydd. Er ei fod yn gywir bob amser yn y prif bwyntiau,—anfynych, os byth, y camgymerai ystyr penderfyniad; eto nid oedd yn or-fanwl. Nid oedd yn awdurdod ar reolau; ac nis gellid dweyd fod ei gof yn gywir bob amser, ac ni ddibynnai arno gyda ffeithiau pwysig; mynnai chwilio allan bob pwynt pwysig yng Nghoflyfrau y Corff. Er iddo gyflawni gwaith mawr ynglŷn â'n llysoedd Cyfundebol, eto nis gellir dweyd iddo ddwyn nemawr o'i ddylanwad personol i mewn. Ychydig o duedd a welid ynddo i lywio materion yn unol â'i deimlad na'i farn bersonol ei hun. Nid oedd ynddo duedd gref at gychwyn pethau *(initiative)*; a syrthiai i mewn yn hynod gyflym i farn ereill, unwaith y deuid i benderfyniad terfynol. Yr oedd hyn yn wir am dano, nid yn unig yn y Cymdeithasfaoedd, ond hefyd ynglŷn â Phwyllgorau, lle y bu yn gweithredu yn ysgrifennydd am flynyddoedd.

Ni ddylid gadael heibio ei wasanaeth fel ysgrifennydd heb gyfeirio yn arbennig at ei feistrolaeth o law fer, yr hyn, yn ddiamheu, a fu o ddirfawr fantais iddo yng nghyflawniad ei swydd. Er nad oedd yn proffesu ysgrifennu i lawr yn fanwl air am air yr hyn a ddywedid, eto yr oedd yn abl i wneud y defnydd mwyaf hylaw o law fer at ei wasanaeth ei hun, yn ei efrydiau a phan yn gweithredu fel ysgrifennydd. Yr oedd wedi astudio cyfundrefn llaw fer Pitman yn drwyadl, ac yn y flwyddyn 1876 dygodd allan gyfaddasiad o gyfundrefn Pitman i'r Gymraeg, yr hyn a'i gwnaeth yn bosibl i ysgrifennu pob gair a ddywedid, air am air, yn Gymraeg, gan y siaradwr cyflymaf. Sicrheir gan y rhai sydd wedi talu sylw manwl i wahanol gyfundrefnau o law fer, nas gellid ysgrifennu *verbatim report* cyn ymddangosiad cyfaddasiad Mr. Morgan o eiddo y diweddar Sir Isaac Pitman. Ac nid dyma yr unig wasanaeth a wnaeth ynglŷn â llaw fer. Ffurfiwyd Cymdeithas Sain-Ysgrifennol Cymru yn Ionawr, 1878, i'r hon y gweithredai Mr. Morgan fel ysgrifennydd. Yn ddiweddarach, yn yr un flwyddyn, cychwynwyd cyhoeddiad misol y *Phonographia*, ymha un y cymerai ddyddordeb neillduol. Dyma fel y dywed un sydd yn gwbl hysbys o'r amgylchiadau, ac sydd yn meddu cymhwysder arbennig i farnu ar y mater hwn: "Costiodd hyn lafur dirfawr i Mr. Morgan, ac y mae llu o ddynion ieuainc heddyw yng Nghymru yn medi ffrwyth y llafur hwnnw. Cywirai wersi yn ofalus, a gohebai yn ddiderfyn, a'r oll yn ddidâl ac yn fynych yn ddiddiolch." Yn sicr ni ddylasai y fath wasanaeth fyned yn anghof; a chynnil iawn oedd cydnabyddiaeth y wasg Gymreig o'i dyled iddo yn y cysylltiad hwn. Yr ydym yn teimlo mwy o rwymau i alw sylw at y gwasanaeth hwn o'i eiddo wrth gofio mor ddistaw ydoedd ef ei hun. Anfynych y gwelwyd neb yn llai hoff o ganu ei glodydd ei hun. Nid ymddangosai fel yn teimlo ei fod byth yn gwneud dim o'r ffordd gyffredin.

Rhaid gwneud cyfeiriad neillduol ymhellach at ei wasanaeth ynglŷn â Choleg y Bala. Y mae y deuddeng mlynedd diweddaf wedi bod yn gyfnod pwysig yn hanes y Coleg, oherwydd o fewn y tymhor hwn y trowyd

y Coleg i fod yn un duwinyddol hollol, tra ar yr un pryd y gosodwyd i fyny yr Ysgol Ragbaratoawl. Ac yn bennaf oll syrthiodd i'w ran ef i gasglu at y Drysorfa Newydd. Llwyddodd yn fawr gyda'r gwaith hwn, y tu hwnt i ddisgwyliadau uchaf llawer o gyfeillion mwyaf aiddgar y symudiad. Ac nis gellir myned heibio i'r ffaith iddo gyfarfod â rhwystrau ynglŷn â'r gwaith. Nid oedd yr amser y gwnaed y casgliad yn un hollol fanteisiol. Yr oedd sylw a haelioni y genedl, ac nid neb yn fwy na'r Methodistiaid, wedi eu troi at y Colegau Cenedlaethol a'r Ysgolion Canolraddol. Yr oedd y casgliad hwn hefyd yn dilyn ymdrech eithriadol tuag at ein Cenadaeth Dramor ar adeg ei Jiwbili. Yr oedd y wlad hefyd yn dioddef oddiwrth raddau o ddirwasgiad masnachol. Siomedigaeth ac anfantais fawr yn ddiamheu i Mr. Morgan ydoedd fod iechyd y Prif Athraw wedi torri i lawr ar gychwyn yr ymdrech. Er hynny i gyd ymaflodd yn ei waith, a llafuriodd gyda chasglu am dros bum mlynedd, gan ymweled yn bersonol, a chasglu addewidion o dŷ i dŷ, mewn llawer iawn o drefydd ac ardaloedd Gogledd Cymru, a rhai o drefi Lloegr. Er nad oedd yn gallu swyno y gwrandawyr gyda ei ddoniau gweinidogaethol fel ei dad, ac nad oedd yn meddu gallu i gynyrchu brwdfrydedd mewn ereill drwy ei anerchiadau, eto rhaid fod elfen gref o frwdfrydedd yn ei ysbryd ei hun, ac o gariad at y sefydliad, cyn y buasai yn gallu casglu dros £21,000.

## 2. Fel Llenor.

Diamheu mai fel llenor yr adwaenid ef oreu tu allan i gylch ein Cyfundeb, ac feallai mai yn y cyfeiriad hwn y llewyrchai ei alluoedd amlycaf. Yr oedd yna nwyd lenyddol gref yn ei natur. Yn ystod y blynyddoedd diweddaf ni chyfarfyddid âg un enw yn fwy aml ar glawr ein cyfnodolion. Ysgrifennodd lawer i'r Traethodydd, *Y Geninen* a'r *Drysorfa*, a chredwn ei fod wedi ysgrifennu mwy i'r *Goleuad* yn ystod yr ugain mlynedd diweddaf na neb arall, a darllennid yn awchus yr hyn a ysgrifennai, a chreodd rhai o'i erthyglau sylw cyffredinol. Bu yn olygydd *Cymru Fydd*, mewn undeb a Mr. O. M. Edwards, yn ystod y blynyddoedd cyntaf. Yr oedd cyfeiriad arbennig ei chwaeth at lenyddiaeth fel y cyfryw. Er ei fod wedi darllen rhai o'r prif awdwyr duwinyddol, ac nad oedd yn ddieithr i weithiau rhai o'r prif athronwyr, eto yr oedd gan lenyddiaeth yr atyniad mwyaf iddo. Ac anfynych y gwelwyd un yn ei sefyllfa ef mor gyfarwydd â llenyddiaeth. Yr oedd gan ysgrifennu da swyn gref iddo, ïe, pan yr anghytunai yn hollol â'r syniadau a ddysgid ganddynt. Anfynych, er engraifft, y cyfarfyddid a neb oedd ymhellach o gydymdeimlo â syniadau Uchel-Eglwysig a Thractaraidd; ond yr oedd yn dra hoff o ddarllen gweithiau Newman a Church. A mynych y cyfeiriai at nodwedd lenyddol rhai o brif ddysgawdwyr gwyddoniaeth yn yr oes hon, megys Huxley a Tyndall. A'i hoffder at ysgrifennu da a barai iddo ymgydnabyddu gymaint â rhai o'r clasuron Ffrengig, megys Pascal a Bossuet, ac hyd yn oed Voltaire a'i Ysgol. Ac er nad ydym yn tybied iddo erioed geisio cyfansoddi llinell o farddoniaeth—ac yr oedd yn dra dieithr i farddoniaeth Gymreig y tu allan i'w hemynyddiaeth—bu ar hyd ei oes yn efrydydd cyson o rai o brif feirdd y gwledydd. Astudiodd yn fanwl Shakespeare a Milton. Gallai eu defnyddio pryd y mynnai.

*

Er nad oedd ganddo gôf manwl a gafaelgar, eto gwyddai pa le i droi ar unwaith am ddyfyniadau pwrpasol. Yr oedd yn hynod geidwadol yn ei chwaeth lenyddol fel mewn cyfeiriadau ereill. Nid oedd yn edmygydd mawr o lenyddiaeth ddiweddar. Er nad oedd un ffug-chwedl o bwys yn ymddangos na byddai yn ei darllen, eto nid oedd dim a'i diddyfnai oddiwrth Sir Walter Scott. Ni chyfyngai ei ddarllen i lenyddiaeth ddiweddar *(modern)*; ond yn ystod y blynyddoedd diweddar, ïe, pan yn myned oddiamgylch i gasglu tuag at Athrofa y Bala, darllennai Homer, Virgil, a Horace yn y gwreiddiol. Amlygai hoffder nodedig tuag at Homer am ei fod mor wrthrychol *(objective)*, yn yr hyn, yn ol ei farn ef, yr oedd rhagoriaeth arbennig nofelau Sir Walter Scott yn gynwysedig. Dyma fel y cyfeiria Principal Roberts at ei astudiaeth o'r awdwyr Groegaidd :

> "Ychydig o ddynion mor brysur ag ef sydd wedi bod yn abl i gadw i fyny gŵrs mor eang o ddarllen, a hynny yn y lenyddiaeth oreu. Oddiwrth lenyddiaeth Seisnig aeth ymlaen i ddarllen llenyddiaeth Roegaidd gyda awch a mwynhad neillduol. Ac fel y dywedodd wrthyf mewn llythyr a dderbyniais oddiwrtho ychydig cyn ei farwolaeth, yr oedd wedi darllen yr oll o'r Iliad yn ystod y ddwy flynedd ddiweddaf, ac yr oedd ar y pryd yn darllen Aeschylus yn fanwl, ac yr oedd yn bwriadu myned ymlaen i ddarllen Plato."

Darllennai hwynt, medd y Prifathraw, yn fanwl a thrwyadl, ac ychwanega "Anfynych yn wir y gwelwyd un a chymaint o waith ar ei ddwylaw yn abl i gadw ei feddwl mor fyw fel ag i allu mwynhau llenyddiaeth uchaf y gwledydd. Yr oedd yn ddiamheu yn ŵr neillduol."

Ni ddylid gadael yr agwedd hon ar ei fywyd heb gyfeirio at ei hoffder o'r bardd mawr Italaidd, Dante. Yr oedd yn gwbl gartrefol ymhob rhan o'r *Divinæ Comedia.* Meistrolodd yr iaith Italaidd rai blynyddoedd yn ol er mwyn gallu ei fwynhau yn y gwreiddiol, ac nid oedd dim a roddai iddo fwy o fwynhad nag ymgomio yn gartrefol am dano. Heblaw fod arddull lenyddol orffenedig y gwaith yn swyn iddo, credwn fod i'r wedd wrthrychol foesol, ynghyd a'r ysbryd difäol a ddengys tuag at dwyll a hoced yr amseroedd, atyniad arbennig iddo. Diamheu fod ei astudiaeth barhaus o Dante, yn gystal a darllen Llythyrau Pascal ar y Jesuitiaid, wedi cynyrchu ynddo wrth-nawsedd mawr yn erbyn llygredigaethau y Babaeth. Anaml y cyfarfyddid â neb yr oedd ei ddarllen o lenyddiaeth yn effeithio yn fwy ar ei farn gyda golwg ar rai o gwestiynau y dydd.

Hwyrach mai yn y fan hon y dylid ceisio nodi allan rai o nodweddion ei feddwl. Yr oedd ynddo duedd gref at y gwrthrychol—yr *objective.* Dyma y fath lenyddiaeth a garai fwyaf, a'r duwinyddion a osodent allan y gwirioneddau gwrthrychol, megys Calfin ymhlith y Diwygwyr, a Dr. Edwards a Dr. Dale yn y genhedlaeth hon, a edmygai fwyaf. Ni fedrai oddef Hegeliaeth, ac nid oedd nemawr mwy goddefgar gyda Chyfriniaeth. Nis gallai deimlo swyn llyfrau defosiynol megys Cyffesiadau Awstin a Dilyniad Crist A' Kempis. Credwn fod ei feddwl o nodwedd dra cheidwadol, ac yn hyn, os nad ydym yn methu, yr oedd yn ymdebygu i'w dad. Gwelir ym mhregethau y diweddar Barch. Edward Morgan engraifft o feddwl ceidwadol, yn rhedeg ar linellau cyfarwydd, mewn cyfuniad â dychymyg a darfelydd disglaer. Nid

oedd yna nemawr groesaw ym meddwl y mab i syniadau newyddion mewn Duwinyddiaeth a Beirniadaeth Ysgrythyrol. Nid yn unig yr oedd ei galon, ond yr oedd ei feddwl, yn gauedig rhagddynt; a dyma un eglurhad, ni gredwn, ar y ffaith ei fod yn gallu ysgrifennu mor bendant ar bob cwestiwn. Nid ffrwyth ysbryd hunanol ac anniwylliedig ydoedd hyn; ond llefarai yn gryf am ei fod yn canfod yn glir, ac yr oedd ei feddwl o'r fath nodwedd fel na chaniatäi iddo, ar y pryd, pa fodd bynnag, i ganfod yr ochr arall i'r cwestiwn. Er ei fod yn traethu ei syniadau mewn iaith gref, ddiamwys, a mynych yn finiog, eto ceid ynddo ostyngeiddrwydd ysbryd a'i gwnelai yn hawdd i un ei wrthwynebu, ac os llwyddid i'w argyhoeddi, cydnabyddai ei gamgymeriad yn hynod ddirodres. Gwelsom engraifft o hynny ychydig amser yn ol. Yr oedd wedi darllen papur ar yr Eglwys mewn Cymdeithasfa, yn yr hwn y beirniadai yn llym syniadau Canon Gore yn ei Ddarlithiau yn Llanelwy. Mewn ymddiddan ar ol hyn dywedwyd wrtho gan amryw ei fod yn gwneud cam â Canon Gore. Ar ol myned adref edrychodd y pwynt i fyny, a chydnabyddai ar unwaith ei gamgymeriad, a newidiodd ran o'i sylwadau.

Yr oedd ei feddwl hefyd o nodwedd *feirniadol.* Nid ydym am dreulio gofod i geisio amddiffyn y ffurf yma o feddwl. Er cydnabod fod iddo ei beryglon a'i demtasiynau neillduol, eto y mae iddo le a gwasanaeth arbennig. A chredwn mai mantais amlwg i lenyddiaeth a bywyd cyhoeddus Cymru ydyw i rai o'r nodwedd hwn ymddangos yn awr a phryd arall. A phan y mae y gallu hwn yn cael ei lywodraethu gan uniondeb amcan, ac yn gwbl rydd oddiwrth eiddigedd a malais, dichon brofi ei hun yn fendith wirioneddol, ïe, er i'r feirniadaeth fod yn unochrog ac eithafol. Fod yna wythïen feirniadol gref ym meddwl ein cyfaill ymadawedig nis gellir amheu. Daeth ei allu i'r golwg yn y cyfeiriad hwn drwy ei Feirniadaeth ar Esboniad y diweddar Ddeon Edwards ar Efengyl Matthew, a phrin y mae unrhyw lyfr o bwys wedi ymddangos yng Nghymru o fewn yr ugain mlynedd diweddaf nad ydyw wedi ysgrifennu adolygiad neu feirniadaeth arno. Nid ydym am honni o gwbl ei fod bob amser yn iawn yn ei feirniadaeth. Oblegyd edrychai ar bob llyfr oddiar ei saf-bwynt ei hun, sef Ymneillduwr Efengylaidd a Chalfinaidd. Yr oedd yna elfen o eithafrwydd yn awr a phryd arall, a math o ergydion hanner chwareus at ei wrthwynebydd, yn cyfodi o'i hyder diysgog yn ei farn ei hun, yn gysylltiedig â rhyw asbri ddireidus oedd yn elfen mor lawn yn ei natur, ac a barai i lawer ei gamgymeryd, nes y deuent i gyffyrddiad personol agos âg ef. Yr oedd yn dra pharod i amddiffyn y ffydd ac i wrthsefyll syniadau Uchel-Eglwysig a Phabaidd, ac nis gellir amheu nad oedd yn ei elfen gyda'r gwaith. Yr oedd ei feddwl o nodwedd mor feirniadol fel nad oedd yn cydymdeimlo nemawr â thueddiadau diweddar gwleidyddiaeth Gymreig. A digrifol, ar ryw olwg, ydyw meddwl am dano fel Golygydd Cymru Fydd. Nid oes amheuaeth nad ei hoffder at ysgrifennu a barodd iddo gymeryd y Gadair Olygyddol; oblegyd nid oedd ynddo nemawr o ysfa wleidyddol, ac yn sicr yr oedd allan o gydymdeimlad â'r ysbryd newydd a welir yng ngwleidyddiaeth Cymru. Gellir dweyd ei fod yn perthyn i'r cyfnod cyn y deffroad yn yr ystyr hwn. Ymneillduwr Rhyddfrydol o'r hen ysgol ydoedd o ran ei safle, ac ni symudodd gam o hono. Ni fed-

yddiwyd ef gan y teimlad newydd a ddaeth i'n gwlad yn ystod y chwarter canrif diweddaf, ac o'r hwn deimlad y gellir dweyd fod y diweddar Mr. T. E. Ellis y cynrychiolydd mwyaf nodedig yn y cylch gwleidyddol, a'r Aelod presennol dros Feirion yn y cylch llenyddol. Ac er fod rhai o gyfeillion agosaf Mr. Morgan, ac un yn arbennig, sef Mr. Richard Jones, yr hwn oedd yn frawd yng-nghyfraith iddo, wedi bod â'r llaw flaenaf yn addfedu a pharatoi y ffordd i ddewisiad Mr. T. E. Ellis fel Aelod dros Feirionydd, yr oedd ef yn gwbl o'r tu allan i'r ysbryd oedd wrth wraidd y symudiad hwnnw. A gellir ychwanegu mai yn yr ysbryd amheus hwn y parhaodd. Yr ydym yn nodi y pethau hyn er dangos fel yr oedd beirniadaeth Mr. Morgan yn cyfodi o nodwedd bendant ei feddwl, ac nid yn fynych y gwelwyd ysgrifennydd yn ein mysg ag ydoedd mor hawdd i'w adwaen, gan fod delw ei feddwl ar bopeth a ysgrifennai. Yr oedd yr arddull yn cyfateb yn gywir i'r nod.

### 3. Fel Gweinidog.

Er holl waith Mr. Morgan ymhob cysylltiad, nid oedd yn bosibl anghofio mai Gweinidog yr Efengyl ydoedd. Er y clywsom ei fod yn pregethu llawer i'r plant ereill ym mlynyddoedd ei febyd, eto nis gellid dweyd fod ynddo duedd gref at y weinidogaeth. Prin y gellid dweyd am dano ei fod wedi myned i bregethu am nas gallai beidio. Credwn ei fod wedi myned i'r weinidogaeth o barch i ddymuniad ei rieni. Nid ydym am gymeryd arnom ein hunain i basio barn ar hyn. Y mae yn sicr fod rhai o'r dynion goreu a welodd y byd wedi cymeryd eu harwain yn symudiadau pwysicaf bywyd gan farn a theimlad eu rhieni. Yr oedd Mr. Morgan er yn fachgen wedi dangos tuedd gref at beirianwaith, ac yr oedd gan bob peiriant atyniad cryf iddo hyd ei ddiwedd; ond ymostyngodd i farn a dymuniad dwfn ei rieni. Y mae un peth yn sicr, na buasai ei dad na'i fam byth yn ei annog i'r weinidogaeth oni bai eu bod yn argyhoeddedig ei fod yn ŵr ieuanc gwir grefyddol. Ac yn yr ysbryd cywir, cydwybodol hwn y cyflawnoddd ei weinidogaeth. Nis gellir dweyd iddo gyrhaedd amlygrwydd mawr fel pregethwr. Yn ystod holl amser ei weinidogaeth llafuriodd o fewn cylch tra chyfyng; a chredwn ei fod yn gwneud yn ddoeth yn hyn. Yr oedd yn engraifft hefyd o un lafuriodd o fewn cylch Cymreig a Seisnig. Feallai nad oedd hyn yn fantais hollol iddo fel pregethwr Cymreig. Teimlid fod yna ffurf Seisnig ar ei bregethau Cymreig. Paratoid yn fanwl a chyflawn ganddo gogyfer a'i Sabothau gartre. Nid oedd erioed, yn ei bregethau na'i anerchiadau, wedi dysgu ymddibynnu ar ei ddawn. Paratoai yn fanwl, yn ei anerchiadau, bob pwynt a fwriadai wneud. Er hynny nis gwelsom ef wedi ymgolli mewn gwneud pregethau, ac nid oedd yn edmygydd mawr ar bregethau. Er hynny cariai yr un manylder a chydwybodolrwydd i'w weinidogaeth ag a wnelai i bopeth arall. Yr oedd ei bregethau yn hollol efengylaidd. Beth bynnag fyddai y testun, byddai yn lled sicr o roddi syniad am yr efengyl yr oedd ei galon a'i ddeall yn ei dderbyn mor galonog. Nodweddid ei bregethu gan sylwadau ymarferol craffus oedd yn adgofio rhai o'i hen wrandawyr o weinidogaeth ei daid. Siaradai yn naturiol, braidd yn gyflym; ac er mewn llais clir, eto ni ddyrchafai ei lêf. Yr oedd yna elfen fetal-

aidd, braidd yn galed, yn ei lais, yr hyn a barai nad oedd yna yn gyffredin gymaint o deimlad. Ond ambell dro byddai yna deimlad tawel hyfryd yn cael ei gynyrchu. Yr oedd hyn yn arbennig yn cael ei deimlo y misoedd a'r wythnosau diweddaf y bu yn pregethu.

*Yn ei waith bugeiliol* yr oedd yn dra llwyddiannus. Yr oedd yn ymwybodol o'i lwyddiant yn y cyfeiriad hwn, ac nid oedd yn amddifad o'r gallu i farnu ei hunan, oblegyd yr oedd yn hynod o rydd oddiwrth rodres. Enillai ei gymeriad pur ac unplyg barch ac ymddiried y rhai yr oedd yn byw yn eu mysg. Y mae yn wir mai nid ar unwaith y deuai y lliaws i'w adwaen. Ni fyddai yn hir iawn mewn lle heb i'r clâf a'r profedigaethus ddod i'w adwaen a'i garu. Nid oedd yn credu mewn cerdded o dŷ i dŷ, ond ymwelai yn gyson ac wrth drefn â'r rhai oedd mewn angen am ymgeledd ysbrydol a chydymdeimlad. Ymwelai yn y cymeriad o weinidog, heb fod yna ddim swyddogol na ffurfiol o'i amgylch. Diau mai yn y cysylltiad hwn y gwelid ochr oreu ei natur yn dod i'r amlwg. Ac y mae yn anhawdd rhoddi syniad i rai nad adwaenent ef yn dda y fath barch ac anwyldeb a deimlid tuag ato gan y teuluoedd trallodus yr ymwelai â hwynt. Tra y gallai ddefnyddio geiriau llym tuag at y balch a'r honiadus, eto yr oedd yna elfen ddofn o dosturi a chydymdeimlad ynddo tuag at y trallodus; ïe yr oedd yn dyner iawn tuag at y rhai oedd drwy wendid yn syrthio i brofedigaethau. Anhawdd fuasai credu y gallasai gŵr oedd yn rhodio wrth reol mor fanwl ei hun fod mor oddefgar tuag at rai gwannach. Er ei fod wedi gadael yr Abermaw ers yn agos i 12 mlynedd, eto pan gyrhaeddodd y newydd am ei farwolaeth llenwid pawb gan dristwch wrth gofio ei eiriau caredig a'i weithredoedd cymwynasgar. Ar ol iddo adael yr Abermaw daeth un brawd i'r Seiat fyddai yn arfer llithro gyda'r dioddydd meddwol, ac adroddai mai cofio am Mr. Morgan yn rhoddi ei law ar ei ysgwydd, gan ei rybuddio yn ffyddlawn, ac eto yn dyner, a lynodd wrth ei feddwl. Yn ystod yr holl flynyddoedd ar ol gadael yr Abermaw byddai yn dra gofalus i anfon llythyrau cydymdeimlad â rhai mewn profedigaethau, a dywed un o swyddogion yr Abermaw, mewn llythyr atom, fod llythyrau Mr. Morgan yn cael eu gwerthfawrogi yn fawr, gan mor briodol a chyfaddas oeddynt yn y gwahanol amgylchiadau. Ac nid ar air yn unig y byddai yn dangos ei gydymdeimlad, ond hefyd mewn gweithred yn gystal. Nid oedd dim a'n tarawai yn fwy na'r dyddordeb mawr a deimlai yn y bobl y bu yn gweinidogaethu iddynt. Gellir dweyd am dano heb ddim gormodiaeth "ei fod yn gwir ofalu." Yr oeddynt ganddo mae yn ddiamheu "yn ei galon." Er ei fod yn ystod y chwe' blynedd diweddaf wedi ymryddhau oddiwrth ofal bugeiliol, eto ni bu yn segur yn yr ystyr hwn. Yn ystod y blynyddoedd hyn bu yn gofalu am Eglwysi y Graig a Glanadda, ger llaw Bangor, ac Eglwysi Seisnig Penmaenmawr a Llanfairfechan, a gwerthfawrogid ei lafur yn yr oll o'r lleoedd hyn. Cynaliai ddosbarthiadau darllen llwyddiannus yn rhai o'r lleoedd hyn, oblegyd yr oedd ganddo ddawn arbennig yn y cyfeiriad hwn. Gallasai yn hawdd ymesgusodi oddiwrth ofalaeth fugeiliol, gan fod ganddo gymaint o waith arall ar law; ond yr oedd ei gariad at waith, ac at waith bugeiliol, yn peri nas gallasai fod yn segur, a diau ei fod yn profi gofalaeth yn fantais a disgyblaeth i'w ysbryd ef ei hun. Wrth feddwl am y

cymhwysderau arbennig oedd ynddo i waith bugeiliol yr oedd yn ddigrifol clywed syniad rhai na chawsant fantais i'w adwaen yn dda. Edrychid arno gan rai fel un draenogaidd ei ysbryd, anhydrin, ac anhawdd cydweithio âg ef. Chwarddai ef ei hun yn galonnog wrth feddwl am y darlun hwn o hono. Ni ddymunwn chwaith gymeryd mantais ar goffadwriaeth ein brawd i feio y Cyfundeb a wasanaethodd mor ffyddlawn. Yn ystod y blynyddoedd diweddar, pan ar gwblhau y Casgliad at Athrofa y Bala, cafodd alwad oddiwrth ddwy eglwys gyfrifol, ond nid oedd yn teimlo fod y golofn yn arwain.

### 4. Fel Dyn a Christion.

Diweddwn y sylwadau hyn ar ein cyfaill gyda chyfeiriad at ei gymeriad personol. Gellir dweyd ei fod yn meddu natur hynod o seml, hawdd iawn i'w hadnabod. *All of a piece,* fel y dywedir. Yr un ydoedd o bob cyfeiriad. Ceid ef yr un bwysau bob amser. Yr oedd ynddo galon plentyn heb fod ynddo ddim plentynaidd. Yr oedd yn hawdd gwneud argraff arno, yn enwedig gan garedigrwydd. Traethai ei feddwl yn rhydd a digêl, ac ymddangosai yn fynych yn anochelgar. Derbyniai argraffiadau yn gyflym, ac nid oedd byth yn celu ei farn na'i ragfarn. A'r fath oedd unplygrwydd ei natur fel y newidiai ei farn wedi iddo gael gwell cyfleusdra i farnu. Fel cyfaill yr oedd yn hynod o ffyddlawn, a ffurfiodd gylch lled fawr o gyfeillion mynwesol, ac ni ddisgwyliai i'w gyfeillion weled lygad yn llygad âg ef ar lawer o bwyntiau. Gellir dweyd mai yr unig ffordd i barhau cyfeillgarwch gydag ef ydoedd caniatau iddo draethu ei farn yn ei ddull di-len a hanner direidus ei hun. A gallwn dystio ei fod yr un mor barod i ganiatau yr un rhyddid i ereill. Yr oedd yn un o'r llythyrwyr mwyaf dyddorol. Ysgrifennai mewn dull chwareus. Cyffyrddai yn ysgafn a chwestiynau y dydd—ei waith, a'i efrydiau llenyddol, gyda ysmaldod serchog. Bu yn aelod o dri o Gyfarfodydd Misol, sef Gorllewin Meirionydd, Môn, ac Arfon, a theimlai yn hynod o garedig tuag at ei frodyr yn y weinidogaeth. Yn wir po fwyaf cyfarwydd y deuai gyda phawb, mwyaf yn y byd yr hoffai hwynt, a mwyaf yn y byd yr hoffid ef ganddynt hwythau. Yr oedd yna elfen ddofn o serchogrwydd yn ei natur o dan y dull chwyrn a'r geiriau cwrtais. Credwn fod yr argraff arwynebol a wnelai yn codi o fath o yswildod, neu *nervousness,* oedd yn elfen mor amlwg ynddo. Ni theimlai yn gartrefol mewn cylch dieithr iddo, ac nid ymddangosai i'r fantais oreu. Hwyrach pe buasai wedi troi mwy ym mysg rhai o'r un oedran ag ef pan yn fachgen ac yn llanc y gallasai fod wedi gorchfygu y duedd hon. Tueddai ef ei hun i gredu hyn. Ni ymroddi yn rhwydd i unrhyw gylch. Yr oedd yna rhyw elfennau ynddo a'i cadwent ar wahan. Gellid meddwl fod yna rai nodweddion Seisnig yn ei gymeriad, ac y mae yn ffaith y teimlai ef ei hun yn llawn mor gartrefol gyda Saeson a'r cyffredin o Gymry, ac yr oedd yn edmygydd mawr o'r cymeriad Seisnig.

Yr ydym eisoes wedi cyfeirio at ei garedigrwydd. Ni ddylid myned heibio heb gyfeiriad at ei letygarwch. Yr oedd ef yn gystal a'i anwyl briod wedi eu dwyn i fyny ar aelwydydd enwog am eu lletygarwch. Yr oedd ein cyfaill yn un o'r dynion mwyaf caredig yn ei dŷ, nid yn unig tuag at ddieithriaid, ond tuag at y gwasanaethyddion. Teimlent

bob amser barch gwirioneddol tuag ato. Gofalai am eu cysur a'u llwyddiant ymhob ystyr. Pe cymerid barn y rhai fu yn gweini am dano, y mae yn amheus y ceid llawer yn ein gwlad yn sefyll yn uwch.

Feallai fod yr hyn a ddywedir yma yn ymddangos yn anghyson â'i ddull yn ysgrifennu. Cydnabyddwn hynny yn rhwydd. Ond nid oes amheuaeth nad oedd Mr. Morgan yn engraifft o un oedd yn cyfuno y dulliau dadleuol mwyaf eithafol gyda'r ysbryd mwyaf difalais. Yn wir, ceid engraifft o'r un peth yn amryw o ddadleuwyr duwinyddol Cymru, megys Thomas Jones, o Dinbych, S. R., ac ereill. Ni welid ôl y dadleuon ar ysbryd Mr. Morgan ei hun. Yr oedd ei gydymdeimlad âg efrydwyr y Coleg yn ddwfn a gwirioneddol, yn enwedig os tybiai eu bod yn dioddef angen. Dymunai yn fawr allu eu cynorthwyo, a diameu mai yr awyddfryd i wneud hyn a'i symbylai yn bennaf ynglŷn â'r Casgliad at yr Athrofa.

Heblaw hyn oll gellir dweyd am dano ei fod yn ofni Duw o'i febyd. Yr oedd wedi ei feithrin yng ngeiriau y ffydd. Nid ydym yn credu fod yna un cyfwng arbennig yn ei brofiad crefyddol. Tyfodd yn naturiol drwy addysg a disgyblaeth yr aelwyd i fod yn Gristion cywir. Ac yr oedd ei gymeriad crefyddol ar hyd ei fywyd uwchlaw pob amheuaeth. Credai yr Efengyl yn y ffurf y'i dysgwyd ar yr aelwyd gartref. Ni phrofodd erioed awelon amheuaeth, ac ni fedrai yn hawdd ddeall meddyliau felly. Nis gellir dweyd ei fod yn gwybod llawer oddiwrth demtasiynau, o'r hyn lleiaf yn y ffurfiau cyffredin. Yr oedd ei natur foesol yn hynod o gyfan a dianaf, ac o hyn feallai y cyfodai y nerth a'r llymder a ddangosai yn erbyn pob math o anwiredd. Er nas gellir dweyd fod ei natur ar raddfa fawr, eto yr oedd yn arbennig o gryf. Er yn hynod o ofnus a *nervous* mewn un ystyr, eto yr oedd yna wroldeb moesol o radd uchel iawn ynddo. Nid oedd yn hoff o son am ei deimladau ei hun, ac yr oedd, feallai, yn amddifad o *sentiment.* Nis gallwn yn hawdd feddwl am dano yn dweyd ei gŵyn, yn datgan ei siomedigaeth, ac ni chaniatäi i neb arall roddi anwes i'r teimladau hyn ynddo. Yr oedd yna deimlad dwfn o hunan-barch ac urddas personol ynddo. Nid aeth neb erioed yn hyf arno. Gallwn ddweyd hyn, ei fod yn hynod o gyson a rheolaidd yn ei gyflawniadau crefyddol, yn ei gartref ac ar ben ei hun. Yr oedd yn ddarllenwr mawr ar ei Fibl, darllennai gyfran o'r Testament Newydd yn ddifwlch bob dydd yn y gwreiddiol. Ac yr oedd yn amhosibl dod i gyffyrddiad agos âg ef heb deimlo ei fod dan lywodraeth yr egwyddorion uchaf, a bod ei ysbryd wedi ei wreiddio yng nghariad yr Efengyl. Bu farw flynyddoedd yn gynt nag y gellid disgwyl, er galar dwfn, nid yn unig i'w berthynasau, ond i gylch eang o gyfeillion, ac er colled nid bychan i'r Cyfundeb a llenyddiaeth gyfnodol ein gwlad.

Hwyrach y goddefir i ni ddweyd ein bod yn teimlo graddau o anhawsder i ysgrifennu am un a adwaenem mor dda, a hynny mor fuan ar ol ei ymadawiad sydyn. Wrth geisio elfennu ei gymeriad a'i nodweddion, yr ydym yn dal mewn côf mai nid molawd a fuasai ef yn hoffi i'w gyfeillion ysgrifennu, ond desgrifiad cywir o'r modd yr ymddangosai iddynt hwy.

JOHN OWEN.

*Yr Wyddgrug.*

## AMSERIAD EPISTOL IAGO.—HARNACK.

GALL rhan o'r penawd hwn ymddangos yn ddieithr. Hyd yn hyn nid yw enw Harnack mor adnabyddus, a phrin y gellir synied ar unwaith pa reswm sydd tros gysylltu ei enw âg Epistol Iago. I weled hyn boddloned y darllennydd ar air byr. Proffeswr ym mhrifysgol Berlin ydyw Harnack, olynydd i Neander, tywysog haneswyr yr Eglwys. O ran oed nid yw eto yn 45; eithr o ran meddwl, gwybodaeth o hanes yr Eglwys, ymroddiad i'w chwilio, a deall i'w drin, saif heddyw heb ei gyfartal yn yr holl fyd. Y neb a ddymuno weled rhestr o'i weithiau, darllenned yr *Expository Times* am Hydref 1895. Ar hyn o bryd ni raid ond troi at ei waith mawr olaf, yr hwn sydd eto heb ei orffen. Ei enw'n gyflawn yw *Hanes Llenyddiaeth yr Eglwys Gristionogol hyd ddyddiau Eusebius.* Cynwysa ddwy ran. Yn y rhan gyntaf rhoddir cyfieithiad i'r Ellmynaeg o holl lenyddiaeth y cyfnod dan sylw, a ffurfia hyn ddwy gyfrol. Yn yr ail ceir hanes y lenyddiaeth hon, o bosibl mewn dwy gyfrol. Hyd yn hyn nid ymddangosodd ond y gyfrol gyntaf: cynwysa 732 o dudalennau, a'i thestyn yw "Amseryddiaeth y Lenyddiaeth hyd ddyddiau Irenaeus." O fewn i'w chynnwys daw ymdriniaeth ar holl lyfrau y Testament Newydd, ac yn eu plith Epistol Iago. Tybiaf fod hyn o air yn ddigon o esboniad i'r darllennydd ar y penawd a saif uwchben yr ysgrif hon.

Amhosibl mewn un erthygl fuasai rhoddi syniad gweddol gyflawn am gynnwys y llyfr mawr hwn: rhaid, gan hynny, yw cyfyngu. A chan fod Epistol Iago yn faes llafur yr Ysgol Sabothol y flwyddyn hon, mwy dyddorol a buddiol fydd galw sylw y darllennydd at dystiolaeth Harnack ynghylch amseriad hwnnw. Ar ol ei ddarllen mor fanwl ag y gellais, rhaid i mi gydnabod, ar y dechreu, mai mewn ysbryd dadleu yr wyf yn cael fy hun. Ac er mwyn dadleu yn deg, y gwaith cyntaf yw cytuno ar ryw wirioneddau safonol, neu ffeithiau hanesiol. Gan mai amseryddiaeth yw testyn y llyfr, hawdd y gwelir mai ffeithiau gaiff y lle cyntaf—ffeithiau yn hanes ffurfiad y Testament Newydd. Os felly, yna gofynnir beth yw y ffeithiau hynny?

### YSGOL TUBINGEN—HOLTZMANN.

Cyn myned at y ffeithiau hyn, ac er deall safbwynt Harnack, tybiaf yn angenrhaid bwrw golwg byr dros hanes diweddar beirniadaeth ynglŷn âg amseriad Epistol Iago. I ddechreu troai beirniadaeth o gwmpas y dybiaeth fod Paul ac Iago wedi ysgrifennu tua'r un amser—y naill neu'r llall yn gyntaf, a'r naill yn ateb mwy neu lai i'r llall. Yn y cyfnod nesaf daeth yn dra eglur nas gellid cyd-amseru y ddau, ac felly bod Epistol Iago yn perthyn i gyfnod gwahanol, cynt neu gwedi, i'r eiddo Paul. Ar hyn o bryd, dyna fel y saif y mater: mŷn un dosbarth fod Epistol Iago wedi ei ysgrifennu cyn epistolau Paul, h.y. cyn tua 50 O.C., tra y mŷn y dosbarth arall iddo gael ei ysgrifennu ar ol 100 O.C. Ac i'r dosbarth olaf y perthyn Harnack, ynghydag ereill,

megys, Grimm, Hilgenfield, Holtzmann, Von Soden, Jülicher, a Brückner. Mae yn dra anawdd penderfynnu pa un o'r rhai hyn i'w ddewis fel engraifft o'r gweddill. A siarad yn fanwl, mae hynny yn hollol amhosibl; perffaith anibynnol ar eu gilydd ydynt oll; ond y maent oll yn teithio i'r un cyfeiriad, os nad yn hollol ar yr un llinellau, eto mwy neu lai yn ol yr un rhesymau. Hyd y gallaf farnu, y mwyaf cyflawn, manwl, a theg o honynt yw Holtzmann; a'i ffordd ef o esbonio ei olygiad sydd fwyaf eglur a chryno. Gwna hyn mewn pedwar gosodiad, fel y canlyn: Ceisia ddangos (1) fod lliaws o eiriau yn Epistol Iago wedi eu cymeryd allan o eiddo Paul; (2) felly hefyd am y defnydd wneir yma o Genesis xv. 6. Yna tybia (3) nas gallai neb o drigolion Palestina ysgrifennu Groeg mor dda; (4) ac fod y cyfeiriadau yma at yr Apocryffa yn profi fod yr Hen Destament a'r Apocryffa wedi eu rhwymo, ac yn cael eu defnyddio, fel un gyfrol. Credaf fod y rhesymau hyn o eiddo Holtzmann yn gweddol gynrychioli eiddo y gweddill o'r ysgol hon.

O'r pedwar rheswm hyn nis gall neb fethu gweled mai y ddau olaf yw y gwanaf a'r mwyaf disail. Cyn y buasai yr un o'r ddau yn ffaith, syrth i ran Holtzmann i brofi nas gallai Iago ysgrifennu Groeg mor dda, ac nas gallai ddefnyddio'r Apocryffa oddieithr ei fod gyda'r Hen Destament yn ffurfio un gyfrol. Am y rheswm olaf o'r ddau, tebycach yw i freuddwyd nag i reswm, a'r anrhydedd gyfiawnaf iddo yw ei anwybyddu. Pa wahaniaeth pa un a oedd yr Hen Destament a'r Apocryffa yn ffurfio un gyfrol ai peidio? Methais a gweled fod golygiad Holtzmann ar hyn o un gwerth arbennig iddo ef i amddiffyn ei olygiad. Am y rheswm blaenaf, digon yw crybwyll un ffaith a enwir ganddo, sef Groeg carpiog, yn ol ei olygiad ef, llyfr y Datguddiad. Oddiwrth y ffaith hon tŷn y casgliad nas gallasai Iago fod wedi ysgrifennu llythyr mewn Groeg mor dda Ni cheir yma fanylu ar y casgliad hwn. Digon fydd un ystyriaeth i wneud ei wendid yn eglur. Os llyfr y Datguddiad yw yr unig engraifft sydd gennym o Roeg Palestina, ac os yw yn engraifft deg a chyflawn, yna beth am Epistolau Petr, ac eiddo Ioan ynghyda'i Efengyl? Yn sicr prin y gall yr awdwyr ag y mae eu henwau wrthynt fod wedi eu hysgrifennu; mae eu Groeg yn llawer rhy dda i ganiatau hynny. Ac edrycher ar wendid ffordd Holtzmann o ymresymu: Gan na fedrai Ioan ysgrifennu Groeg cywir, yn ol llyfr y Datguddiad, yna nis gallai Iago, h.y. os na fedrai Ioan Roeg, yna ni fedrai Iago ychwaith. Pwy ddoethyn ymresymai fel yna? Ac i ba le yr aem dan arweiniad y cyfryw ymresymiad? Nis gŵyr Holtzmann na neb arall. Fel pob cam-dybiaeth, arweinia hon ni ar gyfeiliorn; felly y gwnaeth â Holtzmann ei hun.

Troer ynte at ei ddau reswm blaenaf. Yn awr, a thybio fod yr un cyfeiriadau a'r un geiriau i'w cael yng ngwaith Paul ac yn eiddo Iago, a thybio fod y naill wedi eu cymeryd o waith y llall, yna daw y cwestiwn i hyn: Pa un ai Iago sydd wedi eu cymeryd o eiddo Paul ai ynte fel arall? Yn sicr nis gall neb osgoi cydnabod nad yw y ffaith fod y ddau yn defnyddio yr un geiriau a'r un ffaith yn ddigon o brawf fod y naill wedi eu cymeryd o waith y llall. Er defnyddio yr un ymresymiad i brofi fod Iago a Hermas yn ysgrifennu tua'r un amser, eto nis mŷn Pfleider na Harnack fod y naill wedi eu cymeryd o waith y llall.

Gallai y ffaith fod Paul ac Iago yn byw yn yr un oes, yn troi yn yr un cylch, ac yn ymdrin a'r un materion, fod yn ddigon o gyfrif am hyn, heb o gwbl dybio fod y naill yn defnyddio, nac wedi darllen, gwaith y llall. Yn wir, nid yw y tebygrwydd hwn rhyngddynt yn ddigon cryf i brofi fod y naill hyd yn oed yn gwybod am waith y llall. Yr unig gasgliad teg fuasai fod yr awdwyr yn byw ac yn ysgrifennu yn yr un oes, pa mor agos neu bell bynnag y gallent fod oddiwrth eu gilydd. Eithr y mae casgliad o fath hwn yn rhedeg yn hollol groes i eiddo Holtzmann. Yn lle rhoi Epistol Iago yn ddiweddar, rhoisem ef yn dra chynnar yn hanes yr Eglwys. Gan y daw cyfeiriad at yr un mater yn angenrheidiol pan y deuwn at waith Harnack, gellir gadael Holtzmann yn y fan hon. Engraifft yn unig y golygid i hon fod o ffordd ysgol Tübingen o gyfrif amseriad Epistol Iago.

## HARNACK AC YSGOL TUBINGEN.

A siarad yn gyffredinol, prin y gellir dweyd fod Harnack yn awr yn perthyn i'r ysgol hon. Gelyn pennaf yr ysgol yw traddodiad Eglwysig, yn arbennig felly ynglŷn â llyfrau y Testament Newydd. Eithr cyffesa Harnack yn ddifloesgni ei fod erbyn hyn wedi troi yn ol, heb os nac onibae, at y syniad traddodiadol am amseriad y rhan fwyaf o lyfrau y Testament Newydd. Ac fe gred hyn mor gadarn nes mentro troi i broffwydo y bydd pob cwestiwn am eu hamseriad yn fuan wedi ei ateb yn hollol derfynnol a diffael. "Yn ddios, y mae traddodiad yn gyffredinol wir." "Hawdd y gallwn ei dderbyn. . . . Cyn belled ag y mae a wnelo bron a'r oll o'r epistolau a briodolir i Paul, cawn ei fod i lawr hyd ddyddiau Irenaeus yn berffaith gywir ar bron yr oll o'r prif bwyntiau, ac nis rhaid i'r hanesydd mwyach wrth gymorth un dybiaeth o gwbl i ddilyn eu hanes" Fel rhan o'r prawf ynglŷn â hyn apelia at Clement o Rufain (33—160 O.C.), Ignatius o Antioch (160—180), ac Irenaeus (180—251) fel tystion safadwy. Wrth ddarllen y geiriau hyn o eiddo Harnack llawenycha calon dyn yn fawr. Erbyn hyn gall pawb uniongred deimlo yn falch fod y Testament Newydd wedi dal cymaint o dân ymchwiliadol beirniadaeth ddiweddar. Daw allan o'r oddaeth mor debyg ei liw a'i lun i'r hyn y dysgwyd ni am dano fel y temtir dyn bron i goroni traddodiad Eglwysig â choron anffaeledigrwydd. Beth ynte all fod syniad Harnack am amseriad Epistol Iago?

Wrth ateb y cwestiwn hwn, dechreuwn gyda'r ffeithiau hynny y cytunir arnynt gan Harnack a ninnau :—

## TYSTIOLAETH YR EGLWYS I FYNY HYD 150 O.C.

Rhoddwyd lle i'r Epistol hwn yn y canon gan Gynghorau Carthage (397 O.C.) a Laodicea (363). Gwyddid am dano yn Affrica gan Athanasius (367) ac Origen (254); yn Asia Leiaf gan Gregory Nazianzium (381), ac yn Jerusalem gan Cyril yr Esgob (348) Ychwanega Harnack dystiolaeth a ystyria y gryfaf bosibl, sef eiddo Eusebius, yr hanesydd Eglwysig, ac esgob Caesarea (270—340) Mŷn Harnack ei fod yr hanesydd mwyaf teilwng o ymddiried; fod ei amcan yn uchel, ei ofal am y gwir yn fawr, a'i ysbryd yn dra eang. Ac fel hyn yr ysgrifenna

Eusebius: "Ymysg y llyfrau ag y mae dadl yn eu cylch—y rhai, er hynny, sydd berffaith adnabyddus a hollol hyddysg i bawb—gosodwn yr epistolau a wasgerir dan enw Iago, Judas, 2 Petr, ac 2 a 3 Ioan" (H E. III 38). Dyddia Mayor y dystiolaeth hon tua 330 O C, a Lightfoot tua 314 O.C. Nid pell fyddem o'n lle pe dywedem ei bod yn cynrychioli barn tua'r 300 O.C. Yn awr y cwestiwn a gyfyd yw: pa ddadl allasai fod ynghylch Epistol Iago—ynghylch ei awduraeth, ynte ei ddilysrwydd? A barnu oddiwrth arfer Eusebius ei hun, nid bid sicr, ynghylch yr olaf; oblegyd cawn ei fod ef yn difynnu yr Epistol hwn yn hollol yr un modd a rhannau ereill o'r Testament Newydd. Er engraifft: yn ei esboniad ar y Salmau, tu dal. 648, geilw Iago iv. ii. yn "ysgrythyr;" a tu dal. 247 fod Iago v. 13 wedi ei llefaru gan "yr apostol sanctaidd." Oddiwrth hyn prin y gall neb ddweyd y cyfeiriai Eusebius at un amheuaeth o berthynas i ddilysrwydd yr Epistol. Yna yr awduraeth oedd testyn yr amheuaeth, a gwyddom yn eithaf da fod mwy neu lai o le i ddadl ar y mater hwn. Y ffordd oreu i weled hyn yw trwy adgoffa mai nid yr Iago a wnaed yn apostol gan Iesu Grist, ond yr Iago a wnaed yn apostol gan yr Eglwys, allai fod yr awdwr.

Ni rhaid manylu ar hanes yr Epistol yn y drydedd ganrif. Gwelir cyfeiriadau ato neu ddifyniadau o hono yng ngweithiau Tertullian (230 O C.), Dionysius (265) ac Origen (253), a Chlement (220) o Alexandria, a Gregory Thaumaturgus (270) o Asia Leiaf; yn gystal ag yn Homiliau Clement a berthyn i'r ganrif honno. Ffaith bwysicach na'r oll yw, y cynwysir yr Epistol, os nad yn yr argraffiad cyntaf, yn sicr yn yr ail, o'r Cyfieithiad Syriaidd a elwir y Peshitto (Sanday, *Stud Bibl.* iii. 245—6). Ac arweinia hon un i weled fod yr Epistol yn cael ei ystyried yn rhan o'r canon yn ystod y drydedd ganrif.

Troer yn ol i'r ail ganrif, a gwelir nad yw y cyfeiriadau at Epistol Iago yn llai mynych na gwerthfawr. A dweyd y lleiaf, rhedant cyn belled yn ol a 150 O.C. Gwyddai yr awduron canlynol am yr Epistol:—Irenaeus, Theophilus (185 O.C.), Athenagorus (170), Justin Ferthyr (165), Epistol at Diognetus (150), Marc y Falentiniad (150). Tuag at allu rhoddi y pwys priodol ar werth y tystiolaethau hyn gelwir arnom i adgoffa ychydig ffeithiau yn hanes un neu ddau o'r awduron, fel y gallom weled y cylch y troent ynddo. (1) Bu Irenaeus yn ddisgybl i Polycarp, yr hwn yntau a fu yn ddisgybl i'r Apostol Ioan. Ganwyd ef rhwng 115 a 125 O.C. Bu yn yr ysgol gyda Polycarp; ymadawodd oddiyno tua 154 O.C., pryd y daeth yn genhadwr i Ddeheudir Ffrainc. Os felly, yna cafodd dreulio amryw flynyddoedd yn ysgol Polycarp yn Smyrna, Asia Leiaf, a phâr hyn y perthyn i'w farn ef werth neillduol. (2) Argyhoeddwyd Theophilus a dychwelwyd ef o fod yn bagan i fod yn Gristion. Llewyrchodd ei grefydd, ei allu, a'i ymroddiad i'r fath raddau nes y dyrchafwyd ef i sedd esgob ar yr Eglwys yn Antiochia yn Syria Bu farw tua 181 O.C. Pa faint o amser y bu yn esgob ni wyddis. Pe dywedem ugain mlynedd aem yn ol i'r flwyddyn 160 O.C. A phe rhoddem ddeng mlynedd rhwng adeg ei droedigaeth a'r flwyddyn y gwnaed ef yn esgob, cyrhaeddem 150 O.C. A chyfrif cymedrol fuasai hyn. (3) Ysgrifennwyd yr Epistol at Diognetus tua'r flwyddyn 150 O.C. Rhaid fod ei awdwr yn fyw cyn hynny, ac wedi cael rhai blynyddoedd gyda'r eglwys rhwng adeg ei droedigaeth a'r pryd yr

ysgrifennodd yr Epistol hwn. Yn awr, a rhoddi barn gymedrol iawn ar y ffoithiau hyn, nis gall neb ffeindio bai arnom pe dywedem fod Epistol Iago yn adnabyddus cyn 150 O.C. Arweinia hyn Harnack i ddweyd ei fod wedi ei ysgrifennu ryw bryd rhwng 120 a 140 O.C., ac yn rhywle yng ngwlad Canaan (t. 490—1). Hyd yma dilynwn ef gyda chryn lawer o bleser a hyfrydwch, ond nid gam ymhellach.

## BARN HARNACK.

Ein gwaith cyntaf yw cael syniad cyflawn am ffordd Harnack o ateb y ewestiwn am amseriad Epistol Iago. I'r diben hwnnw rhoddir yma grynhodeb mor fanwl a chyflawn ag sydd angenrheidicl i'r pwrpas presennol. Da fuasai gennyf gael y fraint o roddi cyfieithiad cyflawn o'i eiriau, modd y caffai yr efrydydd Cymreig y fantais oreu i farnu drosto ei hun wrth bwyso Harnack a'i feirniad. Eithr gofalwyd rhoddi rhybudd fel hyn ar glawr y llyfr: "Cedwir mewn llaw bob hawl, yn arbennig yr hawl o'i gyfieithu." Yn absennoldeb y cyfieithiad, gwneir y goreu yma i egluro barn Harnack mor fanwl a chyflawn a chryno ag sydd bosibl. Yn ffodus yn yr amgylchiad presennol nid anhawdd na maith fydd y gwaith hwnnw. Yn ei Ragarweiniad (t. vi.) dywed Harnack nad ystyria yn angenrheidiol fyned i fewn i'r holl fanylion ynglŷn â chwestiwn ag y mae beirniaid ereill yn mwy neu lai gytuno arno. Mae'n debyg mai dyna sy'n cyfrif fod Harnack wedi rhoddi cyn lleied o le i'w sylw ar Epistod Iago: nis cymer hyn fwy o le na chwe' tudalen mewn gwaith mor fawr. Eglur yw y teimla yr awdwr yn anesmwyth braidd oherwydd hyn. O leiaf, ymesgusoda trwy ddweyd fod Jülicher yn ei "Ragarweiniad i'r Testament Newydd," wedi gwneud y gwaith. Diau nas digia Harnack wrthym am dybio iddo yntau yn y gyfrol hon ddweyd pob peth a ystyriai efe yn anhebgorol angenrheidiol i brofi ei bwnc, ac felly na wnaem gam âg ef wrth ddarllen ei gyfrol ef heb gymorth "Rhagarweiniad" Jülicher. Trwy dybio hyn y talwn iddo y warogaeth uchaf.

Fel hyn yr ymresyma Harnack: (1) O'r tu allan i'r Epistol ei hun, Origen yw y cyntaf i'w enwi, a dengys 1 Clement at y Corinthiaid, 1 Pedr, a gweithiau Hermas berthynas nid yn unig â geiriau ond hefyd â holl ysbryd yr Epistol. Eto nid yw hyn yn penderfynnu pa un ai yr Epistol ai y gweithiau hyn yw yr hynaf. Dyna holl ffeithiau Harnack ynglŷn â'r prawfion allanol, a'r casgliad y daw iddo. Prin y gellir gwadu nad yw y ffordd hon o ddefnyddio ei ffeithiau yn dangos llawer o gymedroledd barn. Eithr gan nad yw Harnack yn gwneuthur sylw pellach o hyn, ni raid ychwanegu gair arno yma.

(2.) Troer at y dystiolaeth gyfyd o ddarllen yr Epistol ei hun a'i gymharu â llenyddiaeth adnabyddus yr oesoedd boreuaf. *(a.)* Mae ymdriniaeth Hermas ar "fydolrwydd" yn *Cyffel. IX.* yn debyg i'r eiddo Iago yn yr ail bennod, ac yn arbennig y chweched adnod. A barnu oddiwrth hyn buasid yn dyddio'r olaf tua'r flwyddyn 120 O.C., ond nid ymhellach yn ol na hynny. *(b.)* Cadarnheir y dybiaeth hon gan ystyriaethau hanesiol. Yn gyntaf oll, cytuna'r holl feirniaid na pherthyn yr Epistol hwn i'r un amser ag eiddo Paul. Felly rhaid ei fod cynt neu chwedyn. Yn gynt nis gall fod, oherwydd amryw resymau. Yn

y lle cyntaf, nid yw y gair "deddf" yn yr Epistol hwn yn golygu deddf Moses yn ei hagweddau ymarferol. Yn ail, fe dybir yma fod geiriau Paul yn cael eu camddefnyddio. Ac yn drydydd, ymdrinir yma â'r cyfryw wirioneddau diwinyddol ag oedd yn gyffredin yn yr ail ganrif. Wedi enwi y rhesymau hyn try Harnack i wneud gwaith croesholydd mewn llŷs gwladol. Gofyna mewn syndod at y fath drawster tybiedig: "Ai teg i ni dybied fod Paul yn dod i hanes yr Eglwys megys y daeth pechod i'r byd? fod Cristionogaeth yn bod rhwng 30 a 50 O.C., megys eiddo Hermas, Clement a Justin yn yr ail ganrif? . . . . . ddarfod i hyn ymddangos 90 mlynedd yn ddiweddarach ac yn wanach, ar ol Epistolau Paul, Ioan, a'r Epistol at yr Hebreaid?" Cwestiynau croesholydd yw y rhai hyn oll—llawnach o awgrymiadau aneglur nag o wirionedd pur. Wrth gwrs, y gwir y ceisia Harnack ei ddangos trwyddynt, yw hwn: gosoder yr Epistol yn y cyfnod lle y ceir ffeithiau cyfochrog iddo; ac yn ol ei farn ef tua'r flwyddyn 120 O.C. yw y cyfnod hwnnw. Cytuna pawb â'r cyfarwyddid cyntaf. Testyn ein hymchwiliad yn awr fydd y rhan olaf.

## SYLW CYFFREDINOL.

Cyn troi i feirniadu golygiad Harnack nis gellir osgoi un ffaith yn ei hanes ag sydd yn eglur ddangos ym mha ryw ysbryd a than ddylanwad pa ryw dueddfryd yr ysgrifennai efe. Cyfeiriasom eisoes at y cyfnewidiad mawr yr aeth drwyddo o berthynas i awduraeth Epistolau Paul. Ymwrthododd âg arfer a barn ysgol Tübingen, a chofleidiodd dystiolaeth traddodiad. Eto, na feddylied neb fod hyn yn wir am dano gyda phob rhan o'r T. N. Nid felly y mae, fe welir, gyda golwg ar Epistol Iago. Wrth ddarllen ei ymdriniaeth â'r mater hwn daw i'r golwg un ffaith bâr i mi lawer o amheuaeth pa un a fu mor onest yn ei ymchwiliad. Er engraifft, yn ei ragymadrodd enwa ddau awdwr Ellmynaidd ag y mae dan deyrnged iddynt,—sef Jülicher a Weiss, ac i'r ddau ar gyfrif eu gwaith yn ysgrifennu "Rhagarweiniad i'r T. N." Cydnebydd a defnyddia waith Jülicher, ond nid enwa Weiss unwaith. Buasai dyn yn disgwyl i Harnack o leiaf roddi ei briodol le i'r olaf yn y rhan hon o'i waith. Hyd y gwelaf nid yw wedi bod yn ddigon gofalus i'w gau allan o'r dosbarth "bychan hwnnw o feirniaid ag y mae eu barn yn prysur fyned ar ebargofiant." Yn sicr saif Weiss ymhlith y rhai y caniateir iddynt "hawl negyddol i osod Iago o flaen amser ysgrifeniadau Paul," ond ychydig ryfeddol o sylw a haeddant,—dim ond dau neu dri o gwestiynau croeshoeliadol a dybir yn anatebadwy. Credaf fod hyn yn ddigon o brawf nad yw Harnack wedi hollol ymddihatru oddiwrth yr ysbryd a feithrinodd tan ddylanwad ysgol Tübingen, pa mor fawr bynnag all ei syniad fod erbyn hyn am werth traddodiad Eglwysig.

## BEIRNIADAETH AR OLYGIAD HARNACK.

Wrth feirniadu, gwaith cyntaf y darllennydd yw chwilio pa beth sydd yn brawf cadarn, diysgog a sicr. Ceir fod rhyw resymau yn rhan o bob prawf ag sydd ynddynt eu hunain yn debyg i'r *cipher*. Ei hun nid yw honno yn werth dim: ar ol ffigyr cynydda werth hwnnw yn

ddengwaith. Cawn fod Harnack yn ymresymu gan gadw hyn mewn golwg. Ei brif reswm ef, neu y brif ffaith a ddefnyddia, yw y tebygrwydd rhwng Epistol Iago a gweithiau Hermas, a rhydd engraifft o hyn, fel y tybia, yn ymdriniaeth y naill a'r llall ar "fydolrwydd." Try y gweddill o'i resymau yn fwy neu lai o gylch hwn.

1. Daw ein cwestiwn cyntaf i hyn: a yw y tebygrwydd hwn yn ddigon cryf i'n cyfiawnhau pan ddywedom fod Epistol Iago a gweithiau Hermas yn perthyn i'r un cyfnod? Wrth gwrs, etyb Harnack yn y cadarnhaol, a thybia ei fod yn profi hynny yn ddios trwy gyfeirio at lyfr *Cyffelybiaethau* Hermas, gan nodi fel engreifftiau arbennig ix. **19**, 21, 26, 28. Cyn dweyd dim ar hyn, y gwaith cyntaf syrth i'n rhan ydyw rhoddi syniad i'r darllennydd am rym ymresymiad Harnack, trwy ddarllen un o'r penodau hyn yn Gymraeg,—a chyda llaw yr oreu o'r pedair yn ffafr Harnack,—gan roddi mewn llythrennau Italaidd y geiriau tebyg yn y naill a'r llall :—

Cyff. ix. 19.—"Ar y mynydd cyntaf—y Mynydd Du. Dyma gymeriad y credinwyr. Gwrthgilwyr a chablwyr yn erbyn yr Arglwydd, a bradychwyr gweision Duw. I'r cyfryw nid oes edifeirwch, eithr marwolaeth ; ac am hyn, ynte, duon ydynt. Canys di-ddeddf yw eu cenhedlaeth hwy." . . . . "Ar yr ail fynydd"—y Mynydd Moel. Dyma gymeriad y credinwyr. *Rhagrithwyr* a *dysgawdwyr drwg* ydynt. Ac am hynny tebyg yw y rhai hyn i'r cyntaf, gan nad oes iddynt *ffrwyth cyfiawnder.* Canys megys y mae eu mynydd hwy yn ddiffaeth, felly hefyd *y mae* i'r cyfryw ddynion *enw, amddifad* ydynt o *ffydd*, ac nid oes ffrwyth gwirionedd ynddynt. Am hynny, iddynt hwy, posibl yw edifeirwch os edifarhânt ar frys ; eithr os tariant, gyda'r cyntaf y bydd eu marwolaeth hwy. Pam, Arglwydd, meddwn innau, y mae edifeirwch yn bosibl i'r rhai hyn, ac nid hefyd i'r rhai cyntaf? Canys yn sicr, unol â'r un rheol yw eu gweithrediadau hwy. Oblegyd, medd yntau, fe saif edifeirwch yn bosibl iddynt hwy am nas cablasant eu Harglwydd ac na throisant yn fradychwyr gweision Duw, a hwy a ragrithiasant oherwydd eu chwant am gyfoeth, ac a ddysgasant bob un chwantau dynion pechadurus. Eithr hwy a dalant gosb am hyn. Eithr fe erys edifeirwch iddynt am nad ydynt na chablwyr na bradychwyr."

Gofynned y darllennydd yn awr, pa faint o debygrwydd all fod rhwng yr engraifft hon âg Epistol Iago? pa faint o'r un geiriau geir yma ac yno? a pha faint o wahaniaeth lliw os nad ystyr all fod rhyngddynt yma ac yno? A sylwer fod Harnack yn ddigon call i ddilyn Pfleiderer fel ag i beidio myned yn rhy fanwl gyda'r tebygrwydd tybiedig hwn. Daw y cwbl a ddywed efe yn bendant i hyn: mae tebygrwydd geiriau y naill i eiddo y llall, a darluniau y naill i eiddo y llall, yn rheswm digonol tros ddweyd fod y naill a'r llall yn perthyn i'r un oes, h. y. Epistol Iago yn perthyn i'r un oes a gweithiau Hermas, sef 120—140 O.C. Ië, ond dweyd, ac nid dangos, hyn wna Harnack. Ni chyfeiria ni i unman arall fel y gallem gael syniad gweddol gywir am y rhesymau oedd ganddo ef dros ddweyd hyn. Os tybiodd nad oedd un angen am hynny, fe gauodd ei lygaid ac anwybyddodd, neu yn hytrach mawrhaodd, rym ei ffeithiau yn absenoldeb un rheswm dros hynny. Gall ei wrthwynebydd ddweyd fel ateb iddo: nid oes yma yr

un gair nas ceir cyn amser Hermas, ac nid oes mwy tebygrwydd rhwng y drygioni a ddesgrifia Hermas a'r un y cyfeirir ato yn Epistol Iago nag sydd yn bod rhwng pob "bydolrwydd" ym mhob oes. Ac nid yw Harnack o gwbl yn nodi un agwedd neillduol ar fydolrwydd ag sydd yn profi yn ddios mai yr un ffurf arno y cyfeirir ato gan Iago a Hermas. Ychwaneg; nid diystyr yw y ffaith mai "bydolrwydd" yw y pechod sydd yn cael mwyaf o sylw gan Iago, eithr nid felly gan Hermas. A phe buasai Epistol Iago yn cael ei ysgrifennu yn oes Hermas, prin y gall dyn gredu mai "bydolrwydd" fuasai yr unig bechod mawr gawsai sylw yr awdwr. Os felly, yna pa le y saif prawf Harnack fod y ddau wedi eu hysgrifennu yn yr un oes? Y gwaith a erys eto i'w gyflawni yw profi fod y cyfochredd rhwng Iago a Hermas yn gyfryw ag nas gallai fod ond yn unig rhwng dau awdwr yn ysgrifennu yn yr un oes. Wedi gwneud hyn, buasai prawf Harnack yn derfynol. Eithr hyn nis gwna mwy na Jülicher yr hwn a ddilyna. Maddeued, ynte, i ddisgybl am ddweyd nas gall. Yna, a dweyd y lleiaf, fe erys prif reswm Harnack dros ei olygiad eto heb ei brofi.

2. Os erys ei reswm cyntaf heb ei brofi, yna, a barnu yn ol dull Harnack o feddwl, fe ddiflanna, neu ynte fe wanha, llawer o rym ei resymau nesaf. Meddai: "Cadarnheir y dybiaeth hon gan ystyriaethau hanesiol." Enwa dair ystyriaeth, fel y gwelwyd. Dechreuer yma gyda'r olaf. Gofynnir: a oedd y gwirioneddau yr ymdrinir â hwy yn Epistol Iago yn absennol o hanes Cristionogaeth cyn yr ail ganrif? Neu, er bod yn fyr, a oedd y gwirioneddau hyn yn absennol o'i hanes yn ystod y cyfnod 30—50 O.C.? Os nad oeddynt yn absennol, yna, yn ol rheol Harnack o ddarllen hanes, rhaid yw iddo gydnabod fod cymaint a hynny o reswm dros ddweyd i Epistol Iago gael ei ysgrifennu cyn 50 O.C. Pa wirioneddau, ynte, a gymer Harnack i sylw yn y gosodiad hwn? Mae yn dra anhawdd ateb. Nid yw efe ei hun yn ateb nac yn awgrymu. Feallai, wedi'r cwbl, nad yw y rheswm hwn ond cyffredinoliad disail o'i ail reswm, yn ffafr dadleuydd ac nid ymresymwr. Yn sicr, nid pell o'n lle, yng ngwyneb distawrwydd Harnack, fyddem pe mynnem fod ei ail reswm yn engraifft o'r trydydd. A dyna yw hwnnw: fe dybir yma, medd Harnack, fod geiriau Paul yn cael eu camddefnyddio, h. y. y geiriau mai trwy ffydd y cyfiawnheir dyn.

3. Ond a yw Harnack yn ddigon sicr mai geiriau Paul yw y rhai hyn? Ni ddywedir ac nid awgrymir hynny gan Iago. Pe buasid yn sicr mai tua 120 O.C. yr ysgrifenwyd yr Epistol hwn, ni buasai un gwrthwynebiad i Harnack ddweyd hyn. Eithr nid ydys yn sicr, ac nid yw prawf tybiedig Harnack yn sicr, ac felly nid oes ganddo un rheswm hanesiol tros alw y geiriau hyn yn eiriau Paul. Gwrthbrawf anatebadwy i Harnack fuasai dangos nad oes dim yng ngeiriau Iago ar gyfiawnhad trwy ffydd a gweithredoedd nas gellir ei gael yn ystod y deng mlynedd ar hugain cyntaf o hanes Cristionogaeth. A yw hynny yn bosibl? Gweler ateb cyflawn a diamwys Proffeswr Mayor yn yr *Expositor* am Fai, 1897. Cyfeiria at adnodau yn yr Hen Destament ag a ddefnyddir yn y Testament Newydd i brofi yr un mater, sef Gen. xv. 6, Hab. ii. 4; noda adnodau yn yr Efengylau ag sy'n dysgu yr un gwirionedd; dywed fod Lightfoot yn difynnu geiriau i'r un perwyl allan o weithiau Philo a'r Rabiniaid; a chrybwylla am *Destament Abraham* a

4 *Ezra*. Dengys llyfr 4 *Ezra* yn ddiau fod "cyfiawnhad" yn destyn sylw yn ystod oes Iesu Grist. Wele, ddim ond un difyniad: "Efe a amddiffyn y rhai a syrthiant i berygl, os bydd ganddynt weithredoedd a ffydd wrth gefn" (xiii. 23). Yr unig fan gwan yn y dystiolaeth hon yw hynny: nad oes ar gael yr un engraifft wybyddus o'r frawddeg "cyfiawnhau *trwy* ffydd neu *trwy* weithredoedd" cyn dyddiau Paul ac Iago. Pa faint all y gwendid hwn fod, nis gellir yn awr holi. Rhaid cadw mewn cof (1) nad yw Iago na Phaul yn awgrymu o gwbl eu bod yn defnyddio brawddegau mor ddieithr fel ag i alw am esboniad arnynt; (2) ac fod brawddegau ereill, lle y ceir yr un gair "cyfiawnhau," yn gysylltiedig â'r un rhagddodiad er nad o flaen y gair "ffydd," megys "wrth (ἐκ) dy eiriau y'th gyfiawnheir" (Matt. xii. 37). Wedi'r cwbl, gall dyn ofyn gyda chryn lawer o reswm: a oes yma wendid o gwbl? Tybia Dr. Mayor fod y gwendid yn diflannu. Ac yn sicr, ar ol darllen a myfyrio cymaint ag a ellid ar hanes y cyfnod hwn, nis gallwn osgoi y casgliad fod yn rhaid i Harnack roi heibio ei dybiaeth ddarfod i Iago ddefnyddio geiriau Paul. Ac os yw y gwirionedd hwn yn engraifft deg o'r lleill y cyfeiria Harnack atynt, eglur fydd mai yr un yw tynged y rheiny.

3. Eto rhaid dilyn Harnack gam ymhellach. Myn ef na ddefnyddir y gair "deddf" yn yr Epistol hwn i olygu deddf Moses yn ei hagweddau ymarferol. Er mor syml yr ymddengys y gosodiad hwn, daw yn eglur iawn ar fyr ystyriaeth pa mor gyfansawdd ydyw. Fel hyn: a berthynai i ddeddf Moses rai agweddau ymarferol a rhai anymarferol? A oedd gwahaniaeth rhyngddynt? A wyddai ysgrifenwyr y Testament Newydd hynny, ac a oeddynt yn gofalu gwneud hynny yn eglur bob amser i'w darllenwyr? Y mae angen gofyn fel hyn yn ddigon o brawf na bu Harnack mor fanwl ag y dylasai, ac yn arwain dyn i ddweyd nad yw wedi profi ei bwngc, nac wedi cydnabod bod angen hyn o gwbl. Ac os felly, yna fe syrth y rheswm hwn o'i eiddo o'r neilldu, a dweyd y lleiaf.

Ymhellach: os gellir profi fod y gair "deddf" yn cael ei ddefnyddio mewn agweddau heb fod yn uniongyrchol ymarferol, a hynny cyn 50 O.C., yna fe dorrir i lawr bob grym allai fod yn y dybiaeth hon o eiddo Harnack. (1) Yn Epistol Iago cyfarfyddwn â'r gair "deddf" neu "gyfraith" un ar ddeg o weithiau, a gellir crynhoi y defnydd a wneir o hono i dri gosodiad (*a*.) Cyfraith rhyddid (i. 25; ii. 12); y gyfraith frenhinol (ii. 8) ydyw. (*b*.) Y mae i'w chadw (i. 25; ii. 8, 10); fe'i torrir (ii. 9, 11), ac fe'i beirniadir (iv. 11). (*c*.) Fe fernir dyn wrthi (ii. 12, iv 11). Yn yr holl osodiadau hyn, un peth eithriadol sydd yma, sef yr enw roddir ar y ddeddf yn y cyntaf. Eto ni rydd Harnack un pwys arbennig ar yr eithriad posibl hwn, ac oblegyd hynny y mae yn dra anhawdd, ac i mi yn amhosibl, gweled beth allasai fod grym ei sylw gyda golwg ar ystyr y gair "deddf" yn yr Epistol hwn. Pe'n hysbysasai mai y ddeddf seremonïol a olygai wrth yr ymadrodd, "Deddf Moses yn ei hagweddau ymarferol," buasai yn haws i ni ei deall. Gan na wnaeth, oferwaith yw ei feirniadu ymhellach. (2.) Os nad oes yng ngeiriau Iago ddim nas gallai fod wedi ei ysgrifennu cyn 50 O.C., gellir eto ofyn, a allai rhyw ystyriaethau alw arnom i ddweyd mai dyna'r pryd yr ysgrifennwyd hwy?

I ateb hyn, troer sylw at yr ail bennod, a'r rhan flaenaf o honi. O'r rhan hon y cymer Harnack ei engraifft i brofi cyd-amseriad Epistol Iago a gweithiau Hermas. Yn debyg i hyn yr ysgrifenna: "Yn yr ail bennod a mannau ereill rhaid yw iddynt orchfygu rhyw ffurfioldeb bydol sydd yn hollol gyfystyr â bydolrwydd. Yn nesgrifiadau Hermas yn unig (o weithiau yr hen amseroedd) y cawn engraifft o gyffelyb fydolrwydd" (tu dal. 485). I ddechreu, a yw y ffaith nad oes gennym un hanes am gyffelyb fydolrwydd cyn dyddiau Hermas yn ddigon o brawf na bu hynny erioed cyn yr amser hwnnw? Mae gofyn y cwestiwn hwn yn ddigon i ddangos nad yw gwrthwynebiad Harnack mor gadarn ag y gellid ar y cyntaf dybio. Cadarnha yr awdwr y gosodiad uchod mewn dwy ffordd. Difynna o waith Jülicher a gwaith Hermas.

Yn debyg i hyn y darllenna Jülicher fel y'i difynnir gan Harnack (tu dal. 485—6). "Ymddangosai cyflwr yr eglwys mewn ystyr foesol a chrefyddol wedi dirywio cymaint, fel mai prin y gallwn gredu fod hynny yn bod cyn dyddiau Hermas. Enillasai rhyw ffurfioldeb bydol y fath le yn llywodraeth yr Eglwys; a chydag ymadroddion tebyg i'r rhai hyn, "Gan Dduw y'm temtir" (i. 13), "os credaf, dedwydd fi" (ii. 14)—ymesgusodai dynion yn warthus dros eu drygau a'u claiarineb." Dyna ddigon o'r difynniad yma. Yr unig reswm dros ei roddi ydyw fod Harnack yn apelio ato, a'i fod, feallai, yn dweyd cymaint ag sydd bosibl o'u safle hwy. Er eu deall gofynner iddynt beth oedd y "drygau?" A oes yn Epistol Iago ryw le i dybio eu bod yn perthyn i'r dosbarth "gwarthus" o gwbl? Nid yw Harnack na Jülicher yn enwi un pechod mwy "gwarthus" na "bydolrwydd." Prin y buasai dyn yn barod i gydnabod fod hwn yn perthyn i'r dosbarth gwarthus. Fe berthyn "godineb" bob amser i'r dosbarth hwnnw; ond pwy byth fuasai yn rhestru "bydolrwydd" ynddo? Dangos ddymunem yma (1.) Nad yw Jülicher wedi chwilio yn ddigon manwl fel ag i gael syniad clir beth oedd natur a chymeriad y "bydolrwydd" hwn; (2.) Nad yw oherwydd hynny wedi myned i un drafferth i ganfod pa un a oedd y cyfryw fydolrwydd yn bosibl cyn amser Hermas; ac (3.) yn arbennig, nad yw yn gofyn o gwbl pa un a oedd hynny yn bod yn y synagogau cyn y flwyddyn 50 O.C.

Yn nesaf, troer at engraifft Harnack allan o Hermas. Cyfieithiwyd un paragraff yn esiampl i'r darllennydd. Gyda'i holl engreifftiau, tybia Harnack ei fod yn gweled y fath debygrwydd fel ag i'w gyfiawnhau i ddod i'r casgliad canlynol:—"Nis gall neb yn rhwydd iawn berswadio ei hun fod yr Epistol hwn wedi ei ysgrifennu lawer cynarach nag eiddo Hermas," hynny yw, "nis gall neb gydag Epistol fel hwn fyned ymhellach yn ol na 120 O.C.,—Epistol ag sy'n tybied fod erledigaeth oddiar law yr awdurdodau gwladol ac achwynion ar y Cristionogion, yn bethau cyffredin y pryd hynny" (tu dal. 486). Pe rhoddasai Harnack gyfeiriadau o ryw fath i brofi hyn, neu ynte esboniad cyflawnach ar ei feddwl ei hun, teimlasai dyn yn llawer mwy boddlon, hyd yn oed er meddu barn hollol groes iddo. Gan mai yn anorffenedig y gadawodd hwy, fe ganiatâ i mi ddweyd nad y'nt yn agos i'r gwir. At ii. 6 y cyfeiria yn bennaf, ond y mae yn aros i'w brofi fod yr adnod hon o gwbl yn cyfeirio at un erledigaeth swyddogol. Ychwaneg: nid oes un gair arall yn yr holl Epistol ag y gall Harnack gyfeirio ato yn ffafr ei dybiaeth. Ai

*

dyna yw y rheswm nas gwna? Ei unig sail, o leiaf yr unig un gwerth ganddo ei honni, yw yr adnod hon.

Darllenner yr adnod fel y'i cyfieithir gan fy nghyfaill, y Parch. J. Puleston Jones, neu ynte yn fanylach gan Proff. Mayor: "Onid y cyfoethogion sydd yn eich gorthrymu chwi, ac a'u llaw eu hunain yn eich llusgo ger bron y brawdleoedd? Onid hwynthwy sydd yn cablu yr enw rhagorol a elwir arnoch chwi?" Sylwer fel y dyry y darllenniad hwn y pwys ar y ffaith mai y cyfoethogion sydd yn eu herlid. Yn ol Harnack yr un yw y cyfoethogion â llywodraethwyr Cenedlig. Nid yw efe yn profi hynny, ac y mae yn dra amlwg fod prawf yn angenrheidiol. Fe ŵyr pawb nad yw yr holl gyfoethogion yn swyddogion gwladol, ac nad yw yr holl swyddogion gwladol yn gyfoethog. Pa reswm ynte sydd gan Harnack dros ei dybiaeth ef? Dim o gwbl. Ymhellach, fe red y darllenniad yn hollol groes i'r cyfryw dybiaeth. Nid y llywodraethwyr eu hunain fyddai yn llusgo y dyledwyr o flaen eu brawdleoedd; tra yma rhoddir pwys ar y ffaith mai y cyfoethogion eu hunain a wnai y gwaith hwnnw. Os gwir yw hynny, fe'n gwthir ar ein gwaethaf i'r casgliad mai nid erledigaeth grefyddol yn y lle cyntaf oedd yr un y cyfeirir ati yma; ac fod yn bosibl—a hynny oblegyd rheswm pur gryf—iddi fod yn gyfystyr hollol i'r gorthrwm cymdeithasol, gwel eiriau teg y Parch. J. Puleston Jones (tu dal. 17, 18).

Mae amryw sylwadau yng ngwaith Harnack nad ydys eto wedi gwneud un sylw o honynt. Rhaid oedd yma gyfyngu ein sylw at un mater yn unig. Am y gweddill, ceir cyfleustra i sylwi arnynt ar ol hyn. Siomwyd ni yn ddirfawr gan mor wan oedd rhesymau Harnack tros ddyddio Epistol Iago tua 130—40 O.C. Po fwyaf ddarllenwn arnynt, gwanaf yn y byd yr ânt. Methodd ysgol Tübingen ddarllen hanes yr ugain mlynedd cyntaf o oes yr Eglwys. Ac er fod Harnack yn ymwrthod a'r ysgol honno, eto y mae ei holion yn aros arno. Pan ddarllenno hanes yr ugain mlynedd hyn yn fanylach, megys ag y mae yn addaw, daw yn sicr i weled fod mwy o reswm tros olygiad Weiss, Beyschlag ac ereill, nag a ddychmygodd efe. Yn wir, bron na ddywedai dyn y daw i weled rheswm cryfach fyth tros y golygiad hwnnw nag a welodd Weiss, P. Ewald, Beyschlag, Mangold, ac hyd yn oed Neander. A gall ymlawenychu wrth feddwl ei fod wedi dod i'r un feddwl a'i hen athraw, Ritschl, ag y mae ganddo gymaint o feddwl o honno, gan fod Ritschl o'r un farn a Neander ar hyn o fater. Rhaid i mi yn awr derfynu yr erthygl hon, gyda'r dymuniad iddi fod o ryw gymaint o werth i'r sawl sy'n efrydu Epistol Iago.

WILLIAM GLYNNE.

*Manchester.*

## FE DDAETH GWANWYN ETO.

Fe ddaeth Gwanwyn eto, i wyrddu'r tir,—
I lonni'r anifail â'i laswellt îr:
Daeth atom fel meinwen ysgafn ei throed,
Gan wenu'n siriol ar bob gradd ac oed.

Fe ddaeth Gwanwyn eto â'i dyner swyn,
A'i ddwylaw yn llawn o bwysïau mwyn:
Fe ddaeth i ysgafnu y galon drom,
Ac i sibrwd gobaith wrth blentyn siom.

Dêg Wanwyn, yr wyt yn garedig iawn—
I dlawd a chyfoethog wyt hael dy ddawn;
'Rwyt yn harddu aneddau pob gradd a rhyw,
Heb ofyn i neb pwy sydd yno'n byw.

Fe ddaeth Gwanwyn eto â'i wybren glir,
A'i gain delynorion i swyno'r tir;
Mae'r goedwig yn orlawn o fiwsig byw—
Yn Deml o fawl i'r Goruchaf Dduw.

"Fe ddaeth Gwanwyn eto," medd briaill glân,
"Fe ddaeth Gwanwyn eto," medd adar mân;
"Fe ddaeth," medd *holl* natur, mewn cydgan gref,
Pob graddau a rhyw gyd-chŵyddant y llef.

Garedig Wanwyn, mi garwn o hyd
Fod yn dy gwmni tra bwy' yn y byd,
Yn casglu dy flodau, fel plentyn bach,
Yng ngwres dy huan, yn hoew ac iach.

Fe ddaeth Gwanwyn eto, un newydd yw,
O swyddfa dragwyddol Rhagluniaeth Duw:
I'n daear y daeth yn ddihalog lân,
A'i hosgordd o filmyrdd o flodau mân.

Fe ddaeth Gwanwyn eto â'i swyn a'i hedd,
I wyrddu pob llecyn, *ond gwaelod bedd:*
Nid oes yn hwnnw flodeuyn na gwawr,
Ond oerni a th'wyllwch yr hirnos fawr!

Dduw, gwna fi yn barod, mewn dydd o ras,
Ar gyfer y Gwanwyn tragwyddol las,
Ga'r Saint ar ddol-diroedd y byd a ddaw,
Yng nghyngerdd mil myrdd o engyl di-daw.

*Llandudoch.* J. MYFENYDD MORGAN.

# GOHEBIAETH Y PARCHEDIG THOMAS CHARLES, B.A., O'R BALA.

## VIII.

THOMAS CHARLES TO MISS WRIGHT, BROOKE HOUSE, NEAR TARVIN, CHESHIRE.

My Dear Friend,

It is proverbial among the Welsh that "a debt is never diminished by delay." I acknowledge myself your debtor for a very friendly and judicious letter you sent me in February last. It ought to have been acknowledged before now, I grant, but your usual kindness will furnish you with an apology for me, or I might say a good deal about my many engagements, continual hurry, &c., &c. If I have trespassed here in your estimation, you must freely forgive me and then we are friends again, and all is over. The doctrine of forgiveness, whether received or bestowed, is very suitable to us in this world, full of failings, and continual infirmities as we all are; it is *my only daily remedy.* Were it not for pardon dearly bought but freely bestowed upon me a guil·y wretch daily, I should sink in a moment into all the gloom of eternal despair; but *there is forgiveness,* we have redempti n through his blood, the forgiveness of sins, "according to the ıiches of his grace;" redemption, forgiveness, and that according to the riches of God's grace—charming truth! Tho' utterly ruined, we are thus made up for ‹ver. Our sinfulness and misery are great, but there are no bounds to the riches of the grace of an infinite God; and forgiveness is dealt out according to that riches to guilty sinners who believe in Jesus.

O how suitable is the Gospel to our wretched state. It is a joyful sound indeed! Forgiveness, yes, and repentance too. We could not enjoy the comfort of pardon without a penitent frame of mind. It is impossible for an impenitent sinner to taste or relish divine consolation. A penitent frame of mind is the working of holiness in a peculiar way in th‹ heart of a sinner. Holiness ıs the same wherever it is, but it differs in its effects in different subjects. An angel hates sin, so does God

THOMAS CHARLES AT MISS WRIGHT, BROOK‹ HOUSE, GER TARVIN, SWYDD GAER.

Fy Anwyl Gyfeilles,

Y mae yn ddiarebol ymhlith y Cymry nad ydyw dyled yn myned yn llai o'ı hoedi. Yr wyf yn cydnabod fy hunan yn ddyledus i chwi am lythyr tra chyfeillgar a doeth a anfonasoch ataf mis Chwefror diweddaf. Dylaswn fod wedi ei gydnabod cyn hyn, 'rwy'n addef, ond bydd i'ch caredigrwydd arferol roddi i chwi ymddiheurad droswyf, onidê gallwn ddweyd cryn lawer am fy aml ymrwymiadau, fy mrys parhaus, ac yn y blaen. Os ydwyf wedi gwneud cam yn hyn yn eich barn, rhaid i chwi faddeu i mi yn rhwydd, yna byddwn yn gyfeillion eto, ac fe fydd popeth drosodd. Y mae athrawiaeth maddeuant—pa un ai rhoddedig ai derbyniedig—yn dra chymwys ini yn y byd hwn, gan mor lawn ydym o ffaeleddau a gwendidau parhaus. Hon yw fy unig feddyginiaeth beunyddiol. Oni bae am faddeuant, a brynwyd yn ddrud ond a roddir yn rhad i mi druan, beuny‿d, suddwn ar unwaith i holl dywyllwch anobaith tragwyddol Ond *y mae maddeuant*; y mae ı ni brynedigaeth drwy ei waed Ef, maddeuant pechodau yn ol cyfoeth Ei ras Ef. Prynedigaeth, maddeuant, a hynny yn ol cyfoeth gras Duw. Gwirioneddau swynol! Er wedı ein cwbl ddifetha eto adferrir ni byth. Y mae ein pechadurusrwydd a'n trueni yn fawr, ond nid oes terfyn ar gyfoeth gras Duw anfeidrol; a rhoddir maddeuant yn ol y cyfoeth hwn i becha·uriaid euog a gredant yn yr Iesu.

O mor gymwys yw yr Efengyl i'n cyflwr truenus! Y mae yn swn melus iawn mewn gwirionedd. Maddeuant, ïe, ac edifeirwch hefyd. Nis gallem fwynhau cysur maddeuant heb gyflwr edifeiriol o feddwl. Ni ddichon pechadur anedifeiriol brofi na mwynhau cysur dwyfol. Gweithrediad sancteiddrwydd mewn ffordd arbennig yng nghalon y pechadur ydyw cyflwr edifeiriol o feddwl. Yr un yw sancteiddrwydd pa le bynnag y mae, ond y mae yn gwahaniaethu yn ei effeithau mewn

and Christ. Holiness in them manifests itself in the hatred of every thing contrary, bu holiness in the heart of a guilty sinner can never exist without not only hatred, but a penit nt frame of mind, conscious of criminality and inexcusable guilt, and the deeper our sense of God's immense goodness, love and grace in Christ, the more penitent and self-abho rent we shall be, for in proportion to our sight by faith of God's goodness, against whom we have sinned, we shall perceive also the vile and abominable nature of sin, and our extreme and inexcusable criminality. May the giver of repentance and forgiveness cause them to abound towards us both, and the whole Church of Christ.

Though I have met many sorrows and considerable discouragements in my labours in Chester, yet as the cause is the cause of Christ, I fear to offend him by withdrawing myself from it, or being unconcerned about it. When I think that some good is or may be done to immortal souls in your parts by spreading the knowledge of a Saviour among them, I feel very willing to bear everything, and to spend and be spent; but it cannot but grieve me that those who have professed to be friends to the blessed cause should prove themselves its greatest enemies, and do all they can to ruin it. What am I for them to fight against me? If it had not been for my Master s cause, I ne er should have been among them; but all is we l, the Lord can bring good out of evil. Perhaps things unpleasant are often wanted for various reasons. Our great point is to walk in the way we should go, and to please Him, and then He can make [us?] friends. I very sincerely thank you for your [very ?] kind letter and very friendly advice. And indeed I [feel?] it was blessed to [receive?] them in the troubled frame of mind I was then in. I pray the Lord abundantly to bless you Give my kindest respects and love to Mr. D., and my young friends. May the child Jesus be precious to them! I beg Christian love to Miss Jones, Mrs P. Dutton, Mr Calley, and all the friends at Tarvin.

I am,

Yours faithfully and affectionately,

THOS. CHARLES.

Bala, April 9, 1802.

gwahanol bersonau. Casheir pechod gan angel, a chan Dduw a Christ. Amlyga sancteiddrwydd ynddynt hwy ei hunan mewn casineb at bopeth gwrthwynebol, ond nis gall sancteiddrwydd fodoli yng nghalon pechadur euog, heb nid yn unig gasineb, ond hefyd gyflwr meddwl edifeiriol, yn ymwybodol o anghyfraith ac euogrwydd diesgus, ac, yn ol dyfnder ein hymdeimlad o ddaioni mawr, a chariad a gras Duw, y bydd ein hedifeirwch a'n hunan gasineb, oherwydd i'r mesur y gwelwn ni drwy ffydd ddaioni Duw, yn erbyn yr hwn y pechasom, ac y canfyddwn hefyd natur ffiaidd ac erchyll ein pechod a'n anghyfraith eithafol a diesgus Bydded i Roddwr edifeirwch a maddeuant beri iddynt amlhau tuag atom ni ein dau, a thuag at holl Eglwys Crist.

Er i mi gyfarfod â thristwch a digalondid tra mawr yn fy llafur yng Nghaer, eto gan mai achos Crist ydyw ofnaf ei ddigio drwy dynnu yn ol o hono, neu fod yn ddiofal am dano. Pan y meddyliaf y gwneir neu y gellir gwneud rhyw ddaioni i eneidiau anfarwol yn eich parthau chwi drwy ledaenu y wybodaeth am Iachawdwr ynddynt, teimlaf yn dra pharod i ddioddef popeth, i dreulio ac ymdreulio, eithr nis gall ond fy nhristhau fod y rhai hynny sydd wedi proffesu eu bod yn garedigion yr achos bendigedig yn profi eu hunain ei elynion gwaethaf, ac yn gwneud yr oll a allant yn ei erbyn Beth wyf fi fel yr ymladdant yn fy erbyn? Oonibae am achos fy Meistr, ni buaswn erioed yn eu plith; ond y mae popeth yn dda,—gall Duw ddwyn da allan o ddrwg! Feallai fod pethau anhyfryd yn angenrheidiol ar brydiau am resymau neillduol. Y peth mawr i ni yw rhodio yn y ffordd y dylem gerdded ynddi, rhyngu ei fodd Ef, ac yna gall Ef wneud cyfeillion i ni. Yr wyf yn diolch yn ddiffuant i chwi am eich llythyr caredig a'ch cynghor cyfeillgar. Ac yn wir [teimlaf] mai bendith ydoedd eu derbyn yn y cyflwr meddwl helbulus yr oeddwn ynddo ar y pryd. Gweddïaf ar i'r Arglwydd eich bendithio yn helaeth. Cofiwch fi yn garedig at Mr. D., a'm cyfeillion ieuainc. Bydded i'r plentyn Iesu fod yn anwyl ganddynt. Derbynied Miss Jones, Mrs. P Dutton, Mr. Calley, a'r cyfeillion oll yn Tarvin fy serch Cristionogol.

Ydwyf, yr eiddoch,

Yn ffyddlawn a serchog,

THOS. CHARLES.

Bala, Ebrill 9, 1802.

I hope to be with you Easter Sunday, but must return immediately.

Gobeithiaf fod gyda chwi Sul y Pasg, ond rhaid i mi ddychwelyd ar unwaith.

## IX.

THOMAS JONES TO THOMAS CHARLES.

*Creaton, July* 27, 1802.

My dear Charles,

I can with great truth say that I feel for your embarrassment respecting Chester, and the more so when it is not in my power to contribute towards your relief. Creaton I must not lea e at present, as the people never attended better, hardly so well as they do of late, and there is some degree of revival amongst us. This is not all, but I hope to die in the regular Establishment if the priests and bishops will let me; fully convinced that it is not necessary to be irregular to be useful. *You* are in my view perfectly justified in adopting the line you now move in; but it would be wrong in me. I very much wish to see all your desires fully answered respecting Chester; but the two friends you mentioned, to a certainty, will not leave their present situations; both are extensively useful where they are, and where in all probability they will stay for life; and I know not of one person at liberty; but know that applications for more than 20 evangelical curates were lately made to Simeon and Crouch, &c. A parish consisting of 5000 souls has been pressingly offered to me, and since then a curacy of great value in a market town; but I could not see it my duty to leave poor Creaton.

You must have received before this a long letter on the subject of Welsh Bibles. Last night one Hugh Jones of Maesglassey called here, and informed me that there are two editions of Welsh Bibles in 8vo with marginal references, lately published at Carmarthen, and are now selling at a very moderate price; this being the case, it cannot be necessary to publish more editions of the same kind. Had it been so, the two Missionary Societies in London have given me very flattering promises of assistance in the work, as well as several gentlemen in different parts of the country. But as things now appear to me, there will be no propriety in soliciting any help. And

THOMAS JONES AT THOMAS CHARLES.

*Creaton, Gorff.* 27, 1802.

Fy anwyl Charles,

Gallaf ddweyd mewn gwirionedd fy mod yn teimlo dros eich helbul gyda golwg ar Gaer, ac yn fwy felly, gan nad yw yn fy ngallu i roddi unrhyw gymhorth i chwi. Nis gallaf adael Creaton, gan na bu y bobl yn mynychu moddion yn well, a phrin cystal ag y gwnant yn awr ers amser; ac y mae mesur o adfywiad yn ein plith. Nid hyn yw y cwbl, eithr gobeithiaf farw yn yr Eglwys Sefydledig, os caniata yr offeiriaid a'r esgobion, gan fy mod yn llwyr argyhoeddedig nad ydyw yn angenrheidiol bod yn afreolaidd er mwyn bod yn wasanaethgar. Cyfiawnheir chwi yn fy meddwl i am fabwysiadu y llinell yr ydych yn awr arni, ond buasai yn gam i mi wneud hynny. Yr wyf yn mawr ddymuno gweled eich holl ddyheadau yn cael eu sylweddoli ynglŷn â Chaer; ond yn sicr ni wna y ddau gyfaill a enwch adael eu lleoedd presennol. Y mae y ddau yn ddefnyddiol iawn yn y lleoedd y maent, lle, yn ol pob tebyg, yr arhosant drwy eu hoes. Nis gwn am un person sydd yn rhydd, ond gwn fod ceisiadau am fwy nag ugain o guradiaid Efengylaidd wedi eu gwneud i Simeon a Crouch. Cynygiwyd plwyf o bum mil o eneidiau i mi, ac wedi hynny guradaeth o werth mawr mewn tref farchnad. Ond nis gallwn ei weled yn ddyledswydd arnaf adael Creaton druan.

Rhaid eich bod cyn hyn wedi derbyn llythyr hir ar fater y Beiblau Cymreig. Neithiwr galwodd un Hugh Jones o Maesglasau yma, a dywedodd wrthyf fod dau argraffiad o Feiblau Cymreig, wythplyg, gyda chyfeiriadau ar ochr y ddalen, wedi eu cyhoeddi yn Nghaerfyrddin yn ddiweddar, ac yn awr ar werth am bris rhesymol. Gan fod hyn yn bod, ni all fod angenrhaid am gyhoeddi ychwaneg o argraffiadau o'r un math. Pe byddai felly, addawyd cymhorth at y gwaith gan y ddwy Gymdeithas Genadol yn Llundain, yn ogystal a chan amryw foneddwyr mewn amryw rannau o'r wlad. Ond fel y mae pethau yn ymddangos i mi yn awr, ni bydd priodoldeb mewn ceisio cynorth-

truly, the corruptions of men are a strong barrier in the way to serve the poor. Some pious clergy in South Wales distributed the few copies that fell into their hands, of the last Edition, amongst the wealthiest of their parishioners, where they used to have good dinners. What a perversion of the laudable designs of the Society!

The parcel from Chester is arrived. Your Vindication* is very well written, and upon the whole in excellent temper. But when you came to the Appendix you wrote in great haste, both of pen and spirit. You felt angry, and dear T. Jones of Mold more so. You were both off your guard. Should you write again, you must be perfect masters of your own tempers or you better lay down your pens: for what good effect can the effusions of angry passions produce upon any readers of sense? Conclusive arguments delivered in the spirit of the Gospel will cut t eir way to every heart, and make an enemy blush. Few, very few indeed, should meddle with religious controversy,—and, to a certainty, I for one ought never to write another line on that subject; indeed my present state of health will not admit of any close application. Writing a letter tires me. My nerves are cut. But I thank God for his goodness to me a sinner. My intended publication was sent to the printer about a fortnight ago, and a copy shall be sent you when ready. Don't feel on account of what is said of lay preachers; were you in this neighbourhood, and see what is going on, you would say the same. You will find me a very high Churchman. Yet I am thankful that laymen of a right spirit will proclaim salvation in Jesus, when the constituted officers of the Church neglect the work which is given them to do.

Your rules I have read in great haste, and have admired them much.

I am, with every good wish,

Your faithful friend and servant,

THOMAS JONES.

*Vindication of the Welsh Methodists,* Bala, 1802.

wy. Ac, yn wir, y mae llygredigaethau dynion yn rhwystrau cryfion yn ffordd gwasanaethu y tlodion. Rhannodd rhai clerigwyr duwiol yn Neheudir Cymru yr ychydig gopïau a syrthiasant i'w dwylaw o'r argraffiad diweddaf, ym mhlith eu plwyfolion cyfoethocaf, gan y rhai yr arferent gael ciniaw da. Y fath gam ddefnydd o amcanion canmoladwy y Gymdeithas!

Y mae y parsel o Gaer wedi cyrhaedd. Y mae eich "Amddiffyniad"* wedi ei ysgrifennu yn dda, ac, ar y cyfan, mewn tymher ragorol. Ond pan y daethoch i'r Atodiad ysgrifenasoch mewn brys mawr, ysgrifell ac ysbryd. Yr oeddych yn teimlo yn ddig, a'r anwyl T. Jones o'r Wyddgrug yn fwy felly. Yr oeddych ill dau oddiar eich gwyliadwriaeth. Os bydd i chwi ysgrifennu eto, rhaid i chwi fod yn feistriaid hollol ar eich tymherau, onide gwell i chwi roddi eich hysgrifellau i lawr,—canys pa effaith da all tywallt allan nwydau drwg gynyrchu ar ddarllennydd o synwyr. Ymresymiadau cryfion wedi eu traddodi yn ysbryd yr Efengyl a dorrant eu ffordd i bob calon, a gwnant i'r gelyn wrido. Ychydig, ychydig iawn yn wir, a ddylai ymyrryd â dadleuon crefyddol,—ac yn sicr ni ddylwn i fel un byth ysgrifennu llinell eto ar y mater. Yn wir ni chaniata sefyllfa bresennol fy iechyd i mi weithio yn galed. Y mae fy ngewynnau wedi eu torri. Ond diolchaf i Dduw am Ei ddaioni tuagataf bechadur. Y mae fy ngyhoeddiad wedi ei anfon i'r argraffwyr bymthegnos yn ol, ac anfonir copi i chwi pan y bydd yn barod. Peidiwch teimlo oblegid yr hyn a ddywedir am bregethwyr lleyg. Pe byddech yn y gymydogaeth hon, ac yn gweled yr hyn sydd yn myned ymlaen, dywedech chwithau yr un peth. Cewch fy mod yn Eglwyswr uchel iawn. Eto diolchaf fod lleygwyr o'r iawn ysbryd yn cyhoeddi iachawdwriaeth yn yr Iesu, pan yr esgeulusa swyddogion gosodedig yr Eglwys wneud y gwaith a roddir iddynt.

Darllennais eich rheolau mewn cryn frys, ac edmygais hwynt yn fawr.

Ydwyf, gyda phob dymuniad da,

Eich ffyddlon gyfaill a gwas,

THOMAS JONES.

*"*Amddiffyniad y Methodistiaid Cymreig,*" Bala, 1802.

**P.S.—Dr. Haweis was lately at Aldinale, and upon receiving some very favourable tidings from the South Sea Missions with which he was much elated, he flew to London in haste. I despair of the happiness of seeing you in Creaton though you go to London. The *Christian Observer* appears to me rather of a dubious cast. Their concluding observations on Overton, greatly disgusted me. It will not be long what it now is; but either better or worse. Tell me plainly what Richards of Darowen is doing there.**

**O.Y.—Bu Dr. Haweis* yn ddiweddar yn Aldinale, ac ar ol derbyn newyddion tra ffafriol o'r Cenhadaethau yn Ynysoedd Môr y De, am ba rai y llawenychodd yn fawr, aeth ymaith i Lundain ar frys. Yr wyf yn anobeithio eich gweled yng Nghreaton, er eich bod yn myned i Lundain. Ymddengys y *Christian Observer* i mi o natur lled amheus. Digiodd eu sylwadau terfynnol ar Overton fi yn ddirfawr. Ni fydd yn hir yr hyn ydyw yn awr, ond naill ai gwell neu gwaeth. Dywedwch yn blaen wrthyf beth y mae Richards o Ddarowen yn wneud yno.**

## X.

THOMAS JONES TO THOMAS CHARLES.

*Creaton, March* 22, 1803.

My Dear Friend,

I have long been indebted to you for a very kind letter you sent me from London. Of late, I have written less than usual, for such is my state of health that writing or reading much is a killing work to me. It is not probable that I shall even attempt another pamphlet. But that is *no* loss. The last, of which you had a copy, was suppressed as soon as it was come from the printer. I was gratified to find that it met with your approbation, and especially to find that you are still in your views of ordination such a high Churchman. Doubtless the ordination of priests in the house of God is as much a divine positive institution as either of the two sacraments is. In the present day, a day of wild confusion, the order of God is not much consulted; but men follow their own wills and conclude that, if they mean well, that all is right, as if God had settled upon nothing but had left the whole to the will and pleasure of men to order and direct It is unquestionably certain that much good has been done by lay preachers, both in England and Wales. God will own his own Gospel where it is proclaimed, and Paul rejoiced that Christ was preached, even when that was done in a very bad spirit by some ministers. And every good man must in some measure partake of Paul's views and spirit. Still it does not follow that all is right when the Gospel is preached. Re-

THOMAS JONES AT THOMAS CHARLES.

*Creaton, Mawrth* 22, 1803.

Fy anwyl gyfaill,

Yr wyf yn ddyledus i chwi am lythyr caredig a anfonasoch ataf o Lundain. Yn ddiweddar yr wyf wedi ysgrifennu llai na fy arfer, o herwydd y mae cyflwr fy iechyd yn gyfryw fel ag i wneud ysgrifennu neu ddarllen llawer yn waith llethol i mi. Nid yw yn debygol y gwnaf ymgais at draethodyn arall. Ond nid yw hyn yna golled yn y byd. Dinystriwyd y diweddaf, o ba un y cawsoch gopi mor fuan ac y daeth oddiwrth yr argraffydd. Teimlwn yn llawen ei fod yn derbyn eich cymeradwyaeth, ac yn enwedig i gael eich bod yn Eglwyswr mor uchel yn y mater o ordeinio. Yn ddiddadl y mae ordeiniad offeiriaid yn nhŷ Dduw yn osodiad mor ddwyfol ag unrhyw un o'r ddau sacrament. Yn y dyddiau hyn, dydd o derfysg gwyllt, ni ystyrrir trefn Duw rhyw lawer: ond y mae dynion yn dilyn eu dichellion eu hunain ac yn dyfod i'r casgliad, os ydynt hwy yn bwriadu yn dda, fod popeth yn iawn, fel pe na byddai Duw wedi gosod dim, ond gadael y cwbl i ewyllys a mympwy dynion i'w trefnu a'u cyfeirio. Y mae yn sicr tu hwnt i ddadl fod llawer o dda yn cael ei wneud gan bregethwr lleyg yn Lloegr ac yng Nghymru. Fe arddel Duw Ei efengyl pa le bynnag y cyhoeddir hi; a llawenhäi Paul fod Iesu Grist yn cael Ei bregethu hyd yn oed pan y gwneid hynny mewn ysbryd drwg iawn gan rai gweinidogion A rhaid i bob dyn da gyfranogi i ryw fesur yng ngolygiadau ac

*** Taid y Parch. H. R. Haweis, M.A., Llundain. Yr oedd Dr. Haweis yn un o sylfaenwyr Cymdeithas Genhadol Llundain er yn Eglwyswr. Ac y mae ei wyr yntau yn Eglwyswr selog, eto yn parhau i gymeryd dyddordeb yn y Gymdeithas honno.**

gard should be had to the order God has appointed in his Church. There are constituted officers in his house, and there are times when these neglect the most essential part of their office, i.e. to preach and live the Gospel. On such an occasion, laymen should be doubly diligent to instruct their neighbours in the great truths of the Bible. And whilst they are doing this, it would be well if they were found weeping over the priests and *using all means* to awaken them to be engaged in their own proper work, and rejoicing to see God returning to them, and cause his own work to flow again in its proper channel. But lay preachers, however excellent, have many false principles still within, for man is a frail being. In course of years they begin to consider themselves to be the real ministers, instead of instruments God employed for a time to keep the truth alive and to provoke to jealousy of those who are commissioned to minister in holy things. But why should I trouble you with these things? You can but act the part of a man of God, where by His providence you are placed. Go on and prosper, and may the testimony of Jesus prosper let who will proclaim it. I greatly lament that such an excellent man as our friend Mr. Jones, of Mold, is not introduced regularly into the ministry, but t at at present is, I suppose, impracticable I believe of him that he is too good and too wise a man to have any kind of objection to ordination. You are one of the few than can engage in controversy without danger, as your last piece proves. Mr. Robinson, of Leicester, has just published a sixpenny pamphlet to show some of the reasons why we should be attached to the Established Church. I shall make no observations upon it; but will send you a copy when I have an opportunity to send it by the Welsh Drovers. I should be very glad to have a long letter from you, when you have an hour's leisure, and wish you every comfort and blessing.

Your faithful friend,

THOMAS JONES.

ysbryd Paul. Eto nid yw yn dilyn fod popeth yn iawn pan bregethir yr Efengyl. Dylid cymeryd cyfrif o'r drefn a osododd Duw yn Ei Eglwys. Y mae swyddogion gosodedig yn Ei dŷ, ac y mae amseroedd pan yr esgeulusa y rhai hyn y rhan fwyaf hanfodol o'u swydd, sef pregethu a byw yr Efengyl. Ar achlysur o'r fath, dylai lleygwyr fod yn ddwbl egnïol i addysgu eu cymydogion yng ngwirioneddau mawr y Beibl. A thra y maent yn gwneud hyn byddai yn dda eu cael yn wylo dros yr offeiriaid ac yn defnyddio pob moddion i'w deffro i ymgymeryd a u gwaith priodol eu hunain, ac i lawenhau gweled Duw yn dychwelyd atynt ac yn peri i'w waith Ei hun redeg eto yn ei gyfeiriad iawn. Ond y mae gan bregethwyr lleyg, gan nad pa mor ragorol, gau egwyddorion lawer ynddynt, canys bôd gwan ydyw dyn. Yng nghwrs y blynyddoedd dechreuant gyfrif eu hunain fel y gwir weinidogion, ac nid fel arfau wedi eu defnyddio gan Dduw am amser i gadw y gwirionedd yn fyw ac i ddeffro eiddigedd y rhai a ddanfonwyd i weinidogaethu mewn pethau sanctaidd. Ond paham y trafferthaf chwi â'r pethau hyn? Nis gallwch chwi amgen na gwneud rhan gŵr Duw, yn y lle y ch gosodwyd gan ei Ragluniaeth Ef. Ewch rhagoch a llwyddwch, a bydded llwydd ar dystiolaeth yr Iesu pwy bynnag a'i cyhoedda. Mawr alaraf na ddygir gŵr mor ragorol a'n cyfaill Mr. Jones, o r Wyddgrug, i mewn i'r weinidogaeth yn rheolaidd, ond mi debygwn nad yw hynny yn awr yn ymarferol. Credaf am dano ei fod yn ddyn rhy dda a rhy ddoeth i feddu unrhyw wrthwynebiad i ordeiniad. Yr ydych chwi yn un o'r ychydig hynny a allant gymeryd rhan mewn dadl heb berygl, megis y profa eich gwaith diweddaf. Y mae Mr Robinson, o Leicester, newydd gyhoeddi traethodyn chwe' cheiniog i osod allan rai o'r rhesymau paham y dylem lynu yn yr Eglwys Sefydledig. Ni wnaf unrhyw sylw arno, ond anfonaf gopi i chwi pan y caf gyfle i'w anfon gyda'r Gyrrwyr Cymreig. Byddai yn dda iawn gennyf gael llythyr maith oddiwrthych pan y byddo gennych awr hamddenol. Dymunaf i chwi bob cysur a bendith.

Eich ffyddlawn gyfaill,

THOMAS JONES.

## NODIADAU LLENYDDOL.

HANES ATHRONIAETH Y GROEGIAID. Gan R. Llugwy Owen (*Doctor of Philosophy, University of Tübingen*). Conwy: R. E. Jones a'i Frodyr. Llawenydd digymysg i ni oedd derbyn y gyfrol hardd a sylweddol hon. Mae mewn plyg ychydig yn fwy na'r llyfrau a gyhoeddir yn gyffredin yn Gymraeg. Ond, mor bell ag y mae hynny yn myned, y mae yn ei ffafr. Mae wedi ei hargraffu yn brydferth, fel popeth sydd yn dyfod o dan law y Brodyr Jones. Byddwn yn hoffi, yn enwedig mewn cyfrol o faintioli hon, cael ymyl-ddalennau llydain, a'r argraff heb fod yn rhy lawn ar y tudalen. Ceir hynny hefyd yma. Mewn gair y mae popeth yn ymddangosiad y gyfrol sydd yn ei chymell i ffafr y darllennydd. Yn neillduol pan ystyriwn ei bod yn cael ei gwerthu am bris mor afresymol o râd—dim ond pum' swllt a chwe' cheiniog i Danysgrifwyr, a saith a chwech i ereill. Hyderwn y bydd y Cymry yn brysio i erchi copïau o honi.

Gyda golwg ar ei chynwysiad nid ydym, hyd yma, wedi cael yr hamdden a ddymunem i edrych drwyddi. Ond y mae yn eithaf amlwg ei bod yn ffrwyth llafur dirfawr. Dywedir fod yr awdwr wedi treulio naw mlynedd o efrydiaeth uniongyrchol arni, heb son am ei ragbaratoadau blaenorol i'r gwaith. Ac y mae yn hawdd gennym gredu hynny. Nid oedd ganddo, fel y dywed yn ei Ragair, "ragflaenoriaid yn y maes hwn yn yr iaith Gymraeg neu mewn unrhyw iaith Geltaidd arall." Gallasai hynny fod o fantais fawr iddo. Fel y dywed drachefn, "Daeth lliaws mawr o bryd i bryd yn ol i Gymru o ganol Groeg Rhydychen, ond ni wnaeth neb o honynt ddim yn y cyfeiriad hwn o gwbl." Oherwydd hynny yr ydym yn teimlo yn fwy rhwymedig iddo ef, nid yn unig am wneud y gwaith, ond am iddo ei wneuthur mor drwyadl, ac yn yr iaith Gymraeg. Ychydig, mewn cydmariaeth, ydyw rhagoriaeth y Saeson yn y maes hwn. Gadewir y caledwaith i'r Ellmyn. Ond ni foddlonodd Dr. Owen ar fod yn drwyadl hyddysg yn nysgeidiaeth yr Ellmyn ar y mater yn eu hiaith eu hunain. Aeth i lygad y ffynnon. A rhoddodd i'w gydwladwyr, mewn Cymraeg gwych, ffrwyth addfetaf ei efrydiaeth. Y canlyniad ydyw fod yn bleser edrych drwy y llyfr. Y mae y Rhagair yn ddarllenadwy a dyddorol—rhywbeth fel Rhagymadrodd Dr. Richard Davies i Destament Salesbury, ond yn fyrrach. Dechreua gyda sylwadau ar Natur a Chylch Athroniaeth Hanes Athroniaeth, Hanes Athroniaeth y Groegiaid (*a*) Ei ffynonellau, (*b*) Ei Rhaniadau a'i Chyfnodau, a'r Byd Cyn-athronyddol. Yna daw at ddosraniadau y gyfrol: Y Cyfnod Cyntaf neu Gynsokrataidd; Dechreuadau yr Ail Gyfnod—y Sophistiaid; yr Ail Gyfnod - Cyfnod Addfedrwydd a Chyflawnder—Plato ac Aristotl; Y Cyfnod ol-Aristotelaidd—y Trydydd; a'r Cyfnod Cristionogol—y Pedwerydd. Fel un sydd yn feistr trwyadl ar arddull, y mae y cyfansoddiad drwyddo yn syml, clir, ac urddasol. I wasanaeth mor newydd a dieithr i'r iaith Gymraeg, yr oedd yn rhaid ffurfio rhai geiriau a thermau newyddion. Ond y mae yr awdwr wedi llwyddo tuhwnt i'n disgwyliadau pennaf. Gofala am wneuthur pob peth mor eglur wrth fyned ymlaen fel y gallo y darllennydd mwyaf cyffredin, gyda thipyn o ofal, ei ganlyn. Yn hyn y mae wedi gosod dynion ieuainc Cymru sydd heb gael eu breintio âg addysg glasurol uchel o dan y rhwymau mwyaf. Er mai Athroniaeth Roegaidd ydyw y testyn, y mae wedi ei ysgrifennu gan Gymro i Gymry. Rhaid addef fod hyn, os yn glod mawr i ben a chalon yr awdwr, ar y naill law, yn dwyn gydag ef hefyd raddau mawr o anturiaeth, os nid o ryfyg, ar y llaw arall. Pe cyhoeddasai ei lyfr yn Saesneg, fel y gwnaethai rhai Cymry gwladgarol, gallasai obeithio gael y cyfryw ledaeniad iddo ag a

ddygasai ryw gymaint o elw iddo am ei drafferth. Y mae hynny bron yn anobeithiol iddo wrth gyhoeddi ei waith yn yr iaith Gymraeg, gan fod terfynau ei gylchrediad mor gyfyng. O gymaint a hynny y dylai y sawl a fedrant fod yn fwy chwannog i'w brynnu, fel y gallont, nid yn unig ddangos eu diolchgarwch iddo, ond hefyd fod yn anogaeth i ereill i'w ddilyn. Nid oes dim mwy angenrheidiol yn yr oes hon nag i Gymry dysgedig, fel yr hen ysgolheigion, roddi firwyth addfetaf eu meddyliau i Gymru Wrth derfynu, caniatäer i ni ddifynnu Diweddglo yr awdwr:—"Yr ydym yn awr yn niwedd y daith drwy fröydd dyddorol y feddyliaeth Roegaidd, ac wedi gweled llawer o elfennau, a chlogwyni a mynyddoedd, a glynoedd a dyffrynoedd, ac afonydd, a rhai 'corsydd a lleoedd lleidiog.' Taith ydoedd, i olwg rhai fe ddichon, drwy leoedd Affricanaidd, fel yr eiddo Stanley; ond Affricaniaeth pur wahanol, a thaith llawer mwy bythgofiadwy. Ni fynasem am lawer fod heb weled y rhai a gyfarfuasom ar y daith hon, heb cithrio rywfodd neb o honynt. Yr oedd y duaf o honynt yn ddyn, a chanddo rywbeth dynol i'w adrodd wrthym. Buasai yn dda gennym pe buasent yn fwy clir am y Dyfodol, ac am berthynas y Presennol â hwnnw, ac yn llunio eu meddyliau a'u lleferydd yn fwy yn ol hynny. Ein cred syml yw nad yw y byd hwn yn ddim ond yn ei berthynas â'r Hollfyd. Ac y mae problemau y berthynas yma mor fyw ag erioed, a hyderwn y bydd hanes hen oesoedd yn rhyw radd o gymhorth i ni wrth ymgodymu â hwynt Erbyn y flwyddyn 530 A.D yr oedd Cristionogaeth wedi ennill yr oruchafiaeth ym meddyliau dynion, ac, fel y soniwyd o'r blaen, cauwyd yr ysgolion yn Athen drwy orchymyn yr imperydd Julian yn y flwyddyn 529, a seliwyd y drws. Ond gweithiodd y ffrwd athronyddol allan o dan rinlog y tŷ, a llifodd trwy anialwch y canoloesoedd, gan ddyfrhau ychydig ar y lleoedd sychion; ac o'r diwedd, yn y canrifoedd agosaf i ni, daeth i'r golwg eilwaith yn afon lydan, a choed yn tyfu ar ei glennydd, ffrwyth y rhai sydd yn ymborth, a'u dail yn feddyginiaeth." Dyma daith ddyddorol eto y carem weled Dr. Owen ei hun, neu ryw Gymro galluog a dysgedig arall, yn ei thramwy.

GWANWYN BYWYD A'I DDEFFROAD. Y Cyfnod rhwng 15eg a 25ain. Ei Bwys a'i Berygl. Gan John Hughes, M.A., Liverpool. Gwrecsam: Hughes a'i Fab. Chwe' Cheiniog. Un o hoff bethau y Saeson, yn y dyddiau hyn, ydyw llyfrynnau bychain ar destynau pwysig. Y maent yn hylaw i'r llaw a'r llogell. Gellir eu darllen mewn orig fechan. Adfywiant y darllennydd ar ei daith. A gellir disgwyl gwneuthur argraff annileadwy drwyddynt. Un o'r llyfrau hynny yw hwn. Y mae Mr. Hughes yn ysgrifennwr llawn sudd a melusder. Hawdd gweled fod ei gydymdeimlad â'r ysbrydol, y dwyfol a'r cyfriniol yn fawr. Ymrithiant iddo fel ysbrydion ymhob peth. Ond nid yw byth yn colli ei gyffyrddiad â'r dynol a'r naturiol. Ac y mae ar ei oreu yma yn dwyn y gwirioneddau pwysicaf i'r ieuainc, yn y cyfnod y maent yn byw ynddo, adref yn y wedd fwyaf swynol, a synwyrol, a thebycaf o gael gwrandawiad ganddynt.

YN EI GAMRAU. Wele ddau argraffiad arall o'r llyfr poblogaidd hwn, un o swyddfa y Wasg Genedlaethol Gymreig a'r llall o Swyddfa R E. Jones a'i Frodyr, o Gonwy. Nis gall y darlleniad helaeth sydd ar y llyfrau argyhoeddiadol hyn lai na gadael argraff ddaionus ar y wlad.

DEDDFAU CLADDU A PHRIODI yn eu perthynas âg Ymneillduwyr a'u Hawliau, yn cynnwys cyfieithiad manwl o Ddeddf Claddu 1880, a Deddf Priodas 1898, Rheolau y Cofrestrydd Cyffredinol o dan yr olaf, ynghyda Nodiadau Eglurhaol, &c. Gan Evan R. Davies, Cyfreithiwr, ac Ysgrifennydd Trefol Pwllheli. Caernarfon: Cwmni y Wasg Genedlaethol. Swllt. Marw iawn, y mae pob lle i ofni, ydyw Deddf Claddu y Marw yng Nghymru. I ba raddau y mae hyn i'w briodoli i anwybodaeth am ei darpariaethau, nis gallwn ddweyd. Ond ni raid i hynny fod, beth bynnag, ar ol cyhoeddiad y

llyfr cryno, cyflawn, a rhadlawn hwn. Beth fydd tynged Deddf newydd Priodi yn ein mysg, y mae yn anhawdd dyfalu. Y mae yn amlwg fod digon o le i ddywedyd yn ei herbyn, pe na byddai dim ond ei pherthynas â Swyddogion Deddfau y Tlodion a'r Tlotŷ, ynghyd a'r angenrheidrwydd am ddarparu cist haiarn i gadw y llyfrau, pan na ofynnir hynny yn awr ynglŷn âg unrhyw gofrestrydd pa mor waeled bynnag y bo. Diau, er hynny, mai dyledswydd pawb ydyw gwneuthur y defnydd goreu a ellir o honi fel y moddion mwyaf effeithiol i gael diwygiadau buan ynddi. Gwnaeth Mr. Davies ei ran tuag at ddwyn y deddfau hyn i weithrediad trwy gyhoeddiad y llawlyfr rhadlawn hwn, a dylai gael cylchrediad helaeth.

What Shall we Think of Christianity? By William Newton Clarke, D.D. Edinburgh: T. and T. Clark. 2s. 6d. Tynnwyd sylw mawr at yr awdwr hwn trwy ei waith adnabyddus, "*An Outline of Christian Theology.*" Y mae y Darlithiau hyn yn llawn gynnal i fyny ei gymeriad fel ysgrifennydd cryno, clir, dyddorol, ac i'r pwynt. Testynau y Darlithiau ydynt: I. The Christian People; II. The Christian Doctrine; III. The Christian Power. Unwaith y dechreuir eu darllen, nis gellir eu rhoddi heibio heb eu darllen drwodd. Ac ar ol eu darllen y mae yn amhosibl i neb beidio teimlo ei hun yn agosach at yr Iesu, ac yn barotach i wneuthur rhywbeth o fewn ei allu i hyrwyddo gwybodaeth am dano dros yr holl ddaear. Tra nad oes dim byd dadleuol yn dyfod i'r golwg yn y Darlithiau hyn, y mae yn eithaf amlwg eu bod yn cadw mewn golwg o hyd y byd a'r amgylchiadau yr ydym yn byw ynddynt, ynghyd a chyfaddasder Cristionogaeth i'w cyfarfod.

A Dictionary of the Bible, *dealing with its Language, Literature, and contents, including the Biblical Theology. Edited by James Hastings, M.A., D.D. Vol. II. Feign—Kinsman.* Edinburgh: T. and T. Clark. 28s.—Pan ymddangosodd y gyfrol gyntaf o'r gwaith godidog hwn sydd i'w gwblhau mewn pedair cyfrol, Imperial 8vo, rhoddwyd derbyniad calonnog iddi gan bawb yn ddiwahaniaeth. Oblegyd teimlid fod lle i'r cyfryw anturiaeth, a mawr angen am lyfr y gellid troi iddo am oleuni ar unrhyw fater yn dal perthynas â llenyddiaeth, iaith, a chynnwys y Beibl. A hynny nid oherwydd ein bod wedi diflasu ar weithiau Kitto a William Smith. Fe ddeil yr ysgrifau gwych ysgrifenwyd i Eiriaduron y ddau ddoethawr am oesau eto i ddod yn eu gogoniant a'u blas. Ond mae amser lled faith wedi treiglo er pan gyhoeddwyd yr olaf o'r rhai hyn. Ac yn yr amser hwnnw mae ymchwiliad cyson a pharhaus i ryfeddodau dihysbydd gair Duw wedi esgor ar lawer iawn o ddarganfyddiadau. Mae hyn yn wir yn arbennig gyda golwg ar iaith a llenyddiaeth y Beibl. Nid oes nemawr gynnydd wedi cymeryd lle mewn Athrawiaeth, er fod gwahanol ddulliau yn cael eu cynnyg o osod yr hen athrawiaethau gerbron. Nid llawer o oleuni newydd sydd wedi ei daflu eto ar athrawiaethau mawr yr Efengyl. Mae'r cynnydd i'w ganfod yn nhiriogaeth Diwinyddiaeth Feiblaidd. Nid oes gennym ddim cydymdeimlad, wrth ddweyd hyn, â'r bobl sydd yn synio fod dyddiau Diwinyddiaeth Gyfundrefnol ar ben. I'r gwrthwyneb, credwn fod arwyddion amlwg i'w canfod o ddeffroad yn y cyfeiriad hwn hefyd. Ymddengys aml i lyfr—megys cyfrol Dr. W. N. Clarke, "*Outline of Christian Theology*"—fel wennol yn ffurfafen Diwinyddiaeth Gyfundrefnol i ddweyd fod gwanwyn eto'n dod. Ac er fod nifer o ysgrifau rhagorol yn y gwaith newydd hwn—ac yn y gyfrol hon o hono—ar bynciau athrawiaethol,—megys e.g. Mr. Bethune Baker ar "Faddeuant"; y Proff. J. J. Skinner a'r Proff. G. B. Stevens ar "Sancteiddrwydd"; Mr. Ottley ar "Yr Ymgnawdoliad"; a'r Prifathraw D. W. Simon ar "Gyfiawnhâd,"—eto, yn rhanbarth Diwinyddiaeth Feiblaidd mae gwerth arhosol a gwir ragoriaeth y gwaith. Ceir ei fod yn arweinydd amserol, sicr, a diogel yn yr amrywiol bynciau a ddaw o dan y penawd hwn. Yn y drafodaeth sydd ynddo ar iaith, llenyddiaeth, a

chynnwysiad y Gyfrol Sanctaidd, nid oes dim gwell i'w gael yn yr iaith Saesneg nac mewn unrhyw iaith arall. Rhoddir yr ysgolheigdod oreu dan dreth—ysgolheigdod ryddfrydig, feirniadol, athronyddol, bur,—ac nid rhyw goeg ddysgeidiaeth falch, fursenaidd, wyllt, rodresgar,—i ddwyn y gwaith i ben. Creodd y gyfrol gyntaf argraff ffafriol anarferol, ond cydnebydd pawb fod yr ail gyfrol yn meddu mwy fyth o ddyddordeb, yn arbennig felly, i'r darllennydd cyffredin. Mae pob gair a ysgrifennir gan ddynion fel A. B. Davidson, S. R Driver, a H. B. Swete, yn sicr o feddu rhyw swyn i feddwl pob efrydydd manwl o'r Beibl yn y dyddiau hyn; a chynorthwyir Dr. Hastings, y golygydd, gan y cedyrn hyn. Ond i'r darllennydd cyffredin bydd y gyfrol hon yn dra dyddorol gan faint yw nifer y "materion mawr" sydd yn britho ei thudalennau. Ac ysgrifennir ar bob pwnc gan ŵr hollol gyfarwydd â'i waith. Mor amheuthyn, er engraifft, i bob un deimla wir ddyddordeb yn Niwinyddiaeth yr Hen Destament fydd gweled beth sydd gan y Proff. Ryle i ddweyd ar "Genesis"; y Proff. A. B. Davidson ar "Hosea" a "Jeremiah"; y Proff Adam Smith ar "Esaiah" a "Josua"; y Proff. König ar "Y Barnwyr" a "Jonah"; y Proff. Driver ar "Jacob," "Joseph," a "Habaccuc"! Mor anhepgorol angenrheidiol fydd cael gwybod beth yw y gair diweddaf sydd gan Mr. G. B. Gray a'r Proff. Massie i ddweyd ar "Y Gogoniant"; y Prifathraw S. D. F. Salmond ar "Hades"; a'r Proff. W. P. Paterson ar "Eilun-addoliaeth!" Gyda golwg ar y mater enwyd ddiweddaf ni welsom ddim byd erioed mwy clir a boddhaol ar y pwnc na'r erthygl hon. Rhennir y gwahanol fathau o eilun-addoliaeth geir yn y Beibl o dan ddau benawd—paganiaeth ac *eilun*-addoliaeth,—a chrynhoir pob ffurf o dan y naill neu y llall o'r ddau hyn. Ceir hanes byr ond cynnwysfawr o darddiad, cynnydd, a diwedd yr oll o'r ffurfiau, a hynny mewn dull sydd yn rhoddi pris a gwerth anghyffredin ar yr erthygl i bawb a gymero y drafferth o'i darllen. Yr ydym eisoes wedi cyfeirio at yr erthyglau yn y gyfrol ar byncian athrawiaethol. Maent yn ddieithriad yn ein ad-dalu gyda llôg am eu darllen. A cheir nifer mawr o ysgrifau blasus ereill ar destynau yn dal cysylltiad â dysgeidiaeth y Testament Newydd. Gellir enwi rhai o honynt, e.g. y Proff. Marcus Dods ar "Galatiaid"; y Proff. V. H. Stanton ar "Yr Efengylau"; y Prifathraw A. Stewart ar "Ras"; y Proff. A. B Bruce ar "Yr Hebreaid"; Dr. T. B. Strong ar "Ioan"; y Prifathraw S. D. F. Salmond ar "Epistolau Ioan"; y diweddar Brifathraw H. R. Reynolds ar "Efengyl Ioan"; Dr. A. Plummer ar "Judas Iscariot"; a'r Proff. Orr ar "Deyrnas Dduw." Heblaw y rhai hyn ceir erthyglau daearyddol a hanesyddol ar wahanol rannau o Wlad Canaan gan wŷr tra chymwys. Maj. Gen. Sir Charles Warren sydd yn ysgrifennu ar "Gadara" a'r "Iorddonen"; Lieu. Col. Conder ar "Jerusalem"; a Maj. Gen. Sir C. W. Wilson ar "Judea." Arddunir y gyfrol âg erthygl gampus ar "Ddaeareg Palestina" gan y Proff. E. Hull. Nis gallwn roddi yr ysgrifell o'r neilldu heb wneud cyfeiriad at dair erthygl ereill—tair o brif ysgrifau y gwaith, mae'n ddiameu. Gofod a ballai i ni yn awr wneuthur mwy na'u henwi, sef yr un ar "Dduw" gan y Proff. A. B. Davidson a'r Proff. W. Sanday,—cymer Dr. Davidson ei safbwynt o'r Hen Destament a Dr. Sanday o'r Testament Newydd—yr un ar "Iesu Grist" gan y Proff. W. Sanday, a'r un ar "Yr Ysbryd Glân" gan y Proffeswr H. B. Swete. Darllenasom y tair gyda blas a bendith. Ystyriem fod gwneud hynny yn iechyd i ben a chalon pob dyn. Yr ydym gyda mawr hyfrydwch yn cymhell y gwaith ardderchog hwn i sylw ac ystyriaeth yr oll o'n darllenwyr.

**Inaugural Address** delivered before Trustees of Central College, at Danville, Ky. By Rev. William C. Roberts, D.D., LL.D. Nid yw Dr. Roberts yn anadnabyddus yn y wlad hon. Yn America y mae yn cadw lle amlwg iawn, yn enwedig mewn cylchoedd Presbyteraidd. A dengys yr Anerchiad hwn a draddododd ar ei waith yn ymgymeryd â llywyddiaeth y Coleg uchod

ei fod, tra yn dal gafael gref yn y "pethau a gredir yn ddiameu" yn yr Eglwys Gristionogol ymhob oes, yn fyw iawn hefyd i anghenion yr oes fyw ac anturiaethus bresennol, ac yn benderfynol o wneuthur ei ran i'w cyfarfod.

OUR LORD'S ILLUSTRATIONS: The Metaphors, Emblems, Incidents, and Allusions employed by our Lord to illustrate His Teaching, classified and explained. By the Rev. Robert R. Resker. Edinburgh: T. & T. Clark. 6d. "Ni lefarodd dyn erioed fel y dyn hwn." Dyna dystiolaeth y rhai a'i gwrandawent am yr Iesu. Yr oedd lliaws o resymau yn ddiau dros hyn; yn arbennig ddau: 1. Y pethau y llefarai am danynt—pethau pennaf a phwysicaf dyn; 2 Y dull y llefarai am y pethau hynny—trwy y geiriau a'r arwyddluniau symlaf a mwyaf swynol. Y ddau beth hyn, wedi eu cylymu yn y modd prydferthaf ynghyd, sydd yn y llyfryn deniadol hwn.

BANCIAU PENTRE NEU GLYBIAU TIR. Gan Henry W. Wolff. Wedi ei gyfieithu gàn Ifan T. Davies. Bala: Swyddfa'r Seren. Pris Tair Ceiniog. Cyfieithiwyd y llyfryn hwn ar ddymuniad a chais Syr John Brunner, Barwnig, A.S , ac y mae yn ei ddechru Ragair wedi ei ysgrifennu gan y diweddar Mr. Thomas E. Ellis, a'i ddyddio Dydd Calan, 1899. Y mae y Rhagair hwn yn fynegiad syml a chyflawn o olygiadau Mr. Ellis am fywyd gwledig, ac ychwanega: "Mae gan y llyfryn hwn neges i weithwyr wrth y dydd, tyddynwyr, crefftwyr gwlad, seiri coed a maen, gofaint, gwehyddion a gwniadwyr, creigwyr a glowyr, coedwyr, siopwyr ac amaethwyr, athrawon dydd gwyl a dydd gwaith, a phawb sydd a rhan neu gyfran ganddynt yng ngwaith neu oruchwyliaeth bywyd gwlad." Dylai gael ei ddarllen, gan hynny, gan bawb y mae ganddo neges atynt.

SOSIALAETH A DYSGEIDIAETH CRIST. Gan y Parch. John Clifford, M.A., D.D. Llundain: I'w gael oddiwrth y Fabian Society, 276, Strand, W.C. Y gallai trefniadau cymdeithasol fod yn llawer iawn gwell, ac y byddai dynion yn llawer iawn gwell o hynny, ydynt osodiadau diogel iawn, a dweyd y lleiaf, i'w gwneuthur. Pe byddai i ddynion ymddwyn yn decach tuag at eu gilydd, hefyd, yn ddiau byddai pethau yn well. Credwn ymhellach fod ar law y wladwriaeth i wneuthur ei threfniadau yn llawer tecach nag y maent. Er esiampl, nid oes dim rheswm fod tir yn cael ei ddal a'i feddiannu yn y deyrnas hon fel y mae yn awr. Ond a ellir gwella trefniadau cymdeithas yn gynt, neu yn well, neu o gwbl, ond trwy yn gyntaf wella'r dyn ei hun, ynddo ei hun, sydd amheus iawn gennym.

# Y TRAETHODYDD.

## DR. FRITZ HOMMEL A'R UWCH-FEIRNIAID.

WRTH daflu golwg yn ol ar hanes Beirniadaeth Feiblaidd y chwarter canrif diweddaf, nis gellir llai na chanfod fod dadblygiadau pwysig a chyflym wedi cymeryd lle. Ac os awn ymhellach yn ol wedy'n ymddengys fel pe bai gagendor mawr wedi ymagor rhwng syniadau ein cyn-dadau a'r eiddom ninnau ar gwestiynau pwysig ynglŷn â'r Beibl—ei ddilysrwydd, natur ei ysbrydoliaeth, pa un ai ar chwedlau disail ynte ar wirionedd y sylfaenir hanes dechreuol y grefydd Hebreig a'r grefydd Gristionogol, ac felly ymlaen. Bu amser pan yr oedd y dysgedig a'r defosiynol Archesgob Ussher yn cyhoeddi ddarfod i'r byd gael ei greu ar y 23ain o Dachwedd, 4004 C.C., a phan y derbynid y cyfryw osodiad gan rengoedd yr uniongred gyda ffydd syml a digwestiwn; ac yr oedd ysbrydoliaeth lythrennol y Beibl yn cael ei dderbyn gyda'r unrhyw ymddiried. O'r cyfnod hwnnw hyd ein dyddiau ni—dyddiau y Beibl amryliw (y 'Rainbow Edition" fel y galwodd rhywun ef), dyddiau y dadansoddi, a'r cwestiyno, a'r elfennu diddiwedd ar lyfrau y Beibl—pa mor fawr y cyfnewidiad a gymerodd le!

Gresyn ydyw na fuasai rhyw un erbyn hyn, yn meddu ar y cymhwysderau gofynol, wedi cyhoeddi cyfrol yn yr iaith Gymraeg yn rhoddi hanes cryno ac amhleidiol o'r mudiad Uwch-feirniadol yn ystod yr ugain mlynedd diweddaf. Ymhell o fod yn berygl i'n hunion-grededd Beiblaidd, fel cenedl o grefyddwyr, credaf y buasai y cyfryw grynodeb yn gynorthwy iddo; oherwydd ceid gweled pa mor feiddgar ydyw honiadau llawer o'r Uwch-feirniaid eithafol (ac yn yr ystyr yna y defnyddiwn yr enw Uwch-feirniaid yn yr ysgrif hon), pa mor ddychmygol ydyw llawer o'u gosodiadau, a pha mor aml y maent yn hawlio i ddamcaniaeth noeth yr un awdurdod a gwirionedd profedig. Eu casgliadau yn unig sydd yn cyrraedd ein pobl ieuainc, a hynny yn aml mewn ffurf digon amrwd ac un-ochrog; dyma y pethau sydd yn distaw lefeinio ambell i ddosbarth yn ein Hysgolion Sabothol, ac yn cael eu cofleidio gan ambell un fel datguddiad newydd.

Cydmarol ddistaw ydyw amddiffynwyr y golygiad Ysgrythyrol; ni ddyrchafant eu llef yn yr heolydd. Mae enwau a gweithiau yr Uwch-feirniaid yn ddigon hysbys i'r cyfangorff o honom: Wellhausen, Kuenen, Robertson Smith, ac ereill, yn cynrychioli yr adran *hanesyddol* o honynt; hynny ydyw, y mae y rhai hyn yn sylfaenu eu hymchwiliadau yn bennaf ar ystyriaethau hanesyddol—llawer o honynt o'r natur a

elwir yn *a priori*; Stade, Dillmann, Cheyne, Driver, ac ereill yn cynrychioli yr adran *lenyddol*, sef rhai yn astudio yn bennaf ansawdd ac arddull llyfrau y Beibl mewn ystyr ieithyddol. Ond, ag eithrio Sayce ac un neu ddau ereill, lled ddieithr a disylw yw amddiffynwyr y Beibl. Pan ystyrrir, yn ychwanegol at y ffaith yna, fod rhai o'r Uwch-feirniaid yn nodedig am feiddgarwch eu honiadau, a phan gofier fod y cyfryw feiddgarwch yn beth sydd yn tynnu sylw ac yn ennill edmygedd pobl ddifeddwl, nid rhyfedd fod yr ymosodwyr yn cael lle mor amlwg yn llygad y cyhoedd.

Am eu beiddgarwch nid oes gwestiwn. Os oes rhywun yn ameu hyn darllenned gyfrol o waith Proffeswr Cheyne, gyhoeddwyd y flwyddyn hon, ar "Fywyd Crefyddol Iddewig wedi'r Caethgludiad."* Cynwysa nifer o anerchiadau draddodwyd ganddo yn yr America, o dan nawdd yr "American Committee for Lectures on the History of Religions." Sylwer ar rai o osodiadau y Canon parchedig hwn, yr hwn sydd yn derbyn yn helaeth o waddoliadau yr Eglwys Sefydledig, fel Canon, ac o gyllid Prifysgol Rhydychain fel "Professor of the Interpretation of Holy Scripture." Mae y Beibl yn myned yn bentwr o ddychmygion dan ei ddwylaw. Meddai am awdwr y "Cronicl":—"I need not quote all the astounding distortions and inventions of fact into which the Chronicler's pious illusion has led him." Ymddengys nad yw y "gobaith am Fessiah" yn ddim ond drychfeddwl wedi ei gydwau â gweithiau Esaiah a Jeremiah "gan ddwylaw golygwyr, yr rhai oeddynt yn rhywbeth mwy na chrefftwyr llenyddol, ac oeddynt yn adnabod y bobl a'u dyheadau ysbrydol." Pan sonia y ffug-Jeremiah hwn am "Flaguryn" Dafydd, nid Dafydd sydd yn ei feddwl, na hiliogaeth Dafydd, ond "y llywodraethwr perffaith." Nid yw "gwas Jehovah" yn Esaiah liii. yn golygu y Crist rhag-weledig o gwbl, ond y genedl Iddewig wedi ei phersonoli. Hwyrach y cymerwyd mai Nehemiah oedd y Messiah; beth bynnag am hynny, "nid yw y Messiah ond ymgorfforiad barddonol o frenhiniaeth tŷ Dafydd." Mae y Salmau oll wedi eu profi i fod yn ddiweddarach na'r Caethgludiad. Rhaid ail-wneud llyfr Job o'i ddechreu i'w ddiwedd; nid yw ei ffurf bresennol yn cyd-daro â chwaeth nag â theithi meddyliol y Canon. Dyna engreifftiau o rai o'i gasgliadau. Mwy addysgiadol fyth ydyw craffu ar rai o'i ddulliau o ymresymu. Engraifft dda, sydd wedi tynnu sylw mwy nag un adolygydd, yw yr un a ganlyn. Yn llyfr Ezeciel, fel y gwyddis, ceir brawddeg felly, "Wele di yn ddoethach na Daniel." Ar hyn dywed y beirniad, "Gall pawb weled fod y frawddeg yma yn hollol amhosibl yn y cysylltiad hwn, ac yng nghyfnod Ezeciel. Ar y llaw arall rhaid fod y proffwyd hwn yn gwybod am *Enoch* fel chwiliwr dirgelion." Felly, allan â Daniel, ac i mewn âg Enoch. Ryw dri thudalen ymhellach ymlaen dywed y Canon, "Mae Ezeciel, fel y gwelsom, mewn un man yn crybwyll Enoch fel un wedi ei freintio â meddiant o wybodaeth goruwch-ddynol." Ië, "fel y gwelsom." Ond ni welsom ddim o'r fath. Yr hyn a welsom oedd Canon Cheyne yn gwneud *guess*; neu megys dyn yn chwareu *chess*, yn symud y taclau fel y myn, yn dweyd wrth Daniel "dos allan,'

*Jewish Religious Life after the Exile. By Rev. T. K. Cheyne, D.D., Oriel Professor of the Interpretation of Holy Scripture at Oxford, and Canon of Rochester (New York and London: G. P. Putman's, Sons.)

ac wrth Enoch "tyred i mewn," yn ol arweiniad ei ddamcaniaeth ei hun.

Nid teg fyddai dweyd fod yr oll o'r Uwch-feirniaid eithafol yn euog o bethau fel hyn. Ond nid gormod dweyd mai dyna yr ysbryd ymha un yr ymdrinir gan lawer o honynt â chwestiynau o'r natur yma.

O fewn cyfnod cydmarol ddiweddar, fel y gwyddom, rhoddwyd cryn atalfa ar rysedd y beirniaid hyn drwy y defnydd helaethach a wnaed o weddillion hynafiaethol y Dwyrain, yn enwedig Assyria, a'r goleuni deflir ganddynt ar lawer pwnc dyryslyd yn yr Hanesiaeth Feiblaidd. Ymhlith y toraeth defnyddiau sydd wedi dod i'r golwg rhaid rhoddi y lle blaenaf i'r *Tel-el-Amarna Tablets.* Gan fod a wnelo y rhai hyn i raddau pwysig â gwaith Dr. Hommel, fydd gennym dan sylw, goddefer i mi adgofio y darllennydd am eu hanes. Ar làn y Nile, yng nghanolbarth yr Aifft, hanner y ffordd rhwng dinasoedd Minieh ac Assiout, yr oedd hen bentwr gorchuddiedig gan lwch a phridd cenedlaethau lawer, ag yr oedd hynafiaethwyr wedi hir daflu eu golygon tuag ato. Yn y flwyddyn 1887 agorwyd ef, a chafwyd tâl da am hynny. Darganfyddwyd oddeutu 200 o lythyrau wedi eu hysgrifennu ar bridd-feini, yn y llythrenniad *cuneiform* Babylonaidd. Ymddengys fod brenhin Aifftaidd o'r enw Amenophis IV. yn teyrnasu oddeutu 1300 C.C., ac yn perthyn i'r xviiifed frenhiniaeth (*dynasty*), sef yr un o flaen yr un y perthynnai y Pharaoh hwnnw iddo a orthrymodd yr Hebreaid. Cafodd ei yrru allan o'i ddinas ei hun, ac adeiladodd yn y lle hwn—Tel-el-Amarna—brifddinas newydd iddo ei hun. Yn ei ffoedigaeth gofalodd gludo gydag ef bob gohebiaeth swyddogol a dderbyniasai ei dad ac yntau. A dyna y llythyrau ddarganfyddwyd. Amrywiant yn ddirfawr yn eu cynnwys. Ysgrifennwyd rhai o Palestina, rhai o Phenicia, rhai o Babylonia; *reports* gwahanol raglawiaid—deisebau yn gofyn am ysgafnhad yn y trethi—cynygion oddiwrth frenhinoedd ereill i ffurfio undebau ymosodol neu amddiffynnol, etc. Teyrnasai y brenhin hwn mor bell yn ol a chanrif cyn Exodus. Mae y llythyrau erbyn hyn wedi eu rhannu rhwng amgueddfeydd Paris, Berlin, y British Museum, ac ereill. Mae llawer o honynt eto heb eu deongli. Yn wir mae llu o feini a gweddillion cyffelyb yn awr wedi eu gwasgar yn y gwahanol amgueddfeydd, ac ym meddiant efrydwyr unigol yn y wlad hon, ar y Cyfandir, ac yn yr America, llawer o honynt heb eu cyfieithu eto.

Yr enw mwyaf adnabyddus yn y wlad hon, yn y cysylltiad yma, ydyw yn ddiau enw Sayce; un a rifid ar un adeg ymhlith Uwchfeirniaid eithafol, ond sydd erbyn hyn, wedi iddo wneud ymchwiliad dwfn i hynafiaethau Assyriaidd, ymhlith eu gwrthwynebwyr mwyaf pendant. Nid gormod dweyd fod ei lyfr *The Higher Criticism and the Verdict of the Monuments* wedi dechreu cyfnod newydd yn y ddadl. Gwir nad yw Driver a Cheyne ac ereill yn barod iawn i gydnabod hyn. Ond er hynny gorfodir Cheyne* i ddweyd, "Cydnabyddaf yn ewyllysgar mai pan gyfododd Schrader a Sayce i'r golwg y dechreuodd beirniaid yr Hen Destament dalu sylw i hynafiaethau Assyria." Ac meddai eto, "Sicr yw na ddarfu i Kuenen dalu sylw digonol i'r hynafiaethau Assyriaidd, ac mewn blynyddoedd aethant

* *Founders of Old Testament Criticism.*

heibio amlygai Wellhausen a Robertson Smith ddrwgdybiaeth eithafol gyda golwg ar yr efrydiaeth honno."

Erbyn hyn mae arwr arall wedi ymddangos ar y maes, o ochr amddiffynwyr y Beibl, ac un sydd, o ran ei allu, a'i gyrhaeddiadau, newydd-deb ei ddull o ymchwiliad a phwysigrwydd ei gasgliadau, yn teilyngu sylw pob efrydydd meddylgar yn y ganghen yma.

## PROFFESSWR HOMMEL.

Athraw ydyw Dr. Fritz Hommel ym Mhrifysgol Munich, lle y lleinw Gadair yr Ieithoedd Semitaidd. Mae yn awdwr lliaws o lyfrau, cyflawn o ddysgeidiaeth ddofn a ffrwyth ymchwiliadau hirfaith; megis *Südarabischen Chrestomatie*, *Ges-chichte Babyloniens und Assyriens*, *Semitische Völker und Sprachen*, a llawer o rai ereill. Dywedir wrthym mai *rationalist* ydyw Hommel, ac nad yw yn derbyn y goruwchnaturiol o gwbl. Tra mae yn ofidus meddwl hyn, eto gwelir ar unwaith fod y ffaith hon yn awgrymiadol ynglyn â'i ymosodiadau ar yr uwch-feirniadaeth. Nis gall neb ei gyhuddo o fod yn bleidiwr dall o ochr uniongrededd yr eglwysi; dilyna ei ymchwiliadau yn unig o gariad at yr hyn sydd wirionedd, ac ar y tir yna yr amddiffyna wirionedd hanesyddol y Beibl. Pan gyhoeddwyd y llyfr sydd dan sylw gennym† yn y cyfieithiad Seisnig, ryw flwyddyn a hanner yn ol, cododd peth ystorom, a bu cryn ohebiaeth yn y newyddiaduron. Cyhuddwyd y cyfieithwyr neu y Gymdeithas (S.P.C.K.) oedd yn cyhoeddi y llyfr, neu ynte y ddau, o fod wedi gadael allan rannau pwysig o'r llyfr y rhai a dybid ganddynt eu bod yn amheus, ac hefyd o fod wedi cam-liwio rhai o gasgliadau yr awdwr. Gresyn o beth, os oedd wir; ni bydd unrhyw blaid nac achos lawer elwach o ddarnguddio neu wyrdroi y gwirionedd. Ond ar wahan i hyn yna, diamheu fod y llyfr hwn yn un galluog, teg, ac argyhoeddiadol.

## CYNLLUN Y LLYFR.

Arwyddair yr awdwr ydyw—*External Evidence;* hynny ydyw, ofer yw nyddu damcaniaethau am werth y Beibl ar sail ei dystiolaeth fewnol yn unig. Yn ei Ragymadrodd ceir gweled o ba saf-bwynt yr edrych ar y cwestiwn. Caniataer i mi ddyfynnu:

"I take this opportunity of urging the younger school of Old Testament theologians to abandon their barren speculations in regard to the source of this or that fraction of a verse, and rather to devote their youthful energies to the far more profitable study of the Assyro-Babylonian and South Arabian inscriptions, in order that they may be able, at first hand, to place the output of these absolutely inexhaustible mines of knowledge at the service of Biblical students; nothing can be more deplorable than to find a scholar persistently devoting his most important labours to second-hand sources of information."

†*The Ancient Hebrew Tradition*, as illustrated by the Monuments. A protest against the Modern School of Old Testament Criticism. S.P.C.K. 1897.

Nodwedd arall yn ei waith ydyw—y pwys mawr rydd yr awdwr ar yr *enwau personol Hebreig* geir yn yr Hen Destament, ac ar eu cydmaru âg enwau cyfoesol geir ar y priddfeini, &c. Yn wir dyma nodwedd fawr y llyfr hwn. Un canlyniad o hynny ydyw fod y llyfr, mewn rhannau helaeth o hono, ymhell o fod yn atdyniadol ar yr olwg gyntaf; ymddengys llawer o hono yn anialwch gwag erchyll o enwau ac achau anorffen.

Dymunol ydyw gwneud yn eglur beth yw safle Hommel yng ngwyneb y dosbarthu a'r dadansoddi wnaed ar y Chwe' Llyfr gan y beirniaid. Yn ol y dosbarthiad hwnnw, fel y gwyddis, mae yn amlwg fod i'w canfod bedair cynysgrif, fel cnewyllyn y Chwe' Llyfr. Mae hyn yn cynnwys fod i'r Chwe' Llyfr amryw awdwyr a golygwyr. Cynwysa hefyd fod oesau wedi myned heibio rhwng amser ysgrifeniad y rhannau hynaf a'r amser y dygwyd y gwaith golygyddol i ffurf derfynol. Adnabyddir y gwahanol elfennau yn y Chwe' Llyfr, er mwyn hwylusdod, fel J, E (neu wedi eu cyfuno, JE), D, (H,) P. Gelwir yr ysgrif J wrth yr enw hwn am mai yr enw ar Dduw a geir ynddi yw Jahweh; ac felly E am mai Elohim yw y ffurf ar yr enw Dwyfol ynddi. (Dywed rhai fod y ddwy ysgrif hyn wedi eu cyfuno cyn eu hymgorfforiad yn y Chwe' Llyfr. Dywed Dillmann, o'r ochr arall, mai ar adeg yr ymgorfforiad hwnnw y cymerodd y cyfuniad le.) D yw yr enw âr "Lyfr y Cyfamod" neu "Lyfr y Gyfraith," sef yn bennaf yr hyn a geir yn Deut. xii—xxvi; H (*Holiness*), Llyfr Sancteiddrwydd, Levit. xvii—xxvi; P (*Priest*) "Llyfr Cyfraith Moses"—yr ysgrif offeiriadol; cynwysa rai penodau a geir yn Genesis, pedair pennod ar bymtheg yn Exodus, yr oll o Lefiticus, wyth bennod ar hugain yn Numeri, a rhannau o Josua. Gan ei fod yn cynnwys yr oll o Lefiticus, y mae felly yn cynnwys H. Yn fuan ar ol dyddiau Ezra, medd y beirniaid, gwnaed un llyfr allan o P a JE a D, a'r llyfr hwnnw yw ein Chwe' Llyfr ni.

Darfu i liaws mawr o ddysgedigion yn y wlad hon ac yn yr Almaen dderbyn y ddamcaniaeth yna yn ei chrynswth. A thebyg yw nad oes neb erbyn hyn am wadu fod profion amlwg o bedair gwahanol ffynhonell yn y cyfansoddiadau hyn. Mae rhyw hanes deublyg yn rhedeg trwyddynt; mae amrywiol ffurfiau ynddynt ar enw y Bod Dwyfol; ac y mae llawer o brofion pellach i'r un cyfeiriad. Gwir yw fod rhai amddiffynwyr zelog o'r Hen Destament wedi ceisio gwrthbrofi y golygiad, megys Proffeswr Green, o Princeton, yn ei lyfr "The Unity of the Book of Genesis" (1895), ac i ryw raddau hefyd Proffeswr Sayce yn ei gyfrol adnabyddus, "The Higher Criticism and the Verdict of the Monuments." Ond yma gwahaniaetha Hommel. Dywed yn eglur nad gwiw ameu yr amrywiaeth ffynhonellau hyn; ond iddo ef nid yw yr amrywiaeth ond cadarnhad i brif linellau yr hanes, yn enwedig pan gofiwn nad yw y llawysgrif hynaf a feddwn o'r Hen Destament Hebreig yn hynach na'r wythfed ganrif O.C.

Lle mae Hommel yn fwyaf penderfynol yn ei wrthwynebiad ydyw, i'r golygiad fod y rhan fwyaf o'r *Priestly Code* (yr hwn a gynwysa y rhan fwyaf o'r gyfraith yn Lefiticus a Numeri, a'r desgrifiad manwl o'r Tabernacl yn Exodus; hefyd rhai penodau yn y rhan gyntaf o lyfr Genesis) yn gynnyrch awduriaeth mor ddiweddar a'r Gaethgludiad, neu ar ol hynny. Gwir fod yn y llyfrau hyn lu mawr o eiriau ynglŷn â'r

defodau a'r seremonïau crefyddol nas gellir eu hesbonio ond yng ngoleuni yr iaith Fabylonaidd ; ond haera Hommel mai tarddu a wnaethant o gyfnod *boreuol* Babylonaidd, a'u bod yn perthyn i ddosbarth hollol wahanol i'r termau diweddar-Babylonaidd a geir yn Ezeciel. Heblaw hyn, cynwysir ynddynt liaws mawr o eiriau defodol sydd yn anesboniadwy ond trwy yr iaith Arabaidd ; a bwriada ein hawdwr eu holrhain i'r hen gyfathrach a fu cydrhwng Israel a Midian (Moses a Jethro)

Ei safle mewn byr eiriau yw hwn :—tra nad yw yn gwadu amrywiaeth ffynhonellau yn y Chwe' Llyfr, gwrthyd yn bendant dderbyn casgliadau yr uwch-feirniaid eithafol, y rhai, yng ngrym dychymyg cryf, sydd am ysbeilio llyfrau cyntaf yr Hen Destament o bob awdurdod hanesyddol, a'u gosod allan fel tryblith o ddychmygion disail, wedi eu nyddu gan oes ddiweddarach, ac weithiau wedi eu hargymhell ar y genedl gan offeiriaid ac ysgrifenyddion anonest. Yn hytrach geilw arnom i ddianc odditan lyffetheiriau dychymyg llenyddol, a thalu ein sylw pennaf i *dystiolaeth allanol*. Yn y ddau air yma cynwysir ei arwyddair.

Sylfaena ei hun yn syml a diduedd ar rai o ganonau beirniadaeth hanesiol, fel eu gosodir allan gan Edward Meyer, o Halle, yr hwn a ddyfynnir gan Hommel Gesyd Meyer bwys dirfawr ar y cyn-ysgrifau—y *documents*, sef tystiolaeth lenyddol yn mhob ffurf wreiddiol arni, sydd yn meddu nôd dilysrwydd. Er engraifft, meddai, "Mae prawfeb (*document*) o'r fath yma yn dyst all herio gwrthwynebiad. Os cyfyd o fewn y maes gynwysir yn y prawfeb wrth-darawiad rhwng y prawfeb ei hun a rhyw hanes arall, rhaid i'r olaf roi ffordd." Eto, "Nid gwaeth pa mor gywrain a medrus y gall unrhyw ddamcaniaeth hanesiol fod, rhaid iddi dorri i lawr yn llwyr os ceir ei bod yn dyfod i wrth-darawiad â phrawfeb ddilys." "Ni ddylai yr hanesydd geisio darostwng ffeithiau i wasanaeth tybiaethau a damcaniaethau, ond, i'r gwrthwyneb, chwilio yn gyntaf oll am ffeithiau diymwad, gan ymryddhau yn llwyr oddiwrth ddylanwad pob damcaniaeth a all ef yn flaenorol fod wedi ei ffurfio."

Gall y rheolau uchod ymddangos yn eithaf adnabyddus a syml ; ond nis gall neb sydd yn lled hyddysg â'r uwchfeirniadaeth eithafol ddweyd eu bod yn ddianghenrhaid.

Ymhlith y *documents* Beiblaidd, yn y llyfrau cyntaf, gellir enwi y rhestrau o enwau yn Llyfrau Numeri, ac enwau personol o amser Moses ymlaen ; cân Deborah, proffwydoliaethau Balaam, y bendithion gyhoeddwyd gan Jacob, crybwylliad am wahanol genhedloedd, ac felly ymlaen.

Mewn canlyniad nodwedd arbennig yn Hommel ydyw y defnydd helaeth a manwl wneir ganddo o enwau personol, fel eu ceir ar y gwahanol feini a chôf lechau i'r diben o'u cymharu âg enwau personol y Chwe' Llyfr. Nis gellir llai nag edmygu yr amynedd diball â pha un yr olrheinia ambell i enw trwy ei wahanol ffurfiau, a thrwy wahanol wledydd a chyfnodau, er mwyn profi ei bwnc. Wrth gwrs gesyd hyn dreth nid bychan ar amynedd y neb a ddarllenno y llyfr.

Ni haerir mai Hommel piau y syniad o ddefnyddio yr enwau personol Hebreig yn yr Hen Destament i'r diben o ddadansoddi y Traddodiad Hebreig. Cydnebydd ef ei hun ddarfod i Eberhard Nestle, yn y flwyddyn 1876, gyhoeddi llyfr tra gwerthfawr ar y llinellau yna

("Die Israelitischen Eigennamen nach ihrer religious—geschichtlichen Bedeutung": Haarlem, 1876), yn yr hwn y rhennir yr enwau personol Hebreig i dri phrif ddosbarth, yn cyfateb i dri chyfnod o ddadblygiad yng nghrefydd yr Hen Destament. Yn y cyntaf gesyd enwau ag y mae El (Duw) yn elfen ynddynt; yn yr ail, yr enwau perthynol i'r cyfnod rhwng Joshua a Solomon (neu Elias), yn yr hwn y ceir yr enw dwyfol Yahveh yn graddol ddyfod i gydoesi âg El, ac enw y duw Canaaneaidd Baal (Arglwydd) yn cael ei ychwanegu yn ddiweddarach; yn y trydydd, enwau y cyfnod brenhinol, y rhai a gynwysant bron yn ddieithriad yr elfen Yahveh (Yo, Yahu, neu Yah), gan ddwyn tystiolaeth felly ddarfod gorchfygu Baal gan Yahveh. Mor bell ag yr oedd yn myned, diamheu fod Nestle yn iawn.

Ond mae ymchwiliad Hommel i'r enwau yn anrhaethol fwy manwl a gwyddonol, ac yn cael ei wneud yng ngoleuni darganfyddiadau hynafiaethol nad oeddynt wedi dod i'r golwg yn amser Nestle.

## AMCANION Y LLYFR.

Mae'n hen bryd bellach i roddi crynodeb o amcanion yr awdwr yn y gwaith hwn. Nis gellir gwneud hynny ond yn fyr, ac nis gellir rhoddi mwy nag amlinelliad o'r ymresymiadau ddygir ymlaen. Cynwysa y llyfr Ddeg o Bennodau. Amcenir yn y rhan helaethaf o'r llyfr brofi y gosodiadau canlynol:—

(1). Nid crwydriaid anwar ac anllythrennog oedd yr Israeliaid ddilynasant Moses i'r anialwch.

(2). Mae tystiolaeth cerf-ysgrifau, cof-lechau, etc., o'u manwl gydmaru, yn ein gorfodi i gredu ddarfod i'r patriarch Abraham ymfudo o Ur oddeutu'r flwyddyn 1922 C.C., pan yr oedd llinach frenhinol *Arabaidd* yn teyrnasu ar Mesopotamia.

(3). Mae y ddamcaniaeth a haera nad ysgrifenwyd Genesis xiv. yn gynarach nag amser y Caethgludiad (a'r pryd hynny gan ryw Rabbi dysgedig oedd wedi cael gafael ar gof-lech ac a'i rhydd-gyfieithodd), yn cael ei phrofi yn hollol ddi-sail.

(4). Nid ydyw yr enwau personol geir yn y Ddeddfres Offeiriadol (*Priestly Code*), yn enwedig yn Llyfr Numeri, yn arddangos tarddiad Babylonaidd diweddar. Yn hytrach meddant yn hollol yr un nodweddion â'r enwau *Arabaidd* perthynol i'r ail fil-flwydd cyn Crist.

(5). Cadarnheir yn hollol yr hanes yn Genesis am ymfudiad Jacob a Laban i Fesopotamia. Arameaid oedd y ddau hyn. Profir, o dystiolaeth allanol, ddarfod i ymfudiad mawr o Arameaid gymeryd lle i Mesopotamia, o'u hen gartref yn y deheu-orllewin, yn hollol ar yr un adeg ag y dywedir ddarfod i Jacob a Laban symud yno.

(6). O gydmaru yr arysgrifau, ceir tir cadarn i gredu fod rhan fawr o'r traddodiad ar ba un y seilir Genesis eisoes wedi ei roi mewn ysgrifen yn amser Moses.

Gwelir ar unwaith mai nid cwestiynau newydd drinir yma. Yr un rhai yw prif gwestiynau Uwch-feirniadaeth yr Hen Destament o amser Astruc i lawr at Cheyne. Ond gellir yn deg hawlio fod Hommel yn trin ei bwnc ar linellau cydmarol newydd, ac yn gwneud hynny gyda medr ac amynedd dihafal.

## CREFYDDOLDER A GWAREIDDIAD YR HEBREAID CYNTEFIG.

Dywed Hommel: "Bwriadaf ddangos, drwy ymchwil manwl i'r enwau personol geir yn yr arysgrifau, y gradd uchel o ddadblygiad mewn crefydd gyrhaeddasid ymhlith yr Arabiaid, y Midianiaid, a chenhedloedd perthynol erbyn canol yr ail fil-flwydd cyn Crist. Ymhellach, ceisiaf ddangos fod yr arysgrifau yn taflu goleuni hollol newydd ar y gwareiddiad cydmarol uchel a nodweddai y tylwythau semitaidd crwydrol hyn."

Mae yn wir fod amcan cyffelyb gan James Robertson yn ei lyfr galluog, "Crefydd Foreuol Israel," mor bell ag y mae a fynno â'r cwestiwn o ddadblygiad crefydd; ond trinir y pwnc yno o saf-bwynt braidd yn wahanol. Cymer Robertson ei safle ar y rhannau hynny o'r Hen Destament gydnabyddir gan yr Uwch-feirniaid yn ddilys. Edrych yn ol o ddechreuad "cyfnod hanes," o amser Amos a Hosea, a haera gyda grym fod cyflwr y genedl o ran crefydd a gwareiddiad yn y cyfnod hwnnw yn tybied yn ddi-os gwrs maith o addysg, meddylgarwch, a diwylliant yn y gorffennol. Ond mae Hommel yn dechreu o'r pen arall, megys. Cymer ei safle mewn cyfnod rhwng 2000 a 3000 o flynyddoedd C.C., a cheisia ddangos pa ddylanwadau crefyddol a gwareiddiol fodolent yn Syria a Phalestina a Babylonia y pryd hynny.

GWAREIDDIAD. Y ffaith gyntaf i gymeryd i ystyriaeth ydyw mai yr iaith *Fabylonaidd*, ac nid yr Assyriaidd, a ddefnyddid fel iaith swyddogol mewn gohebiaeth rhwng-genedlaethol oddeutu 1400 C.C. Profir hyn gan lechau Tel-el-Amarna, y rhai a gynwysant ohebiaeth rhwng llywodraethwyr Babylonia, Assyria, Mesopotamia, a Phalestina, ar y naill law, a'r "Pharaohs" Amenothes III. a IV. ar y llaw arall. Pa fodd i esbonio hyn? Yr ateb yw—rhaid fod Babylon, am ganrifoedd lawer, wedi bod yn gweithredu dylanwad gwareiddiol o'r fath gryfaf ar Syria a Phalestina.

I'r diben o brofi hyn dechreua Hommel drwy olrhain penarglwyddiaeth Babylonia o gyfnod boreu iawn. Ac wrth wneud hynny gesyd arbenigrwydd neillduol ar yr elfen *Arabaidd* yn yr hanes. Mae a wnelo yr elfen hon i raddau pwysig iawn â'i ymresymiad ef.

Yn hanes yr Offeiriad-frenin Gudea o Sirgulla, yr hwn a lywodraethai Babylonia yn nechreu y drydedd mil-flwydd C.C., ceir fod gwledydd eang iawn mewn perthynas fasnachol âg ef, neu yn talu gwarogaeth iddo. Profir hyn gan y rhestr o wledydd a phobloedd oddiwrth ba rai y cyrchai ddefnyddiau adeiladu, meini, coed, aur, etc. Yn arbennig yr "Arabian peninsula," orweddai rhwng Babylonia ac Affrica. Eir ymlaen i ddangos fod perthynas agosach o hyd yn bodoli rhwng Babylonia ac Arabia. Ond, heb fanylu, profir yn amlwg *fod Syria, Phenicia, a rhan fawr o Arabia, hyd yn oed cyn amser Abraham, o dan ddylanwad uniongyrchol gwareiddiad Babylonaidd.*

Ffaith arall o bwys mawr yn yr ymchwiliad ydyw, fod llinach frenhinol *Arabaidd* wedi llwyddo i ymsefydlu yn Babylonia Ogleddol oddeutu 2000 C.C., ac wedi ymasio yn llwyr â'r Babyloniaid. Ac o'r llinach yma yr hanodd y brenin enwog Khammurabi (sef Amraphael y xiv. bennod o Genesis), yr hwn a eangodd ei derfynau fwyfwy, nes

cymeryd i mewn "wledydd y Gorllewin" (yn cynnwys Palestina). Gwelir pwysigrwydd hyn ymhellach ymlaen.

Digon ar hyn o bryd yw sylwi fod yr Hebreaid (yn ol Hommel);—y rhai oeddynt yn hanner Arabiaid pan yn myned i Ganaan—hyd yn oed pan yn bobl hanner-crwydrol, yn y cyfnod boreu yma, yn byw yng nghanol dylanwadau cyrhaeddgar gwareiddiad Babylonaidd.

SYNIADAU CREFYDDOL.—O hyn allan, try ymchwiliadau Hommel yn bennaf o amgylch llinach frenhinol Khammurabi (sef Amraphael, Gen. xiv., yr hwn oedd gyfoed âg Abraham). Cynwysa y llinach hon 11 o frenhinoedd, o ba rai yr oedd Khammurabi yn 6ed. Sylfaen ei brofion ydyw yr *enwau personol*, o ba rai y mae llu ar gael yn y llechau-cytundeb (*contract-tablets*) perthynol i'r cyfnod, ac yn y rhai mae enwau y tystion yn gystal â'r partïon o bwys mawr i'r ymchwiliad. Dyma brif linellau ei ymresymiad:—(1) Mae yn yr enwau hyn yn amlwg ddau brif ddosbarth, sef enwau Babylonaidd pur, ac enwau Semitaidd-Orllewinol (neu Arabaidd). Yn yr olaf, ac i ryw raddau hefyd yn y traddodiad Hebreig boreuaf, ceir dull arbennig o ffurfio geiriau a saif ar ei ben ei hun oherwydd ei *nodwedd grefyddol*. (2) Mae hyd yn oed yr enwau Babylonaidd yn arddangos tuedd at un-dduwiaeth. Gwir mai aml-dduwiaeth oedd y grefydd Fabylonaidd; ond "profir yn yr enwau personol hyn mai y lloer, yr haul, a'r ffurfafen yn unig roddai argraff o ddwyfoldeb ar y meddwl Babylonaidd; ac os rhoddwn y gair syml 'Duw' (ilu) yn lle y lloer neu yr haul neu y ffurfafen, nid awgryma yr enwau hyn ddim yn anghyson â'r un-dduwiaeth mwyaf dyrchafedig." (Rhaid cydnabod nad yw y gosodiadau hyn yn argyhoeddiadol iawn. Ond mae ei osodiadau dilynol ar dir cadarnach o lawer). (3) Mae y duedd at un-dduwiaeth yn dra amlwg yn yr ail ddosbarth o enwau—yr Arabaidd. Ni cheir braidd un enw personol nad yw *ilu* (Duw) yn elfen ynddo. Mwy na hynny, fe'i cysylltir braidd yn ddieithriad â'r rhagenw personol unigol yn gosod allan berchenogaeth—*fy* Nuw (ilî). Rhoddir rhestr hirfaith o enwau i ddangos hyn, megys *Ilî-awwas* (fy Nuw a roddodd), *Ilî-yapi'a* (fy Nuw sydd ddisglaer), *Ilî-shara'a* (fy Nuw a ordeiniodd), *Ilî-'azza* (fy Nuw sydd gadarn), etc., etc. "Mae hyn oll," meddai'r awdwr, "yn dystiolaeth o'r drychfeddwl uchel am y Bod Dwyfol a goleddid gan yr Arabiaid cyntefig. O'i gydmaru âg eiddo y Babyloniaid, nis gellir ei alw yn ddim amgen nag un-dduwiaeth o natur tra addfed, nid anheilwng o gael ei osod ar yr un raddfa a chrefydd y patriarch Abraham fel ei darlunir yn yr hanes Beiblaidd." (4) Mae llawer o'r enwau personol Arabaidd geir ar y llechau—megys Ab-ramu, Ya'gub-ilu (Jacob-el), Yashup-ilu, Abdiel, ac ereill, nid yn unig yn Arabaidd, ond hefyd yn Hebreig.

Ni chaniata ein gofod i ni ddilyn yr awdwr drwy yr ymchwiliadau cywrain ym maes yr enwau personol, drwy ba rai y profir mai Arabaidd o haniad oedd llinach frenhinol Khammurabi, nac ychwaith fanylu ar gynnwys pennod iv., ym mha un y penderfynir amseriad Abraham. Gellir symio i fyny y prif gasgliadau yng ngeiriau Sayce ("Patriarchal Palestine," 1895), â'r hwn y datgan Hommel ei fod yn hollol gyd-olygu. "Yr oedd gan hynny Hebreaid—neu o leiaf boblogaeth yn siarad Hebraeg—yn byw yn Babylonia yn y cyfnod i'r hwn y priodolir bywyd

Abraham gan yr Hen Destament. Ond mwy na hynny. Mae enw Khammurabi, ac enwau holl frenhinoedd y llinach, yn Arabaidd, ac nid yn Fabylonaidd. Ni pherthyn y geiriau o ba rai y gwneir hwy i fyny, na'r enwau dwyfol a gynwysant, i'r iaith Assyriaidd a Babylonaidd o gwbl. (Mae cof-lech ar gael lle eu rhoddir ochr yn ochr â chyfieithiad Assyriaidd o honynt). Rhaid fod i'r llinach frenhinol hon berthynas agos âg Arabia Ddeheuol. Mwy na hynny. Mae yr enwau (Khammurabi, Ammi-zaduga, etc) nid yn unig yn Arabaidd, ond hefyd yn *Hebreig*. . . . . . . . Felly pan y ganwyd Abraham yn Ur y Caldeaid, yr oedd tŷ brenhinol yn llywodraethu yno nad oedd o darddiad Babylonaidd, ond a berthynai i bobl oedd Hebreig ac Arabaidd hefyd. Profir gan y llechau-cytundeb fod poblogaeth o gyffelyb deithi iddynt hwy yn byw dan eu rheolaeth yn y wlad. A ellid cael gwell cadarnhad i'r hyn a ddywedir yn y 10fed bennod o Genesis? Dywedir yno y ganwyd i Eber ddau fab: enw un oedd Peleg, cyn-dad yr Hebreaid, ac enw y llall oedd Joctan, cyn-dad tylwythau Arabia Ddeheuol. Felly, profir fod yr hanes Beiblaidd yn berffaith gyd-redeg â'r darganfyddiadau hynafiaethol diweddaf, ac amhosibl yw credu bellach ddarfod i fanylion yr hanes Beiblaidd gael eu rhoddi gyda'u gilydd yn Palestina yn y cyfnod diweddar i ba un y priodolir ef gan y beirniaid eithafol. Buasai pob adgof am y ffeithiau gynwysir ynddo wedi hen gilio o'r golwg."

Dyma'r amgylchoedd o ba rai yr aeth Abraham, cyfaill Duw, allan i'r wlad newydd. Drwy ymfudo o Ur y Caldeaid achubwyd crefydd bur a dyrchafedig Abraham rhag cael ei llyncu i fyny gan aml-dduwiaeth Fabylonaidd. Oherwydd dyna, medd ein hawdwr, fuasai ei thynged. O hyn allan cawn fod arferion ac eilunaddoliaeth Babylonaidd yn gyson beri ymlygriad yn y grefydd Arabaidd, fel ag y gwnaethent yn flaenorol yng nghrefydd y Canaaneaid.

## GENESIS XIV.

Fel y gŵyr y darllennydd yn ddiau, mae brwydrau beirniadol dirifedi wedi eu hymladd uwchben yr adran hon o'r Hen Destament sydd yn desgrifio ymgyrch y Pum Brenhin yn erbyn y Pedwar; Abraham yn achub Lot o law y gorchfygwyr, a Melchisedec yn cyfarfod âg Abraham pan ar ei ffordd gartref. Yn y flwyddyn 1869 y darfu i Theodor Noldeke wneud ei ymgais penderfynol i brofi nad oedd yr hanes hwn ond peth wedi ei ddyfeisio ganrifoedd yn ddiweddarach na'r amser i ba un y priodolid ef. Ac er yr holl ffeithiau cadarnhaol sydd wedi dyfod i'r golwg ar ol hynny, yr oedd Wellhausen mor ddiweddar âg 1889 yn ysgrifennu fel hyn:—

"Parhâ beirniadaeth Nöldeke ar Genesis xiv. yn gadarn ac anatebadwy: mae fod pedwar brenin o'r Persian Gulf 'yn amser Abraham' wedi goresgyn y gwastadedd Sinaidd, eu bod ar yr achlysur yma wedi ymosod ar bump o fân lywodraethwyr ar lân y Môr Marw, ac yn ddiweddaf oll fod Abraham wedi ymlid ar ol y buddugwyr ar eu dychweliad, gyda 318 o weision, a'u gorfodi i ildio eu hyspail—mae yr

holl ddigwyddiadau hyn yn amhosiblrwydd noeth, ac nid ydynt yn ennill dim mwy crediniaeth drwy gael eu lleoli mewn byd oedd wedi hen fyned heibio."

Ond, waeth am hynny, y mae ffaith ar ol ffaith wedi ei dwyn i'r golwg sydd yn cadarnhau yr hanes Beiblaidd. Ar ol dechreu efrydu y cerf-ysgrifau *cuneiform* cafwyd fod "Arioch brenin Elasar" yr un ag Eri-Aku (G. Smith, 1871), o Larsa (H. Rawlinson). Wedi'n dangoswyd fod duwies Elamitaidd o'r enw Lagamar neu Lagamal (G. Smith); hefyd y bu mewn amser boreuol ddau frenhin Elamitaidd, un o'r enw Kudur-Mabug (tad Eri-Aku), a'r llall Kudurnankhundi (G. Smith). Dengys Hommel fel yr oedd y naill ddarganfyddiad ar ol y llall yn gyrru y beirniaid i gongl gulach o hyd. Ni allasent mwyach wadu fod Kudur-Lagamar (y Cedorlaomer sydd yn xiv. 1) yn enw gwir Elamitaidd, na gwadu chwaith mai yr Elamitiaid oedd yn llywodraethu yn Syria (ac felly yn Palestina), yr hyn a brofir gan un o arysgrifau Kudur-Mabug. Yr unig ddyfais oedd syrthio yn ol ar yr hen ddamcaniaeth o *forgery* wedi ei wneud yn y cyfnod ar ol y Caethgludiad. Hynny ydyw, darfu i ryw ysgrifenwr Iddewig fyned at yr offeiriaid Babylonaidd yn y cyfnod diweddar hwn i ofyn iddynt fod cystal a'u anrhegu âg ychydig fanylion hynafiaethol, a fyddent o ddefnydd er rhoddi lliw henafol ar y stori oedd ef yn ei gosod at ei gilydd. Cyferfydd ein hawdwr â'r ddamcaniaeth hon gyda medr mewn gwawdiaeth yn gystal a rhesymeg. A ymlaen i roddi rhyw chwech o wahanol arysgrifau a chof-lechau dan dreth; ac o honynt llwydda i ddangos (1) pa fodd y daeth yr enw Khammurabi yn Amraphel (yn Genesis xiv.), (2) pa gysylltiad oedd rhwng Eri-Aku (Arioch) a Khammurabi (Amraphel), (3) pa gyfeiriadau wneir at Cedor-laomer yn yr arysgrifau *cuneiform*. Ni chawn ei ddilyn drwy y manylion hyn. Swm y cwbl yw, fod Hommel yn llwyddo i dynnu, o'r arysgrifau, &c., ddarlun byw, a hanesyddol wir yn ol pob golwg, o'r brenhinoedd hyn, yn enwedig Cedor-laomer, ac o amgylchiadau eu hoes; darlun sydd yn ffurfio *background* tra naturiol a dyddorol i'r hanes geir yn Genesis. O'r ochr arall, dengys fod Genesis xiv. yn dwyn i'r golwg arwedd hollol newydd ar ran o hanes Khammurabi, nad yw i'w chael yn ei hanes fel ei gosodir allan ar y *monuments*, ond arwedd ag sydd yn ffitio i mewn yn berffaith i amgylchiadau gwleidyddol y cyfnod. Tueddaf i ddweyd nad yw Hommel yn dwyn llawer o'r hyn sydd newydd o ran darganfyddiad ynglŷn â'r mater hwn, ond llwydda i gyfleu ac ail-drefnu y defnyddiau yn y fath fodd ag sydd yn rhwym o gadarnhau pob darllennydd yn y farn fod yr hanes Beiblaidd yma yn gorwedd ar dir diogel a chredadwy. Ac y mae gwir bwysigrwydd yn perthyn i hyn; oherwydd, fel y dywed ei hun:—

"Mae y xiv. bennod o Genesis erbyn hyn yn fath o shibboleth i'r ddwy blaid o feirniaid yr Hen Destament. Bychan, mewn cydmariaeth, ydyw pwysigrwydd y cwestiwn pa un a ydyw y 'Ddeddfres Offeiriadol' y gyntaf ai ynte y ddiweddaf o ffynhonellau y Pum Llyfr. Cwestiwn ynglŷn â natur hanesiaeth ei hun sydd yn rhannu efrydwyr yr Hen Destament i ddwy blaid anghymodlawn."

## JACOB YR ARAMEAD.

O dan y penawd uchod ymdrinir gan Hommel â hanes y patriarch Jacob. Rhoddir y teitl "Aramead" iddo ar sail Deut. xxvi. 5. Y mae Dillmann wedi dangos ddarfod i Jacob wneud ei gartref yn Padan Aram (Haran fel ei gelwir yn y Ddeddfres Offeiriadol), ynghanol ei geraint ei hun, fel ag y gellir dweyd ddarfod iddo gasglu o'i gwmpas y gweddillion olaf o'r Hebreaid nad oeddynt eto wedi ymdoddi yn yr hil Arameaidd, ac a'u harweiniodd i Ganaan, ac oddiyno i Bethel. "Yn niwedd yr holl grwydriadau hyn, ac nid cynt, y gesyd Genesis ei aduniad âg Isaac a'i bobl yn Hebron yn y dehau." Gen. xxxv. 27—29). Dyna paham y rhoddir iddo yr enw "yr Aramead."

Yn amser Jacob nid oedd iaith yr Arameaid, y mae yn lled sicr, ond tafodiaith Arameaidd. (Ni ddaeth yr iaith elwir yn gyffredin yn Aramaeg i fod ond yn hir iawn wedi y cyfnod hwn). Deuir i'r casgliad diogel fod yr Arameaid yn yr ail fil-flwydd C C, ac ar ol hynny, yn rhan o genedl fawr yr Arabiaid.

Y mae gennym dair ffynhonell o wybodaeth am hanes yr Arameaid. (1) Y cof-feini *cuneiform*, (2) y traddodiad Beiblaidd, (3) yr arysgrifau Arameaidd cyntaf. Ond nid yw (3) o lawer o ddefnydd i ni ynglyn â'r cyfnod boreuol hwn, oherwydd nid ydynt yn mynd yn ol ymhellach na diwedd yr 8fed ganrif C.C.

Ar sail (1) profir fod ymfudiad mawr o Arameaid wedi cymeryd lle i Mesopotamia, o'u hen gartref yn y de-orllewin, yn hollol ar yr un adeg ag y dywedir ddarfod i Jacob a Laban symud yno.

Ni wna Hommel unrhyw gyfeiriad at y ddamcaniaeth dderbyniodd gymeradwyaeth llawer o'r beirniaid cyn hyn, sef mai enw ar dylwyth ydyw Jacob (ar sail y cerf-ysgrifau lle y dywedir ddarfod i Thothmes III. a Ramses II. a III. oresgyn rhai mannau yn Syria a Phalestina, ymhlith pa rai yr enwir Jacob-el a Joseph-el—y naill yn enw ar randir ddeheuol, a'r llall ar randir ogleddol). "Nid oes fawr neb a amheua," medd Cheyne, "nad enwau ydyw y rhai hyn wedi eu cymeryd o'r tylwythau Hebreig, cyn-Israelaidd, y rhai drigiannent yno yn yr hen amser. Ac nid oes amheuaeth am hyn, fod hanes Jacob a hanes Joseph yn rhyw adlewyrchiad gwan o hanes tylwythol Jacob-el a Joseph-el. Hwyrach y gellir ameu peth felly yn achos Abraham. Ond fod Isaac, Jacob, Israel a Joseph yn enwau tylwythol, a bod eu hanes traddodiadol yn ymgorfforiad i ryw raddau o adgofion tylwythol—hyn sydd yn un o ffrwythau mwyaf diogel beirniadaeth; ac nid all unrhyw dosturi tuag at 'frodyr gweiniaid' gyfiawnhau ei gelu."

Nid yw Hommel yn datgan barn ar hyn, ond gwelir yn amlwg fod ei olygiad ef am Jacob yn cyd-redeg â'r golygiad "uniongred."

Ni chaniata gofod i mi ddilyn yr awdwr ymhellach. Gorfodir fi i adael rhai o'r rhannau mwyaf dyddorol o'r llyfr heb eu cyffwrdd. Yn arbennig buaswn yn enwi penodau ix. a x. fel rhai arbennig o addysgiadol, ac yn rhai sydd yn dangos *method* yr awdwr i'r fantais oreu. Cymer y rhestrau o enwau personol yn Numeri, ac o'u cydmaru âg enwau perthynol i gyfnod Khammurabi, oddeutu 2000 C.C., ac enwau Canaaneaidd geir yn y Tel-el-Amarna-*tablets* tua mil o flynyddoedd ar ol hynny, llwydda i ddangos fod yr enwau yn Numeri

—y mwyafrif o honynt—yn enwau Arabaidd pur, ac felly nas gellir eu priodoli i unrhyw gyfnod ond cyfnod Moses. Y cyfryw enwau ydynt Abi-dan (fy Nhad a farna), Eliab (fy Nuw sydd Dad), Eli-dâd (fy Nuw sydd berthynas), Ahiezer (fy mrawd sydd gymhorth), Tsuri-el (fy Nghraig yw Duw), Pedasur (efe, y Graig, a waredodd), Elisama (fy Nuw a wrandawodd), a llu o rai ereill.

Mae'n ddiau ddarfod i lawer darllenwr yng Nghymru eisoes ymgydnabyddu â'r gyfrol hon a'i mwynhau. Gwel y cyfryw mai brysiog ac amherffaith ydyw y byr-olwg hwn o gynnwys y llyfr. Ond am y rhai nad ydynt wedi ei darllen, gallwn eu sicrhau fod Hommel wedi gwneud gwasanaeth gwerthfawr drwy y gyfrol, a'i bod yn dra dyddorol ac addysgiadol. Ymddengys y bydd o werth i gadarnhau meddyliau llawer, ac i amddiffyn—nid o anghenrheidrwydd y golygiad traddodiadol am yr Hen Destament, ond (fel y dywed Proffeswr Robertson) y golygiad Beiblaidd, yr hwn sydd mor bell oddiwrth eithafion yr Uwch-feirniadaeth ag ydyw oddiwrth ymlyniad caethiwus wrth yr hen syniadau am gyfansoddiad y Gair Sanctaidd.

*Llanrug.* ROBERT PARRY.

*Ol-nodiad.*—Pan ysgrifennais y geiriau yn nechreu yr erthygl am ddiffyg Arweiniad i mewn i hanes yr Uwch-feirniadaeth yn Gymraeg, nid oeddwn wedi digwydd gweled llawlyfr bychan rhagorol Mr. E. Cynffig Davies, M.A. "Llawlyfr Uwch-feirniadaeth Ysgrythyrol" (Llanerchymedd, 1897). Wedi ei ddarllen teimlaf nas gellid dymuno Llawlyfr mwy cymhwys, o ran dysgeidiaeth, ysbryd diduedd, ac eglurder, na'r llyfr hwn.

---

## BEIRNIADAETH EISTEDDFODOL A BARDDONIAETH.

CYDNABYDDIR fod y rhan fwyaf o farddoniaeth Cymru, yn ystod yr hanner canrif diweddaf, yn ddyledus am achlysur ei gynyrchiad i gystadleuaeth Eisteddfodol. Pa un ai mantais ai anfantais yw hyn i natur neu gymeriad y cynnyrch ni cheisiwn benderfynu. I ba raddau y mae beirniadaeth ar y cynyrchion hyn wedi dylanwadu ar nodwedd y cyfansoddiadau a chwaeth ein beirdd? Nid hawdd, feallai, yw ateb y gofyniad gyda hyder sicr yn ei gywirdeb. Tueddir ni i dybio nad yw beirniadaeth, hyd yn hyn, wedi dylanwadu rhyw lawer ar lenyddiaeth Cymru. Mae amryw ystyriaethau yn ymgynnyg i'r meddwl fel rhesymau dros y dŷb hon a goleddwn. Mae barddoni mae'n wir yn hen gelfyddyd yn ein mysg fel cenedl Ond, ar y cyfan, cydnabyddir mai yr Arwrgerdd a'r Delyneg—ffurfiau barddonol cyfnod *ieuengrwydd* cenedl—ydynt y ffurfiau cysefin ar farddoniaeth Cymru hyd heddyw. Hyd

yn gydmarol ddiweddar ymdriniad gwrthrychol (*objective*) a roddid bron yn ddieithriad i destynau y cenid arnynt. Nid yw cyfnod mewnolrwydd (*subjectivity*) ac adfyfyrdod ond un diweddar iawn ynglŷn â'n barddoniaeth. Nid yw hyn yn beth i synnu ato. Mae pob cenedl yn cynyrchu gweithiau llenyddol am dymhor hir cyn y daw Beirniadaeth neu Athroniaeth ymlaen i geisio egluro yr egwyddorion sydd yn gorwedd danynt, neu bwyntio allan yr hyn sydd anghyflawn ynddynt. Rheswm arall dros ein tŷb yw hwn :—Yr un dosbarth sydd yn gwneud y ddau waith yng Nghymru. Mae ymgeiswyr llwyddiannus y llynedd yn feirniaid eleni, fel rheol. Y canlyniad ydyw y byddant yn cymhwyso eu Canonau eu hunain at y cystadleuwyr ereill. Fel hyn, ffurfir yn raddol fath o safon i benderfynu rhagoriaeth a gwerth cyfansoddiad. Prin y gellir beio rhyw lawer ar ymgeiswyr awyddus am lwyddo am eu bod yn astudio chwaeth beirniaid ac yn cydymffurfio â syniad y cyfnod o barthed i hanfodion tybiedig rhagoriaeth unrhyw gyfansoddiad barddonol. Ond, os nad ydym am feïo y beirdd, prin y gallwn gymeradwyo y cynllun fel un ffafriol i gynnydd ac ymberffeithiad llenyddol.

Anfynych iawn y rhoddir i'r un athrylith allu cyfartal i feirniadu ac i gynyrchu. Y mae hyn yn wir am *artists* o bob math, yn arlunwyr, yn gerddorion, ac yn feirdd. Dywed E. B. Browning am feirdd eu bod bob amser yn methu gwneud cyfiawnder â'u gweithiau eu hunain pan yn ceisio eu darllen i ereill. Y mae yn sicr eu bod ar y cyfan yn lled ddiffygiol yn eu barn ar weithiau eu gilydd. Ceir engraifft neillduol o hyn ym Mywgraffiad Arglwydd Tennyson (tud. 176).

Yn ei "Adgofion" am Tennyson edrydd Aubrey de Vere yr hanes canlynol :—"Darllenwch," ebe Tennyson wrthyf, "Ganeuon ardderchog Burns. . . . Wrth eu darllen hwy yr ydych yn anghofio y pethau ynfyd hynny, ei ddarnau difrifol a chrefyddol." Yr un diwrnod cyfarfyddais â Wordsworth, a thrôdd y siarad am Burns. Canmolai yntau y bardd Ysgotaidd yn llawn mor frwdfrydig ag y gwnai Tennyson, gan gyfeirio at ei waith yn dwyn barddoniaeth yn ol at Natur, ac ychwanegai, 'Wrth gwrs yr wyf yn cyfeirio at ei ddarnau difrifol, megys "Nos Sadwrn y Bythynwr;" ond am ei Ganeuon Serch, y pethau ynfyd a diwerth hynny, rhaid i ni eu hanghofio.'" O ran gonestrwydd ac amhleidgarwch yr ydym o'r farn fod beirniaid presennol ein Heisteddfodau yn tra rhagori ar lawer o'r rhai elwid i feirniadu flynyddau yn ol. Pennod ddu fyddai hanes rhai dyfarniadau Eisteddfodol wedi ei ysgrifennu gan un o'r "tu fewn i'r llen," ac yn gwbl hysbys yn y cyfrinachau. Y mae un cysur gan gystadleuwyr diweddar, y mae ailadrodd y cyfryw driciau yn gwbl amhosibl i foesoldeb rhagorach ein dyddiau ni. Pe bai cywirdeb gwybodaeth rhai o'n beirniaid mor ddiamheuol a chywirdeb eu hamcanion ni fyddai raid i neb gwyno dim. Er hynny y mae y naill a'r llall yn anhebgorol er sicrhau dyfarniadau cywir,—dyfarniadau fyddont yn symbyliad, ac nid yn rhwystr, i ymberffeithiad ar ran yr Awen Gymreig.

Yn y sylwadau dilynol ceisiwn alw sylw at rai diffygion ynglŷn â *Chanonau* beirniadaeth, ac awgrymu rhai a ystyriwn yn gywirach a rhagorach.

1. Hyd yn hyn, i raddau gormodol, cysylltir pwysigrwydd â *ffurf* barddoniaeth yn hytrach na *syniadaeth* farddonol. Nid ydym yn anghofio fod barddoniaeth yn fynych yn cael ei ddarnodi fel y *syniadaeth oreu yn yr iaith oreu*. Y mae eisieu gofalu am ffurf gyfaddas a pherseiniol i syniadau barddonol. Ni fynnem i neb dybied ein bod yn ystyried ffurf neu wisg cyfansoddiad barddonol yn beth dibwys. Fel rheol, po fwyaf barddonol fyddo'r syniad, a pho fwyaf y teimlad pan yn cyfansoddi, tebycaf yn y byd fydd hi i'r syniad hwnnw gymeryd ffurf brydferth hefyd. Ar yr un pryd rhaid cydnabod y gall y ffurf, o ran cynghanedd, corfan, ac odl, fod yn berorol a llithrig, tra y mae y ffigyr barddonol yn rhodio yn gloff ac yn anafus. Yn lle "cloi *synwyr* mewn clysineb," clöir y synwyr allan, a gwahoddir y clysineb yn unig i fewn. Er engraifft, dyna y llinell honno :

"A rhaiadr heddwch lifeiria drwyddi."

Mae yn gywir a pherseiniol o ran cynghanedd, ond y mae y ffigyr "rhaiadr heddwch" yn anaturiol, ac heb gydgord rhyngddo â gwirionedd o gwbl.

Er ys cenhedlaethau, y mae anrhydedd uchaf barddoniaeth Cymreig yn rhwym wrth ffurf neillduol a elwir Cynghanedd. Pan yn beirniadu cyfansoddiadau cynghaneddol eto, cywirdeb a pherseinedd fel rheol ydynt y nodweddion y chwilir am danynt Cydnabyddir mai y cynghaneddwyr mwyaf meistrolgar fel rheol, ac nid y meddylwyr mwyaf dwfn a barddonol, a wobrwyir â chadair yr Eisteddfod. Wrth gwrs y mae hyn yn berffaith gyson, os mai *ffurf* barddoniaeth yw y peth pwysicaf ynglŷn â'r gelfyddyd. Maenprawf gwerth *ffurf* ynglŷn â'r celfau cain yw ei gyfaddasder i roddi mynegiant i syniad ar un llaw, a'i gysondeb âg egwyddorion hanfodol prydferthwch ar y llaw arall. Y mae cynghanedd Gymreig yn gyson â hawliau prydferthwch peroriaeth seiniol, ond, ar y cyfan, yn anghyfaddas i roddi mynegiant llawn a chywir i syniadaeth farddonol. Gellir cael drwy gyfrwng corfan ac odl lawn cymaint o berseinedd mydryddol. Ac am fod y mesurau rhyddion yn fwy cyfaddas o lawer i wneud chwareu teg â syniad barddonol, credwn nad doeth yw gorfodi yr awen Gymreig i ganu mewn Cynghanedd, pan y gall wneud llawer mwy o gyfiawnder â thestyn, o ran ymdriniad barddonol, pe y caniateid rhyddid ynglŷn â'r mesurau.

Pe yr aem oddiallan i'r cylch barddol at ddarllenwyr deallgar i ofyn eu barn ar y pwnc, ni phetrusem am foment o barthed i'r dyfarniad—yn hytrach na gwasanaethu fel atdyniad i ddarllenwyr, y mae y gynghanedd yn rhy fynych yn gwylltio y cyfryw ymaith ymhell oddiwrth ein hawdlau arobryn Wrth gwrs, os bydd bardd wedi cynefino â'r gynghanedd, ac wedi ei meistroli i'r fath raddau fel y gall ef, fel y tybia, gyfansoddi lawn cystal ynddi ag yn y mesurau mwy rhyddion, ni fynnem ar un cyfrif gyfyngu ar ei ryddid. Ar yr un pryd, trais ar awen y mwyafrif mawr o feirdd Cymru, ar bob adeg, yw eu gorfodi i rodio yn hualau y cynghaneddion. Barner gwerth cyfansoddiad wrth ansawdd y farddoniaeth a gynwysa, ac nid wrth y mesurau y cana ynddynt. Hynny yw, rhodder mwy o bris ar syniadaeth farddonol ac

ymdriniad barddonol nag ar ffurf fydryddol neu gynghaneddol y mesurau a ddefnyddir gan y bardd.

2. *Nodweddir beirniadaeth Gymreig gan gyfyngdra yr olwg a gymer ar swyddogaeth y gelfyddyd farddol.*—Gwyddom fod perthynas celf (*art*) â moesoldeb yn fater ag y mae llawer o wahaniaeth barn yn ei gylch. Dadleua un dosbarth nad oes a fynno celf o gwbl â moesoldeb. Ffyddlondeb i natur, ffyddlondeb i fywyd, fel y mae yn ei brydferthwch a'i hacrwch, ei ddrwg a'i dda, yn unig gydnabyddir gan y dosbarth hwn. Deil ysgol arall, yr un Biwritanaidd, na ddylai celf ymdrin âg unrhyw destun fyddo yn desgrifio neu yn awgrymu drwg moesol. Nid oes a fynno celf, meddant, ond â daioni a phrydferthwch yn unig. Llawforwyn i foesoldeb a chrefydd yn unig ddylai hi fod. Credwn mai i'r dosbarth olaf hwn y perthyn llawer o feirniaid diweddar Cymru. Mewn Pwyllgor Eisteddfodol yn ddiweddar cynygid Ardudfyl, mam Dafydd ap Gwilym, yn destun Rhiangerdd. Ond pan y deallwyd nad oedd ei chymeriad yn gwbl uwchlaw amheuaeth, haerid nad gweddus ei chymeryd yn destun. Yr ateb ellid roddi i'r wrthddadl yw hwn: Mae celf i fod yn gyfled a Bywyd. Nid oes dim dynol i fod yn estronol iddi. Rhaid iddi fod yn ffyddlon i Fywyd yn ei desgrifiad o hono. Nid yw, wrth gwrs, yn rhan o swyddogaeth celf i ogoneddu poen, hagrwch, neu ddrwg moesol. Cyfeiria atynt gyda'r amcan o'u nodi allan fel pethau i dosturio wrthynt, ac i'w gochelyd, drwy ddangos eu hanfantais a'u trueni. Dyna Faust, o eiddo y bardd Goethe. Yn y gân ymdrinia â chymeriad Mephistopheles, a chyfeiria at bechodau Faust a Margaret. Pwy dybia, ar ol darllen y cyfansoddiad, fod yr ymdriniad yn feithrinol i anlladrwydd, neu amheuaeth, neu *cynicism?* Onid yw y darllennydd yn casau Mephistopheles â châs cyflawn? Oni welir fel y mae amheuaeth yn rhy fynych yn arwain i anfoesoldeb? Ac oni resynnir at gyflwr Margaret pan y dangosir y trueni achosir gan waith y diniwed yn ildio i hudoliaeth y temtiwr? Dyna Adam Bede o eiddo George Eliot. Mae Hettie Sorrell yn ildio i demtasiwn ac yn syrthio. Ond y mae darluniad yr awdures athrylithgar o drueni ac anobaith y sefyllfa y darostyngwyd hi iddi fel y mae pob merch ddarllenno'r llyfr yn bur debyg o ymgroesi rhag dilyn ei hesiampl anffodus.

Na! mae gan gelf hawl i ymdrin â Bywyd hyd yn oed pan yn fethiant, dim ond iddi ofalu am wneud hynny yn y fath fodd ag i rybuddio y darllennydd rhag dilyn y llwybr a arweinia i'r methiant. Y defnydd a wna celf o ddrwg a throseddau sydd i benderfynu pa un a yw yr ymdriniad yn foesol neu yn anfoesol. Mae chwareugerddi Shakespere, megys Macbeth a Hamlet, yn darlunio cymeriadau ydynt yn euog o droseddau ysgeler. Yn ol dysgeidiaeth yr Ysgol Biwritanaidd, yr oedd y prif-fardd Seisnig yn troseddu yn erbyn moes a hawliau y gelf farddol pan yn cymeryd y fath destynau i ganu arnynt. Y mae Browning, yn ei Bryddest faith, *The Ring and the Book*, yn dadelfennu cymhellion rhai o'r cymeriadau gwaethaf fu ar ein daear erioed. A dybia unrhyw feirniad o unrhyw bwysigrwydd fod y Bardd yn dangos diffyg chwaeth fel *artist* pan yn dewis testyn o'r fath i ymdrin âg ef? Mae yr Hen Destament yn adrodd hanes troseddau anfad gyflawnwyd gan ddynion da Pe cai y dosbarth yma eu ffordd croesid allan o'n Beibl hanes meddwdod Noa, anlladrwydd Dafydd, a

gwadiad Petr. Na, dywedwn eto, y defnydd a wneir o ddrwg moesol sydd yn penderfynu pa un ai doeth ai annoeth yw ei gymeryd yn destyn ymdriniad barddonol.

3. Cawn engraifft o'r un cyfyngdra ynglŷn â'r *ymgais i farnu gwerth barddonol cyfansoddiad yn ol safon uniongrededd y cyfnod.* Condemnir cyfansoddiadau, nid o herwydd absenoldeb barddoniaeth a gallu meddyliol, ond am fod yr ymgeiswyr yn mabwysiadu safbwynt neu yn rhoi yn ngenau rhai o'r cymeriadau syniadau a ystyrrir yn gyfeiliornus. Nid y rheswm am eu condemniad yw eu bod yn anghyfaddas i gymeriadau ddarlunir gan y bardd, ond am eu bod yn groes i syniadau diwinyddol y beirniaid. Gallesid yn rhwydd gyfeirio at engreifftiau o hyn ynglŷn â beirniadaeth eisteddfodol yn lled ddiweddar. Beth pe cymhwysid y *Canon* beirniadol yma at orchestweithiau hen a diweddar? Condemnid *barddoniaeth* Iliad Homer am ei fod yn dynoli y duwiau ac yn eu darlunio fel rhai glwth a chelwyddog. Condemnid Divina Commedia Dante am ei fod yn cymeryd yn ganiataol wirionedd y syniadau am y Purdan. Diau gennyf y gwnai rhai o'n beirniaid fyrwaith ar In Memoriam Tennyson, am ei fod ynddi yn ffafrio y syniad am adferiad ac edifeirwch posibl i enaid wedi gadael y corff. Y mae i'r beirniaid hyn groesaw o'u syniadau diwinyddol, ac ymfawrygu ynddynt fel rhai uniongred. Er hynny dylent ganiatau rhyddid i ymgeiswyr wahaniaethu oddiwrthynt, a pheidio condemnio barddoniaeth neu ymdriniad barddonol o unrhyw destun am fod cyndybiau duwinyddol neu wleidyddol yr ymgeiswyr yn gwahaniaethu oddiwrth yr eiddynt hwy.

Mae ar gôf rhai o'n darllenwyr fod un bardd adnabyddus wedi colli cadair yn bennaf am ei fod wedi rhyfygu cyfeirio yn ganmoliaethus at Cobden, a Bright, a Gladstone, fel gwladweinyddion oeddynt yn digwydd bod yn wrthrychau casineb y beirniad cul a rhagfarnllyd. Gŵyr yr ysgrifennydd am engraifft arall gyffelyb ynglŷn â dyfarniad am goron Eisteddfod. Mynnai un o'r beirniaid atal y wobr rhag ymgeisydd neillduol am ei fod yn cyfeiliorni yn ei farn o barth i amcanion cosb yn y byd a ddaw. Pe y darllennid y beirniadaethau ar destyn cadair Eisteddfod Llandudno, canfyddid eu bod yn eistedd mewn barn ar farnau duwinyddol yr ymgeiswyr, yn ogystal a phenderfynu rhagoriaeth y farddoniaeth. Onid yw hyn yn gamddefnydd (*abuse*) o'r gallu ymddiriedir i feirniad? Oni chymerir yn ganiataol, a hynny yn anghywir, fod safon uniongrededd yn rhywbeth arosol a digyfnewid? Ai ni anwybyddir y ffaith y gall ymdriniad â thestun fod yn farddonol a galluog er iddo fod ar linellau gwahanol i syniadaeth y beirniad o barthed i wirionedd athrawiaethol a gwrthrychol? Pe yr ystyriai beirniaid fod syniadaeth yn cyfnewid ac yn ymgywiro o oes i oes, ac mai gweledigad y bardd yw un o'r cyfryngau ddefnyddir i ddatguddio gwirionedd, byddent lawer yn fwy gochelgar rhag condemnio cyfansoddiad, am nad yw yn gwbl gyson â'u safonau cyfundrefnol hwy.

4. Credwn eto fod beirniadaeth ddiweddar yn tueddu i roddi pwys gormodol ar *symledd ac eglurder arwynebol.* Gwelsom nodiad gan feirniad rai blynyddau yn ol i'r perwyl yma: Nid oes gan fardd hawl i ollwng o'i ddwylaw yr un linell os na ddeallir y meddwl ar unwaith fel y rhedo yr hwn a'i darllenno? Y *mae* symledd ac eglurder yn nodweddion ardderchog, gwerth i bob meddyliwr eu meddiannu Ond gall y

geiriau fod yn syml ddigon pan y bydd y gwirionedd osodir allan yn un y bydd raid meddwl llawer uwch ei ben cyn y deuir i'w ddeall. Dyna'r dywediad hwnnw o eiddo'r Iesu: "Y neb a ewyllysio gadw ei fywyd a'i cyll." Mae yn syml ddigon o ran geiriau a dullwedd, ond rhaid aros yn fyfyriol uwch eu pennau cyn llawn amgyffred eu hystyr. Dylai pawb ymdrechu mynegu eu syniadau mor syml, mor glir, ac mor eglur ag y gall iaith wneud. Er hynny gall y *syniad* fod y fath fel nas gall yr hwn a redo ei ddarllen a'i ddeall ar unwaith. Hyd y mae yn bosibl dylai pob bardd gymeryd trafferth i osod ei feddwl allan yn eglur, mewn iaith syml a dealladwy. Er hynny, dymunwn adgofio y beirniaid y gall yr anhawsder i ddeall dernyn o farddoniaeth godi, weithiau, o ddyfnder a newydd-deb y syniadaeth; neu, ynte, ar adegau, o ddiffyg gwrteithiad digon eang ar ran y darllennydd. Ni ddylid bod yn rhy frysiog i gondemnio cyfansoddiad am nad yw yr ystyr ar y wyneb, ac yn hawdd i bawb ei ganfod, y diwrtaith yn ogystal a'r diwylliedig. Beth pe cymhwysid rheol *hawsder i'w deall* at lenyddiaeth Seisnig, neu Gyfandirol, oni fyddai raid i ni eu condemnio fel rhai anheilwng? Collai rhai o brif ddarnau Browning ac ail ran Faust eu safle ar unwaith. Pwy sydd yn honni y gall efe ddeall ar unwaith ystyr rhannau helaeth o Dante a Shakespeare? Na, ni thâl i ni gondemnio cyfansoddiad os na chwbl ddeallir ei ystyr yn llawn ar y darlleniad cyntaf. Rhaid cael rhyw reol heblaw hon i farnu gwerth unrhyw gyfansoddiad. Nid ydym yn dadleu dros aneglurder, a chyfrinedd a thryblith syniadol. Nid ydym chwaith yn haeru nas gellir dwyn y cyfryw gyhuddiad yn erbyn "y Bardd Newydd" yng Nghymru. Hwyrach fod yn ein mysg rai ydynt yn rhy dueddol i dybied fod dyfnder ac aneglurder yn eiriau cyfystyr. Os felly, dangoser hynny, a chondemnier hwy. Ond na fydded i feirniad dynnu y casgliad brysiog nad oes dyfnder na gwerth yn perthyn i farddoniaeth, oni fydd ef yn alluog i'w amgyffred yn llawn ar y darlleniad cyntaf. Y mae llawer o'r eglurder arganmolir gan feirniaid yn codi o gymeriad arwynebol yr ymdriniad â'r testun. Y mae yn hen bryd taflu ymaith yr eilun hwn o eglurdeb sydd yn codi oddiar gyffredinedd syniadol yn fwy nag oddiar dlysni a thryloewder y syniadaeth.

5. Hoffem yn fawr i feirniaid Eisteddfodol gael eu meddiannu gan y syniad fod beirniadaeth yn golygu *gallu i werthfawrogi rhagoriaethau cyfansoddiad yn llawn cymaint a gallu i ganfod ei ddiffygion.* Nis gellir canfod diffygion na rhagoriaethau unrhyw waith heb fod gan y cyfryw feirniad syniad clir am dano fel cyfanwaith. Gwelir tuedd gormodol i sylw ar gyfansoddiad bob yn ddarn, gan fanylu ar bethau ailraddol, yn hytrach na chymeryd i fewn y cynllun a'i weithiad allan fel cyfanwaith. Gwaith hawdd yw dweyd cynnwys y rhan gyntaf a'r ail a'r drydydd, &c., ond anhawddach tasg yw cymeryd golwg ar y cyfansoddiad yn ei Undod, a phrisio gwerth ei wahanol rannau yn eu cyfaddasder i roddi mynegiant i'r drychfeddwl arweiniol. Mae gennym rai beirniaid ydynt yn gwneud hyn, ond anfynych ysywaeth yr ymgymerant â gwaith sydd yn gofyn gallu neillduol a chydwybodolrwydd mawr i'w wneud yn effeithiol.

Gofidus gennym gredu fod ereill yn ceisio cuddio eu hanghymhwysder drwy guddio eu hunain â llenni o *vagueness* hollol ddiwerth o safle

gwir feirniadaeth. Er engraifft, "y mae A yn dilyn ei destyn yn fanwl, ond y mae B. yn ei ddilyn yn fanylach." "Y mae iaith A. yn dda, ond iaith B. yn well." "Mae cynghaneddion C. yn wych, ond mae cynghaneddion D. yn wychach." "Mae brychau ar wyneb cyfansoddiad E., ond mae mwy o honynt ar eiddo F.," &., &c. Nid oes yn y cyfryw sylwadau na gwerth nac addysg i'r darllennydd. Dibynnant ar ein syniad am allu a chydwybodolrwydd y beirniad. Ynddynt eu hunain ni roddant un fantais i weled gwerth cydmarol cyfansoddiad na chywirdeb y dyfarniad. Derbynnir y dyfarniad, nid yn wyneb haul a llygad goleuni beirniadaeth deg, ond yn nhywyllwch ffydd yng nghymhwysder y beirniad.

Hawdd, feallai, yw i ninnau sylwi ar ddiffygion, y gamp yw awgrymu gwell cynllun ac effeithio diwygiad. Gwelir oddiwrth ein sylwadau ein bod yn dal mai aunoeth yw ymddiried y gwaith o feirniadu i rai ydynt yn parhau i ymgystadlu. Yn lle hyn dewiser llenorion o allu ac ymddiriedaeth. Gall y rhai hyn, yn fynych, feirniadu yn well na'r beirdd eu hunain. Os apwyntir beirdd o fri, chwilier am rai ydynt wedi peidio â'r gwaith o gystadlu, os gellir cael gafael ynddynt. O'r ddau, dywedwn eto y gellir cael gwell beirniaid o lenorion coeth a deallgar nag o feirdd. Mae ar Gymru eisieu tô newydd o feirniaid i gyfarfod â'r ysbrydiaeth farddol newydd sydd yn cynniwair drwy y genedl. Ni fynnwn awgrymu fod "y Bardd newydd," fel y gelwir ef, yn well ymhob peth na'r hen. Na, o'r ochr arall, credwn y bydd yn rhaid i'r newydd ganu yn fwy syml ac yn llai dansoddol os am glust, llygad a chalon y Cymro. Nid oes ynom ddim cydymdeimlad â'r dull cyfriniol, ffug-athronyddol, a dansoddol sydd yn dallu golygon beirniaid yn y blynyddau hyn. *Tinsel*, ac nid sidan wedi ei gyfrodeddu o aur dilin, yw llawer o hono hyd yn hyn. Er hynny, y mae yn brawf o fodolaeth rhyw aflonyddwch, ac awydd am rywbeth gwahanol, os nid gwell, na'r farddoniaeth wrthrychol a desgrifiadol sydd wedi bod mewn bri am oesau yn ein mysg. Yfodd Islwyn o ysbryd Wordsworth, a bu Ceiriog yn ddisgybl ffyddlon i Burns. Mae gennym feirdd yn fyw ydynt yn edmygwyr mawr o Tennyson, Browning, a beirdd Seisnig ereill. Hawdd yw i feistriaid y gelfyddyd ddylanwadu arnom. Llawenhawn yn yr ymddeffroad sydd yn nodweddu y meddwl Celtaidd yn ein dyddiau ni. Rhodder iddo chwareu teg. Na cheisier ei ddirmygu na'i chwerthin i ffwrdd. Na fydded i ffug-feirniadaeth ei ddigalonni. Credwn fod cyfnod aur ein llenyddiaeth farddol eto'n ol. Nid yw posibilrwydd yr athrylith Geltaidd wedi ei ddihysbyddu. Gyda'r addysg lenyddol dderbynia ein gwŷr ieuainc, a diwylliad cynyddol ein cenedl, cynyrchir barddoniaeth fydd yn rhagorach drych i natur, ac yn esboniad cywirach ar fywyd dyn yn ei amlochredd. Ymrodded beirniadaeth i gynorthwyo hyn, ac nid i'w lesteirio o dan arweiniad safonau anghywir, a chulni syniadol, a chyfyngder ei hardrem ar fywyd meddyliol a moesol dyn.

D ADAMS.

*Lerpwl.*

*

# GOHEBIAETH Y PARCHEDIG THOMAS CHARLES, B.A., O'R BALA.

## XI.

THOMAS CHARLES TO DAVID CHARLES.

Dear Brother,

From this distant part, duty and affection prompt me to drop a line to you, with a view of giving you a short account of our excursion hitherto. The deputation consisting of Rev. Mr. Bogue and Mr. Hughes and Mr. Mills met me at Holyhead, June 23rd. We crossed over on the 25th, and the following day being Sunday, we spent at Dublin. I preached twice in Church, and they both in dissenting meeting houses. The state of the religious people was really affecting, torn in pieces by dissensions, Cooperites and Haldonites disputing violently with one another and with all the world, all assuming the infallibility of the Pope both in Ecclesiastical Polity and Polemic divinity. They administer the Lord's Supper without any minister; some will not pray with the ungodly, others will not worship unless the believers sit in contact with each other, &c. It were endless to mention all the faiths and trifles they dispute about, and the baneful effects of these foolish disputes among the religious people we have perceived everywhere we have been. July the 1st we set out in two separate parties from Dublin towards the South and West part of the kingdom. Mr. B. (a sensible worthy man) and I travelled together. We went through Athr, Kilkenny, Clonmel, Waterford, Cork, and reached here last night. Everywhere we found the Protestant interest very low. About ten to one are everywhere Catholic in the country. In general they speak Irish, though many understand English. The English only is taught in the schools. Some of them told me they do not see the necessity of learning the Irish, as they knew the language already; and they have not the Bible, you know, in their language. Some of them did not know what I meant by Bible, when I spoke to them about it. I asked them whether they knew that the Great God had given us a book They replied, *no.*

THOMAS CHARLES AT DAVID CHARLES.

Anwyl Frawd,

O'r lle pellennig hwn cymhella dyledswydd a serch fi i ysgrifennu llinell atoch i roddi i chwi adroddiad byr o'n taith hyd yma. Cyfarfyddwyd fi gan y ddirprwyaeth, yr hon sydd yn gynwysedig o'r Parch. Mr. Bogue, Mr. Hughes a Mr. Mills, yng Nghaergybi, Mehefin 23ain. Bu i ni groesi ar y 25ain, a threuliasom y dydd dilynol—gan mai y Sul ydoedd—yn Nublin. Pregethais i mewn Eglwys ddwywaith, a hwythau mewn addoldai Ymneillduol. Yr oedd cyflwr y bobl grefyddol yn wir deimladwy, wedi eu torri yn ddrylliau gan gynnen,—Cooperiaid a Haldoniaid yn dadleu yn chwerw â'u gilydd ac â'r holl fyd, yn cymeryd arnynt eu hunain anffaeledigrwydd y Pab, mewn llywodraeth eglwysig a diwinyddiaeth ddadleuol. Gweinyddant Swper yr Arglwydd heb weinidog; ni wna rhai weddio gyda'r anuwiol; ac ereill ni addolent onid eistedda'r credinwyr mewn cyffyrddiad â'u gilydd. Ni buasai terfyn ar adrodd yr holl bethau ffol a mân am ba rai y dadleuant, ac effeithiau niweidiol y dadleuon ffol hyn ymhlith y bobl grefyddol a ganfyddasom ymhob man y buom. Gorffennaf y cyntaf cychwynasom yn ddau gwmni o Dublin i gyfeiriad y De a'r Gorllewin. Y mae Mr. B. (gŵr teilwng synwyrol) a minnau yn cyd-deithio. Aethom drwy Athr, Kilkenny, lConmel, Waterford, Cork, a chyrhaeddasom yma neithiwr. Ymhob man cawsom Brotestaniaeth yn isel iawn. Y mae deg Pabydd am bob Protestant drwy y wlad. Yn gyffredin, siaradant y Wyddelaeg, er fod llawer yn deall Saesneg. Y Saesneg yn unig a ddysgir yn yr Ysgolion. Dywedodd rhai o honynt wrthyf nad oeddynt yn gweled yr angenrheidrwydd o ddysgu y Wyddelaeg, gan eu bod yn gwybod yr iaith yn barod; ac nid ydyw y Beibl ganddynt, fe wyddoch, yn eu hiaith. Nid oedd rhai yn gwybod pa beth a feddyliwn pan y soniwn am Feibl wrthynt. Gofynnais iddynt a wyddent

The Priest forbids them the Bible, you know. When I told some of them I was a Welshman, they expressed great kindness towards me, both by their looks and in words. There is a bitterness in their minds and an utter aversion towards the English. The poor Irish appear to be in the state the Welsh were in 300 years ago, viz., ignorant and ferocious. No (adequate?) means have in my opinion ever been used to . . . . . them. What a grievous consideration it is, that over 2,000,000 of people, subjects of the British Empire, should be without a Bible in a language they understand. There is an evident affinity between the Irish and Welsh languages. I believe I would soon learn it, had I proper books, which as yet I have not been able to obtain. I heard a sermon delivered by a Popish priest in the Irish language. It sounded pleasant to my ear, and the poor Irish heard with *great attention* and emotion; and they loudly expressed their approbation of what was said at intervals like the Welsh Methodists. The congregation amounted to about 300 people. The affinities of the Welsh and Irish will be perceived in the following examples:—DI, *Duw;* DINI MOOR, *dyn mawr;* MON, woman; MEIN, women; MEER, *môr;* ISCI, *wysc,* water; and they have the guttural *ch* very common in their conversation. We have preached in most places; but everywhere our congregations have been small. We have met with several excellent men in the Established Church who have given very material information respecting the state of the country in a moral, religious and political point of view. The minds of the Irish are in a very perturbed state and kept under by superior military establishments in every part of the country. The Bishop of Limerick was attacked last night within two miles of this city by 8 armed villains. They wounded him and abused him and robbed him, and he had a very providential escape for his life. He was returning from a visit about 4 miles off, at eleven o'clock at . . . . . . . . . in Parliament have effected . . . . . . the disease is inveterate and portentous . . . . . . with efficacy none but God can direct . . . . ought to have been paid, and if in a right channel long ago . . . . . In about three week's time we mean to accomplish our [journey]. [A report] of it will be published, it is most

fod y Duw Mawr wedi rhoddi i ni lyfr. Atebasant na wyddent. Gwyddoch fod yr offeiriaid yn gwahardd y Beibl iddynt. Pan y dywedais wrth rai o honynt fy mod yn Gymro arddangosasant garedigrwydd mawr tuag ataf gyda'u golygon a'u geiriau. Y mae chwerwder yn eu meddyliau, a chasineb hollol tuag at y Saeson. Ymddengys y Gwyddelod druain yn yr un cyflwr a'r Cymry dri chan' mlynedd yn ol—yn anwybodus a gwyllt. Nid oes moddion addas wedi eu defnyddio, i'm meddwl i, tuag atynt (?) Onid yw yn ystyriaeth ddifrifol fod dwy filiwn o bobl, deiliaid yr Ymerodraeth Brydeinig, heb Feibl mewn iaith ddealladwy iddynt? Y mae perthynas amlwg yn bod cydrhwng yr iaith Wyddelaeg a'r Gymraeg. Credaf y dysgwn hi yn fuan, pe cawswn lyfrau priodol, y rhai hyd yn hyn nid wyf wedi gallu eu cael. Clywais bregeth gan offeiriad Pabyddol yn y Wyddelaeg. Swniai yn hyfryd i'm clustiau, a gwrandawai y Gwyddelod druain gydag astudrwydd mawr a theimlad; a mynegasant eu cymeradwyaeth o'r hyn ddywedwyd, yn uchel, yr un modd a'r Methodistiaid Cymreig. Rhifai y gynulleidfa oddeutu tri chant o bobl. Fe welir perthynas y Gymraeg a'r Wyddelaeg yn yr engreifftiau dilynol:—DI, *Duw;* DINI MOOR, *dyn mawr;* MON *menyw;* MEIN, *menywod;* MEER, mor; ISCI *wysc*, dwfr; ac y mae y llythyren *ch* yn gyffredin iawn yn eu hymddiddan. Yr ydym wedi pregethu yn y rhan fwyaf o leoedd; ond bychain ydoedd ein cynulleidfaoedd ymhob man. Yr ydym wedi cyfarfod âg amryw wŷr rhagorol yn yr Eglwys Sefydledig, y rhai a roddasant wybodaeth dra phwysig am gyflwr y wlad, yn foesol, yn grefyddol ac yn wleidyddol. Y mae meddyliau y Gwyddelod mewn cyflwr tra chynhyrfus, a chedwir hwynt danodd gan sefydliadau milwrol mawr ymhob rhan o'r wlad. Ymosodwyd ar Esgob Limerick neithiwr o fewn dwy filldir i'r ddinas hon gan wyth o weilch arfog. Anafasant a chamdrinasant ef, a lladratasant oddiarno,—a chafodd ddiangfa ragluniaethol am ei fywyd. Yr oedd yn dychwelyd adref o ymweliad â man oddeutu pedair milltir o ffordd am unarddeg o'r gloch . . . . . . yn y Senedd wedi effeithio . . . . . . y mae yr anhwylder yn hen ac anferth . . . . . . . . . . . . . . . Mewn rhyw dair wythnos bwriadwn orffen ein taith. Cyhoeddir adroddiad o honi y mae yn debyg. Yr wyf yn aml yn meddwl am

probable. I am often thinking of a visit to S(outh) W(ales) before the end of the year. I intend it, but I have often intended it, but have not been able to accomplish my design. All I can say is, I hope to see you all once more, with a view to receiving and imparting some spiritual blessing. The Lord knows what he has to [give ?] me. I leave all in h s hands. With best love to sister,

I remain, dear brother,
Yours affectionately,
THOMAS CHARLES.

Limerick,
August 8, 1807.

I was very sorry to hear at Waterford of the death of Colonel Lloyd of Fronwydd. At Dublin, we heard that Mr. Jones, of Llangan, was dead, but we have not given full credit to that report at present. *Our* day will be soon over, let us be up and be doing with all diligence.

ymweliad â Deheudir Cymru cyn diwedd y flwyddyn. Yr wyf yn bwriadu hynny, ond yr wyf yn aml wedi bwriadu yr un peth, ond wedi methu cyflawni fy mwriad. Y cwbl allaf ddweyd yw fy mod yn hyderu eich gweled oll unwaith eto, i dderbyn a chyfrannu rhyw fendith ysbrydol. Yr Arglwydd a ŵyr beth sydd ganddo i mi. Gadawaf y cwbl yn ei ddwylaw. Gyda'm serch goreu i'm chwaer.

Gorffwysaf, anwyl frawd,
Yr eiddoch yn serchog,
THOMAS CHARLES.

Limerick,
Awst 8, 1807.

Drwg oedd gennyf glywed yn Waterford am farwolaeth Colonel Lloyd, Fronwydd. Yn Nublin clywsom fod Mr. Jones, o Langan, wedi marw, ond nid ydym wedi llawn gredu yr adroddiad hyd yn hyn Bydd ein dydd ninnau drosodd yn fuan; bydded i ni godi i weithio gyda phob diwydrwydd.

## XII.

### THOMAS JONES TO THOMAS CHARLES.

*Creaton, Jan.* 31, 1809.

My dear Sir,

Your labours and persevering diligence in the work of the Lord must necessarily raise you in the esteem of all that are in any way truly engaged in the same work, though possibly they may find it necessary to divide in opinion with you on some points. I shall take the liberty of mentioning one peculiarity which I should be glad you would deliberately reconsider before you absolutely determine to persist in it, and that is, your newly-adopted orthography of the Welsh language. I freely acknowledge myself a very incompetent judge of such matters, and shall never presume to say that I have attained to any tolerable degree of critical exactness in any language whatever. This confession will justly authorize you to say to me,—"You are then not a fit person to interfere in such matters." Granted. Yet I may be allowed to express my opinion, such as it is, on the subject. I expect it appears to you that the Welsh language has considerably degenerated, through the ignorance or inattention of the ablest ranks in it, from its original purity, and that you are doing no more than correcting the errors which have

### THOMAS JONES TO THOMAS CHARLES.

*Creaton, Ionawr* 31, 1809.

Fy anwyl Syr,

Cyfyd eich ymroad llafurfawr a dyfal yng ngwaith yr Arglwydd chwi o angenrheidrwydd ym mharch pawb sydd mewn unrhyw ffordd yn cymeryd rhan mewn gwirionedd yn yr un gwaith, er feallai eu bod yn gorfod gwahaniaethu oddiwrthych mewn barn ar rai pethau. Cymeraf y rhyddid o grybwyll un neillduolrwydd y byddai yn dda gennyf i chwi ei ailystyried yn bwyllog cyn i chwi lwyr benderfynu dal ato,—sef yr orgraff Gymreig yr ydych newydd ei mabwysiadu. Yr wyf yn addef yn barod mai beirniad tra anghymwys ydwyf o'r cyfryw bethau, ac ni feiddiaf honni fy mod wedi cyrhaedd i unrhyw fesur helaeth o fanylrwydd beirniadol mewn unrhyw iaith. Cyfreithlona y cyfaddefiad hwn i chwi ddweyd—"Nid ydych gan hynny yn berson addas i ymyryd yn y pethau hyn." Goddefer i hynny fod. Eto fe'm caniateir i fynegu fy marn—y cyfryw ag ydyw—ar y mater. Tybiaf yr ymddengys i chwi fod yr iaith Gymraeg wedi diraddio ym mhell, drwy anwybodaeth neu ddiofalwch ei hysgrifenwyr pennaf, oddiwrth ei phurdeb gwreiddiol, ac nad ydych chwi ond yn cywiro camgymeriadau sydd wedi ymlithro i mewn drwy esgeulustra, ac yn

inadvertently crept in and restoring a corrupted style to its original standard. But on this ground I presume you will meet insuperable difficulties, to defend your supposed improvements. That some trivial errors took place and that alterations have been made may be allowed. And what you considered a defect, some thought an improvement, and will still continue to be thought so by those that are most competent to decide. Some deference is due to the penetrating knowledge and correct judgment of such men as Dr. Davies, Archdeacon Preese, Goronwy Owen, Lewis Morris, and E. Evans. In their writings you will find the errors and corruptions you remove out of the way of your countrymen. These gentlemen with hundreds more may be considered better authorities than any now living in Wales. I should but sully their reputation by placing them in competition with the wild innovator W. Owen, who, I am informed, has no more sense than to be a disciple of Joanna Southcott. I address you as a man of sense and piety, and one that I shall always esteem for your great labours of love, and shall never knowingly throw the least barrier in the way of your usefulness in any of your undertakings; but is it right to be positive in what is dubious? To innovate without improvement? To create great confusion without conferring benefit? And greatly to embarrass the reader without paying him for his trouble? I need not tell you that such is the constitution of the human mind that newly discovered objects impress it with force. Every obstacle in our way to attain it gives uneasiness, and we relinquish our pursuit with reluctance. Still, should not a Christian minister practice self-denial and act with that superiority of mind which few men can attain to, in giving up points which to him are interesting, when their usefulness cannot be proved? I can speak from authority that many in your connection highly disapprove, nay, complain aloud of your alterations, and I believe none would regret your adopting at once the ancient mode.

adfer arddull lygredig i'w safon gwreiddiol. Ond ar y tir hwn tybiaf y cyfarfyddwch âg anhawsderau anorchfygol i amddiffyn eich gwelliantau tybiedig. Fod rhai camgymeriadau mân wedi cymeryd lle, ac fod cyfnewidiadau wedi eu gwneud,—hyn y gellir ei addef. A'r hyn a gyfrifwch chwi yn wall, hynny a ystyrir gan rai yn welliant, a pharheir i'w ystyried felly gan y rhai sydd yn fwyaf cymhwys i farnu. Y mae rhyw gymaint o barch yn ddyledus i wybodaeth dreiddgar a barn gywir y fath ddynion a Dr. Davies, Archddiacon Prys (?), Goronwy Owen, Lewis Morris, ac Evan Evans. Cewch weled yn eu hysgrifeniadau y gwallau a'r llygriadau a symudwch chwi o ffordd eich cydwladwyr. Gellir ystyried y boneddigion hyn —a channoedd ychwaneg—yn well awdurdodau na neb sydd yn fyw heddyw yng Nghymru. Ni byddwn ond yn eu dibrisio drwy eu gosod mewn cystadleuaeth â chyfnewidiwr gwyllt fel W. Owen, am yr hwn yr hysbysir fi nad oes ganddo fwy o synwyr na bod yn ddisgybl i Joanna Southcott. Cyfarchaf chwi fel gŵr synwyrol a duwiol, un a barchaf yn fawr am eich llafur mawr o gariad, ac ni thaflaf yr anhawster lleiaf ar ffordd eich defnyddioldeb mewn unrhyw un o'ch gorchwylion; ond a ydyw yn iawn bod yn bendant ar beth sydd yn amheus? I gyfnewid heb wella? I greu cymysgedd heb gyfrannu lles? ac i fawr rwystro y darllennydd heb dalu iddo am ei drafferth? Nid oes gofyn i mi ddweyd wrthych mai y cyfryw ydyw cyfansoddiad y meddwl dynol fel ag y gwneir argraff mawr arno gan ddarganfyddiadau newyddion. Y mae pob anhawster ar ein llwybr i'w cyrhaedd yn creu anesmwythtra, ac nid ydym yn rhoddi i fyny ein bwriad ond gydag anfoddlonrwydd. Er hynny, oni ddylai gweinidog Cristionogol ymarfer hunanymwadiad a gweithredu gyda'r rhagorolrwydd meddwl hwnnw y gall ychydig ei gyrhaedd, mewn rhoddi i fyny bynciau sydd yn ddyddorol iddo pan nas gellir profi eu defnyddioldeb. Gallaf ddweyd gydag awdurdod fod llawer yn eich cyfundeb yn mawr anghymeradwyo, ïe, yn cwyno yn uchel o herwydd eich cyfnewidiadau, a chredaf na byddai neb yn gofidio pe mabwysiadech ar unwaith yr hen arddull.

I should deem it a privilege to contribute, according to my small abilities, towards your magazine, and have some pieces by me which were prepared for that purpose, but should you per-

Cyfrifwn hi yn fraint i gyfranu yn ol fy ngalluoedd bychain tuag at eich Cylchgrawn, ac y mae rhai darnau gennyf wedi eu parotoi i'r amcan, ond os daliwch at eich cyfnewidiadau mabwys-

sist in your adopted alterations, I shall not consider it my duty to countenance them. What you began with were not very objectionable, had you stopped there, but you went on and still are going on. But I hope not long. Only consider what will be your wisdom in the business in question.

Begging to be kindly remembered to Mrs. Charles and Mr. T. Jones, believe me to remain always, my dear sir,

Your sincere friend and wellwisher,

THOMAS JONES.

iedig nid ystyriaf hi yn ddyledswydd i'w cefnogi. Ni buasai llawer o wrthwynebiad i'r hyn y dechreuasoch âg ef, pe byddech wedi aros yno. Ond aethoch, ac ewch eto, ymlaen. Ond gobeithiaf na ddaliwch ati yn hir. Yn unig ystyriwch beth sydd ddoethineb i chwi yn y mater dan sylw.

Gan erfyn cael fy nghofio yn garedig at Mrs. Charles a Mr. T. Jones, credwch fy mod yn aros bob amser,

Eich cyfaill a'ch ewyllysiwr da,

THOMAS JONES.

[Terfynir yr ohebiaeth hon yn ein rhifyn nesaf gyda chyhoeddiad tri o ythyrau oddiwrth Mr. Charles at ei frawd, Mr. David Charles, Caerfyrddin, yn rhoddi hanes y darpariadau a wnaed tuag at ddwyn oddiamgylch yr Ordeiniad cyntaf ymysg y Methodistiaid, ac ym mha rai y dangosir tu hwnt i bob amheuaeth y rhan flaenllaw oedd gan Mr. C. ynddynt.—GOL.]

---

# HENRY DRUMMOND.

YN ystod yr hanner canrif diweddaf ychydig o ddynion a fu yn ogyfled eu dylanwad ar ddynion ereill â Henry Drummond. Nid oedd yr haul yn machludo ar ei glod. Adnabyddid ei enw o gylch y byd. Edinburgh ydyw un o brif ffynhonnellau dysg y deyrnas hon, a'r agosaf yn ddiau at Rydychen a Chaergrawnt mewn enwogrwydd ac urddas. Ymysg efrydwyr y brifysgol yno ceir gwŷr ieuainc o bob gwlad a chenedl, yn ymbaratoi ar gyfer y galwedigaethau mwyaf anrhydeddus, ac wedi gorffen eu hefrydiau bydd y rhai hyn yn troi yn y cylchoedd pwysicaf, ac mewn mantais neillduol i gario dylanwad dwfn ar y rhai a ddaw i gyffyrddiad â hwy. Yr Efrydwyr hyn oedd maes llafur Drummond, a thrwyddynt hwy dylanwadodd yn fawr ar y byd. Bu am flynyddau yn nhymor y gauaf yn cynnal cyfarfodydd crefyddol gyda hwynt ar nos Sabothau yn yr Oddfellows' Hall. Rhifai y gynulleidfa o ddeg i ddeuddeg cant. Yn y cyfarfodydd hyn, drwy ei anerchiadau a'i ymddiddanion personol, llwyddodd i arwain cannoedd o ddynion ieuainc at Iesu Grist. Daethant i'w adnabod ac i ymgysegru i'w wasanaeth. Y mae y dynion hynny heddyw ymhob gwlad, yn feddygon ac yn gyfreithwyr, yn farsiandwyr ac yn genhadon, oll yn gweithio eu goreu yn eu gwahanol gylchoedd i wella cymdeithas ac i arwain dynion at y Gwaredwr y cawsant hwy iachawdwriaeth ynddo. Byddant yn diolch byth i Dduw am Henry Drummond. Trwyddo ef y cyfodwyd hwy ar eu traed. Bu eu cyfarfyddiad âg ef yn ddechreuad newydd yn eu hanes. Cawsant trwyddo ef y peth hwnnw a'u gwnaeth yn orchfygwyr ar y byd, yr hwn cyn hynny oedd yn eu tynnu fwy-fwy i'w grafangau, ac yn eu mathru dan ei draed. Y mae Drummond yn

byw eto yn y dynion hyn; yn byw yn eu cof a'u serchiadau, yn byw yn eu hymdrech hwy i ddilyn ei esiampl aruchel, ac yn byw yn yr ysbrydoliaeth a dderbyniasant oddiwrtho. Er iddo farw yn saith a deugain oed, bu farw yn fyd-enwog; a bydd fyw yn hwy na llawer a fuant feirw yn hŷn nag ef.

Yn ddiweddar cyhoeddwyd bywgraffiad rhagorol iddo, wedi ei ysgrifennu gan un o'i gyfeillion, sef Dr. George Adam Smith. I'r cofiant hwnnw yr ydym yn ddyledus am ddefnyddiau yr ysgrif hon. Ganwyd ef yn nhref Stirling, ar yr eilfed dydd ar bymtheg o fis Awst, 1851. Yr oedd yn un o chwech o blant, pedwar o feibion a dwy o ferched. Anfonwyd ei frawd hynaf ac yntau i ddechreu i ysgol a gedwid yn bennaf i enethod, ac oddiyno aeth pan o chwech i saith oed i Ysgol Ramadegol Stirling. Ond y cae chwareu oedd ei brif atyniad, ac yr oed yn enwocach yno nag yn y dosbarthiadau. Pan yn ddeuddeg oed, aeth ei frawd ac yntau i Grieff, i Athrofa Morison Yng Ngorffennaf, 1866, gadawodd y lle hwn drachefn, a chariodd gydag ef amryw wobrwyon am ragoriaeth mewn Lladin a Saesneg a phethau ereill. Yn yr Hydref dilynol, pan nad oedd ond pymtheg oed, pasiodd yr arholiad am fynediad i mewn i brifysgol Edinburgh. Canolig iawn a fu ei yrfa yno. Ni ddisgleiriodd mewn dim, ac ymadawodd ar y diwedd heb raddio. Gresyn oedd hynny. Teimlai ei gyfeillion, a theimlai ef ei hunan hyd y diwedd, ei fod yn ddiffyg pwysig yn ei hanes. Tua'r amser hwn sefydlwyd ymysg yr efrydwyr gymdeithas a elwid "The Philomathic Society." Daeth Drummond yn aelod o honi, ac yn bur fuan i fod yn llywydd arni. Bu y gymdeithas hon yn ddisgyblaeth neillduol iddo, a diameu ei fod yn dra dyledus iddi am yr arddull brydferth a swynol oedd ganddo wrth siarad ac ysgrifennu.

Gweinidog yr efengyl yn Eglwys Rydd Scotland a fwriadai efe fod, a chyflwynodd ei hunan i'r eglwys honno fel ymgeisydd am y weinidogaeth. Yn Nhachwedd, 1870, aeth i'r New College, Edinburgh, yr hwn ydyw prif sefydliad duwinyddol yr Eglwys Rydd. Prif faes ei efrydiaeth ydoedd gwyddoniaeth naturiol, am fod gogwydd ei feddwl yn fwy at y gangen honno. Pan alwyd arno i roddi yr homili arferol o flaen dosbarth *apologetics*, y testyn a ddewisodd oedd "Chwe diwrnod y cread;" a phan yn ddiweddarach y galwyd ef i ddarllen papur o flaen dosbarth Duwinyddiaeth Gyfundrefnol, ei destyn oedd "Yr athrawiaeth am y greadigaeth." Dengys hyn i ba gyfeiriad yr oedd ei feddwl yn tueddu. Rhodiai y terfynau rhwng gwyddoniaeth a duwinyddiaeth, a braidd na thybiem fod ei hyfrydwch yn fwy gyda'r flaenaf na'r ddiweddaf. Ar derfyn ei drydydd tymor yn yr athrofa dduwinyddol, sef Ebrill, 1873, aeth Drummond a dau o'i gydefrydwyr trosodd i Germani i athrofa Tübingen, lle y pryd hwnnw yr oedd Beck, Weizsacker, Rothe a Pressel yn athrawon. Tra y bu yno dilynodd y dosbarthiadau. Ond iddo ef llawer pwysicach oedd bywyd cyffredinol, ac awyrgylch gymdeithasol y lle, pa rai a adawsant argraff arosol arno.

Rhaid wrth bedair blynedd i fyned trwy gwrs yr addysg yn y coleg duwinyddol, ac ar ei ddychweliad o Germani bwriadai Drummond ohirio ei bedwerydd tymor am flwyddyn neu ddwy er mwyn rhoddi y gauaf hwnnw yn gwbl i astudio gwyddoniaeth naturiol. Dychwelodd

i'r brifysgol i ddilyn y dosbarthiadau mewn Llysieuaeth, Fferylliaeth, Milofyddiaeth, ynghŷd â Daeareg

Pa fodd bynnag, cadwodd ei le fel llywydd y Gymdeithas Dduwinyddol yn Athrofa yr Eglwys Rydd; a'r pryd hwnnw y darllennodd ei bapur rhyfedd ar "Spiritual Diagnosis." Yr adeg hon hefyd y dechreuodd gymeryd rhan mewn gwaith cenhadol mewn ysgoldy perthynol i eglwys Sant Cuthbert. Yn Ebrill, 1876, gorffennodd ei gwrs yn yr athrofa dduwinyddol, a phasiodd yr arholiad terfynol. Yr haf dilynol derbyniodd liaws o wahoddiadau—rhai oddiwrth weinidogion enwog i ddyfod yn gynorthwywr iddynt, ac ereill oddiwrth eglwysi oeddynt ar y pryd heb fugeiliaid arnynt. Ond gwrthododd hwynt oll. Yr oedd ei feddwl yn sigledig gyda golwg ar y llwybr i'w gymeryd, a'r dyfodol yn ymddangos yn hynod o dywyll iddo. Yn niwedd y flwyddyn cydsyniodd â chais oddiwrth Mr. Wilson, gweinidog y Barclay Church, i ddyfod yn gynorthwywr iddo am ychydig fisoedd. Erbyn mis Mai yr oedd iechyd Mr. Wilson wedi adferu, ymadawodd Drummond, ac aeth gydag un o'i gyfeillion am dro i Norway. Amser anedwydd iawn iddo oedd y misoedd hyn, oblegyd fod y dyfodol yn ymddangos mor dywyll ac ansicr. Ar ei ddychweliad o Norway clywodd am farwolaeth Mr. Keddie, y gŵr ag oedd yn ddarlithydd ar Wyddoniaeth Naturiol yn athrofa yr Eglwys Rydd yn Glasgow. Ysgrifennodd yn ddioed at y prifathraw, Dr. Douglas, i ofyn a fyddai o ryw ddiben iddo dreio am y swydd. Derbyniodd atebiad tra chefnogol, a chafodd dystysgrif hynod o gymeradwyol oddiwrth y Proffeswr Archibald Geikie. Y canlyniad fu i bwyllgor Athrofaol y Gymanfa Gyffredinol ei apwyntio yn ddarlithydd gyda chyflog o gant a hanner o bunnau yn flynyddol. Yn 1883 cynygiodd Mr. James Stevenson, o Largs, swm mawr o arian tuag at ychwanegu cyflog y darlithydd ar Wyddoniaeth yng Ngholeg Glasgow, os byddai i'r Gymanfa ddyrchafu y darlithydd i fod yn Broffeswr, ac i'r swydd gael ei gosod ar yr un tir o ran urddas a phwysigrwydd âg eiddo y pedwar athraw ereill, pa rai a ffurfient y senedd. Derbyniwyd y cynygiad, a dewisiwyd Henry Drummond yn unfrydol i'r gadair newydd. Cyfarwyddodd y Gymanfa Henaduriaeth Glasgow i wneud y trefniadau angenrheidiol tuag at ei ordeinio, yr hyn a gymerodd le Tachwedd 4ydd, yn ol defod yr Ysgotiaid, trwy arddodiad dwylaw yr Henaduriaeth. Fel hyn y gosodwyd ef yn y swydd, yn yr hon yr arosodd hyd ddiwedd ei oes Er cael ei ordeinio ni fynnai edrych arno ei hunan fel gweinidog yr efengyl. Ymwrthodai â'r teitl ac â'r wisg bregethwrol, a dadleuai, er difyrwch i'w gyfeillion, na chafodd ei ordeinio. Er hynny gweinidog oedd efe. Oblegyd nid yw yr Eglwys Rydd yn gwneud gwahaniaeth rhwng ei hathrawon a'i bugeiliaid. Ystyriant y dylai y rhai sydd yn addysgu ymgeiswyr am y weinidogaeth fod eu hunain yn weinidogion profedig. Yr oedd Henry Drummond felly. Er iddo ymwrthod â'r teitl parchedig, ac er iddo barhau i wisgo fel lleygwr, eto y mae cynnwys ei bregethau, ynghŷd â'r effeithiau a gynyrchwyd trwyddynt, yn profi ei fod ef wedi ei anfon gan Dduw.

Wele ni yn awr wedi rhoddi crynhodeb byr o hanes Drummond o'i febyd hyd nes y daeth i fod yn athraw yn un o golegau duwinyddol yr eglwys y perthynai iddi. Dywedasom ar y dechreu mai ychydig o

ddynion yn yr hanner canrif diweddaf a gariodd gymaint o ddylanwad ar ereill ag a wnaeth ef. Pa gyfrif sydd i'w roddi am hynny? Beth oedd dirgelwch ei ddylanwad? Hanes digon cyffredin ydyw yr un a gofnodir uchod. Nis gellir dweyd am dano ei fod yn ysgolhaig, oblegyd methodd a graddio ym mhrifysgol ei wlad ar ol myned trwy y cwrs arferol. Nid oedd y swydd a ddaliai yn un bwysig, safle ailraddol oedd iddi yng ngolwg Cyfeisteddfod yr Athrofa ar y dechreu, ac felly yn ddiau y buasai yn parhau, oni buasai am haelfrydedd Mr. James Stevenson. Er hynny daeth y gŵr hwn yn fwy adnabyddus ac yn eangach ei ddylanwad na'r un dyn arall yn Scotland yn ei amser. Yr ydym yn arfer y gair *eangach*, gan olygu y gallai fod ereill a'u dylanwad yn ddyfnach ac yn fwy parhaol na'r eiddo ef. Pe gofynnid beth oedd dylanwad Henry Drummond, dylanwad o ba fath nodwedd ydoedd, ac o ba ffynhonnellau yr oedd yn tarddu, buasem yn ateb mai ei bersonoliaeth a'i gymeriad ydoedd prif ffynonnell ei ddylanwad. Meddai ar ddynoliaeth ardderchog, wedi ymagor yn llawn, ac wedi ymwisgo mewn cymeriad Cristionogol o'r fath fwyaf pur a goruchel. Yn y portrëad a roddir o'i gymeriad gan ei fywgraffydd dywed: "Yr ydym yn addef fod Henry Drummond, trwy ei enedigaeth, yn etifedd rhinwedd. Ychydig o ddynion a wnaethant lawer o ddaioni yn y byd nad oeddynt wedi eu geni gyda'r ddawn i hynny. Cymer fwy nag un genedlaeth i ddwyn allan y dyn perffeithgwbl. Y cymeriad sydd yn llifo trwy y byd fel afon gref, y mae hwnnw yn cael ei gyflenwi o ryw gorlyn pell ac unig na chlywodd y byd erioed son am ei enw. Dynion dinod oedd cyndadau Henry Drummond, yn arwain bywyd pur a gonest, yn cyflawni yn gydwybodol eu dyledswydd i Dduw a dynion." Yr oedd ganddo gorff lluniaidd, tal, llathraidd ac ystwyth. Ei dymer yn nwyfus a chwareus: calon fawr eang a llawn cydymdeimlad: ei wyneb a'i lygaid yn dangos gonestrwydd ac unplygrwydd ag oedd ar unwaith yn ennill ymddiried pawb a ddeuent i gyffyrddiad ag ef. Yr oedd rhyw swyn rhyfedd yn perthyn iddo, rhyw ddylanwad cyfrin ag oedd yn tynnu ato. Er iddo gael ei freintio fel hyn â dynoliaeth mor hynaws a dymunol, nid oedd hynny yn ei godi uwchlaw temtasiynau a phrofedigaethau bywyd. Bu Rhagluniaeth yn wir yn dyner iawn o hono. Ni wyddai trwy brofiad beth oedd tlodi, amddifadrwydd o gyfeillion, nac afiechyd, hyd nes y daeth yr afiechyd a fu yn angeu iddo, ac yr oedd yn unarbymtheg ar hugain oed pan y daeth angeu gyntaf i'w deulu. Gwyddai er hynny am ystormydd mewnol: gwyddai beth oedd ymladd yn erbyn byd a chnawd, fel y dengys ei bregethau a'i anerchiadau. Yr oedd ganddo yn naturiol ddynoliaeth hawddgar, ond disgyblaeth a meithriniad a barodd iddi dyfu i fod yn allu mor gryf yn ei ddylanwad ar ereill Y mae hyn yn ein harwain i ymofyn pa sut y tyfodd hi. Nid oddifewn yn unig y mae elfennau tyfiant. Rhaid wrth ddylanwadau o'r tuallan i ddadblygu yr hyn sydd o'r tufewn. Beth oedd y dylanwadau a fu yn gweithredu ar Henry Drummond i beri iddo dyfu i fod yr hyn ydoedd? Tyfodd o ran ei gymeriad, ymeangodd ei syniadau, dyfnhaodd ei gydymdeimlad, ac aeth ei ysbryd yn oddaith gan sêl ac awyddfryd am achub dynion. Pa fodd?

Adfywiad crefyddol grymus oedd y prif ddylanwad yn ffurfiad y cymeriad hwn. Tua diwedd haf y flwyddyn 1873, glaniodd dau

efengylydd Americanaidd yn Liverpool. Eu henwau oedd Mr. D. L. Moody a Mr. Ira D. Sankey. Yr oedd y naill yn pregethu yr efengyl a'r llall yn ei chanu. Nid oedd neb yn y wlad hon yn eu hadnabod. Aeth eu cenhadaeth yn fethiant yn Liverpool ac York, ond yn Newcastle a Sunderland torrodd y wawr arnynt. Aeth y son am y llwyddiant a ddilynai eu cyfarfodydd dros y wlad. Teimlid awydd cryf mewn llawer o drefi Ysgotland am iddynt ymweled â hwy, ac wedi peth ymgynghoriad penderfynasant ddechreu yn Edinburgh Tachwedd 23. Digon tywyll oedd y cychwyniad. Oblegyd y diwrnod cyntaf yr oedd Mr. Moody yn analluog i siarad oherwydd afiechyd, a'r ail ddiwrnod yr oedd organ Mr. Sankey wedi torri nes anhwyluso y canu. Pa fodd bynnag, llwyddiant mawr a ddaeth. Cododd y llanw yn uwch uwch nes yr oedd yr holl ddinas yn teimlo oddiwrth y symudiad. Llenwid yr adeiladau eangaf hyd na byddai lle. Teimlid rhyw ddylanwad rhyfedd a dieithr yn y cyfarfodydd, ac ar y diwedd byddai ugeiniau yn aros yn ol i gael ymddiddan â hwynt a gweddïo trostynt. Yr oedd holl weinidogion Edinburgh yn mynychu y cyfarfodydd, a dynion o bob math ar gredo, a llawer heb gredo yn y byd, a phawb yn teimlo i ryw fesur oddiwrth y difrifwch oedd yn treiddio trwy yr holl weithrediadau. Yr oedd gan Drummond ddyddlyfr, ac yn hwnnw cadwai gofnodion o'r cyfarfodydd ynglŷn â'r genhadaeth fechan yn Riego Street. Nid oes dim wedi ei ddodi i lawr yn y dyddlyfr hwnnw ar ol dyddiad dyfodiad yr efengylwyr i Edinburgh, yr hyn a ddengys fod y gŵr ieuanc wedi cael ei gario ymaith yn llwyr gan y symudiad. Yr oedd llawer o bethau ynglŷn â'r efengylwyr, ac a'u dull o gario ymlaen, hollol groes i chwaeth a theimlad Drummond. Yr oedd aceniad ac arddull y pregethwr yn yr eithaf gwrthgyferbyniol i'r eiddo ef. A chas beth ganddo oedd cynulliadau mawrion. Y ddolen oedd yn ei gydio ef wrth y symudiad ydoedd yr *enquiry room*. Yn y traethawd hynod a ddarllennodd o flaen cymdeithas dduwinyddol New College ar *Spiritual Diagnosis*, dadleuai mai diffyg mawr crefydd yr oes ydoedd amddifadrwydd o'r elfen bersonol. Ymwneud yr ydys â dynion yn dyrfaoedd, a phregethu i gynulleidfa. Credai ef y gellid gwneud mwy o ddaioni trwy ymddiddanion personol. Ymddiddan â'r bobl bob yn un. Cael dyn ar ei ben ei hun, treiddio i'w galon, a chael allan gyfrinach ei fywyd : ei ddwyn wyneb yn wyneb â'i gyflwr colledig, a'i arwain at y Ceidwad. Teimlai fod yr *enquiry room* yn cyflenwi y diffyg. Gwelai fod yn y cyfarfodydd hynny gyfle ardderchog i roddi mewn ymarferiad ddamcaniaethau y traethawd. Ac yn ystafell yr ymofynwyr y dechreuodd Drummond. Yr oedd difrifwch Mr. Moody a gwaith yr *enquiry room* wedi ei lwyr orchfygu. Byddai yn y cyfarfodydd hyn bob nos, a gwelid ef yn myned tuag adref trwy yr heolydd ac un o'r trueiniaid y bu yn ymddiddan â hwy ac yn gweddïo trostynt yn ei fraich. Fel yr oedd y gwaith rhyfedd yn myned rhagddo yn Edinburgh ymledai y son am dano i bob cyfeiriad. A mawr oedd awydd y bobl am glywed yr hanes, fel yr anfonent yn barhaus am i rywrai ddyfod i'w ddesgrifio iddynt. Ymunodd nifer o efrydwyr y New College yn fath o bwyllgor i dderbyn y ceisiadau hyn, ac i anfon siaradwyr allan i gynnal cyfarfodydd. Heblaw rhoddi hanes y diwygiad gwnaent eu goreu i gario y diwygiad gyda hwynt. Trwyddynt

hwy cerddodd tân sanctaidd i bob cŵr o'r wlad. Yr oedd Drummond ymysg y rhai mwyaf selog a phoethlyd o'r fintai hon.

Pan oedd Mr. Moody yn Glasgow anfonodd i Edinburgh am i nifer o'r efrydwyr ddyfod ato i'w gynorthwyo. Anfonwyd chwech, ac yn eu plith yr oedd Drummond. Cynhelid y cyfarfod y noson honno yn Ewing Place, addoldŷ yr Anibynwyr. Cyfarfod arbennig i ddynion ieuainc oedd hwn, ac yr oedd yr adeilad yn llawn. Siaradodd y chwech ac ereill gyda hwynt. Noson i'w chofio byth oedd honno. Yr oedd rhyw ddylanwad rhyfedd a gorchfygol yn cael ei deimlo gan yr holl dyrfa. Ar y diwedd gorchymynodd Mr. Moody glirio yr eisteddleoedd blaenaf, a gwahoddodd bawb a ddymunent gael gweddïo drostynt i ddyfod ymlaen ac eistedd arnynt. Daeth cant ac un o ddynion ieuainc ymlaen. Nid bechgyn gwamal penchwiban a pharod i gymeryd eu cario ymaith gyda phob awel oedd y rhai hyn, ond gwŷr ieuainc deallus a bucheddol, lawer o honynt, ac yn teimlo i'r byw o dan argyhoeddiadau dyfnion iawn. Aeth y lle bron yn anioddefol i fod ynddo am ei fod mor llawn o Dduw. Adnabyddir y noson honno byth yn Yscotland fel "Noson y cant ac un." Gadawodd y noswaith argraff ddofn ar feddwl y chwe' gŵr ieuanc o Edinburgh, a rhoddes Drummond Feibl wedi ei rwymo mewn *morrocco* i bob un o honynt i gofio am dani.

Y mae Mr. Moody yn nodedig am ei graffder a'i allu rhyfedd i adnabod dynion. Er ei glod byth adnabyddodd Henry Drummond, a gwelodd y gallai wneud defnydd ardderchog o hono. Mewn canlyniad i'r hyn a welodd ar y gŵr ieuanc yn Glasgow, ac wedi hynny yn Elgin, penderfynodd Mr. Moody ei anfon i Sunderland i gario yr adfywiad ymlaen yn bennaf ymysg y dynion ieuainc. Mor fawr oedd y llwyddiant ynglŷn âg ef yno fel y bu raid cael dau ereill o'r efrydwyr i'w gynorthwyo. Anerchai yn fynych gynnulleidfaoedd yn rhifo o dair i bedair mil. Anerchai yn feunyddiol ganoedd o ddynion ieuainc. Byddai ugeiniau o ymofynwyr pryderus yn dyfod ato bob dydd, ac yn adrodd wrtho eu holl hanes. Erbyn diwedd ei genhadaeth i Sunderland, yr oedd yn y dref honno ei hunan dros fil yn arwyddo â'u llaw eu bod wedi dyfod at Iesu Grist. O hyn allan yr ydym yn ei gael yn dilyn yn ol y ddau efengylydd. Pan y byddent hwy yn gadael y naill dref i fyned i un arall, deuai Drummond i'r dref a adewid ganddynt hwy i gario y gwaith ymlaen yn bennaf ymhlith y bobl ieuainc. Gwnai hyn wrth gynghor a chyfarwyddyd Mr. Moody. Dilynodd hwynt yn y dull hwn i Belfast, Londonderry a Dublin, ac oddiyno i Manchester, Sheffield, Birmingham a Liverpool. Ar y pedwerydd dydd ar ddeg o Fawrth, 1875, dechreuodd Mr. Moody yn Llundain. Yr adeilad lle y cychwynodd oedd yr Agricultural Hall, Islington. Y nos Saboth cyntaf yr oedd y lle yn llawn, a'r gynulleidfa yn rhifo tros bedair mil ar ddeg. Daeth Drummond i'r brif-ddinas yr wythnos gyntaf yn Ebrill, ac arosodd yno hyd Gorffennaf. Yma y daeth cenhadaeth yr Americaniaid i ben, cenhadaeth a fu yn foddion i ddwyn miloedd o eneidiau at Grist, ac i beri i filoedd o'i ganlynwyr ddyfod i'w adnabod yn well, i'w garu yn fwy, ac i gyflwyno eu hunain yn llwyrach i'w wasanaeth. O Ebrill, 1874, hyd Gorffennaf, 1875, bu Drummond ym mhoethder y diwygiad hwn. Dyma a'i gwnaeth ef y peth ydoedd. Y misoedd hynny oedd yr ysgol a'r ddisgyblaeth oreu gafodd. Yn y

cyfarfodydd hynny y dysgodd siarad, yno y dysgodd feddiannu a llywodraethu ei hunan, yno y dysgodd adnabod a gwerthfawrogi talentau dynion ereill, ac yno hefyd yr enillodd ryw allu rhyfedd i listio y talentau hynny i deyrnas a gwasanaeth yr Iesu. Trwy y cyfarfodydd yn yr *enquiry rooms*, a'i ymddiddanion personol, daeth i adnabod bywyd yn ei holl agweddau, deallodd y ffordd i galonnau dynion, ac enillodd fedr mawr i feddyginiaethu clwyfau yr enaid. Yr oedd Drummond wedi tyfu yn rhyfeddol erbyn diwedd y pymtheng mis. Ac ni thyfodd yn fwy mewn dim nag mewn cydymdeimlad eang a dwfn â dynion oeddynt yng nghaethiwed pechod ac yn dyheu am ddyfod yn rhydd. Derbyniodd gannoedd o lythyrau oddiwrth y caethion hyn yn adrodd eu hanes ac yn gofyn am ei gynghor a'i weddïau drostynt. Yn y cyfarfodydd ar ol gwrandawodd ar gannoedd o gyffesiadau yn cynnwys dadleniad o fywyd aflan a phechadurus. Yr oedd y pethau hyn yn boenus iawn iddo. Deuai i'w lety lawer noswaith a'i wyneb yn welw a'i galon yn drist, a dywedai fod y pethau a wrandawodd yn yr *enquiry room* wedi ei wneud yn sal. "Yr wyf yn teimlo y buasai yn dda gennyf gael newid fy nillad. Pa fodd y mae yr Arglwydd yn goddef dynion ar y ddaear i arwain bywyd mor anuwiol?" Byddai er hynny yn gweled rhyw ysmotyn gwŷn ar y cymeriadau duaf, a medrodd wneud i gannoedd o ddynion oeddynt wedi anobeithio am danynt eu hunain yn llwyr gredu fod eu hiachawdwriaeth yn bosibl. Llawer enaid a ddaeth ato yn drist a aeth ymaith gan lawenhau. Nid oedd y pryd hwn ond tair ar hugain oed, ac eto yr ydoedd yn wrthrych edmygedd a pharch degau o filoedd. Yr ydym wedi ymdroi yn hir gyda hanes y diwygiad, a hynny am y rheswm mai y symudiad hwn ydoedd y prif ddylanwad yn ffurfiad cymeriad Henry Drummond. Gallasai ef ddweyd gyda golwg ar Mr. Moody,

> "Tra bo anadl yn fy ffroenau,
> Mi a'i galwaf ef yn *dad*."

Yn y blynyddoedd hynny cychwynodd symudiad pwysig arall yn y byd crefyddol yn Ysgotland. Arweinydd y symudiad hwn ydoedd y Proffeswr Robertson Smith. Calfinaidd hollol ydoedd diwinyddiaeth yr Eglwys Rydd wedi bod o'r dechreu. Glynent yn fanwl wrth y Catichism. Credent fod pob gair a llythyren o'r Beibl yn ysbrydoledig, a phe buasai rhyw weinidog yn awgrymu fod ynddo gamgymeriadau mewn geiriau a ffigyrau buasai hynny yn ddigon i achosi ei ddiarddeliad. Yn narlithoedd ac ysgrifeniadau Robertson Smith a Dr. Davidson dechreuodd beirniadaeth Feiblaidd godi ei phen. Dylanwadodd eu dysgeidiaeth yn fawr ar yr efrydwyr, y goreuon o ba rai a arferent y pryd hwn fyned trosodd ym misoedd yr haf i athrofeydd Germani, lle yr oedd uwch-feirniadaeth mewn llawn rwysg. Enillodd y ddysg newydd dir yn gyflym yn Ysgotland, a gwnaeth gynhwrf mawr yng ngwersyll yr Eglwys Rydd, drwy i'r hen a'r ieuanc ddyfod i wrthdarawiad. Buasai y symudiad hwn, yn ol syniad Dr. Robertson Nicol, wedi rhwygo yr Eglwys Rydd, oni buasai iddo gael ei ragflaenu gan yr adfywiad trwy Mr. Moody. Yr oedd yr adfywiad wedi codi y Beibl a'r dosbarth Beiblaidd i fri mawr. Nid oedd neb o'r ochr arall yn fwy eu

parch i'r Beibl, ac yn llawnach o ysbryd y diwygiad, na phleidwyr y ddysgeidiaeth newydd. Cafodd y symudiad hwn ddylanwad dwfn ar Drummond. Arweiniwyd ef i fyd newydd. Eangwyd ei syniadau, a dysgodd gyd-ddwyn â rhai yn gweled ac yn barnu yn wahanol iddo ef. Pan ymsefydlodd yn Glasgow, ymunodd âg eglwys Dr. Dods, a daeth trwy hynny i gysylltiad agos a'r gŵr dysgedig hwnnw. A dyma eiriau Drummond ei hun am y cysylltiad hwn: —"Gallaf hawlio Dr. Dods nid yn unig fel cyfaill a brawd i mi, ond fel y dylanwad mwyaf mewn amryw gyfeiriadau a ddaeth erioed ar draws fy llwybr: ac os bum i, yn fy ffordd wael, yn foddion i wneud rhywbeth er helpu ereill, y mae hynny yn ddyledus i'r hyn a wnaeth ef, yn bennaf trwy ei gymeriad ardderchog, er fy helpu i." Ymysg yr "amryw gyfeiriadau" y bu Dr. Dods yn help iddo, yr oedd yr agoriad llygaid a gafodd ganddo ef gyda golwg ar feirniadaeth Feiblaidd, a'r modd y gellir cymhwyso athrawiaeth dadblygiad i ddysgu ac egluro natur crefydd.

Peth arall a effeithiodd yn fawr ar ei syniadau duwinyddol ydoedd ei efrydiau gwyddonol. At wyddoniaeth yr oedd tuedd naturiol ei feddwl, a'r gangen hon a ddysgid ganddo wrth ei swydd yn yr athrofa. Nis gellir dweyd iddo ddyfod yn awdurdod mewn gwyddoniaeth, ond enillodd y fath safle fel ag i gael ei gydnabod a'i barchu gan y gwyddonwyr blaenaf. Gan ei fod yn darllen ac yn meddwl cymaint yn y cyfeiriad hwn naturiol oedd i'w dduwinyddiaeth gael ei lliwio yn drwm gan y wyddoniaeth a ddysgai. Wedi dyfod i Glasgow llafuriai ynglyn â chenadaeth berthynol i eglwys Dr. Dods. Yn yr ystafell genadol honno ar y Sabothau traddododd gyfres o anerchiadau, pa rai ar ol hynny a gyhoeddodd efe yn llyfr. Hwn ydoedd ei lyfr cyntaf, a'i deitl ydyw *Natural Law in the Spiritual World.* Oddiwrth y teitl buasai y darllenydd yn disgwyl fod yr awdwr yn profi mai yr un deddfau sydd yn rheoli y ddau fyd, sef y materol a'r ysbrydol. Cydnebydd ef ei hun, os na lwyddodd i brofi fod deddfau y ddau fyd yr un, na lwyddodd i brofi dim. Daeth y llyfr ar unwaith i fri anghyffredin, mawr oedd y galw am dano, a'r naill argraffiad ar ol y llall yn gwerthu gyda chyflymder digyffelyb. Daeth y beirniaid hefyd allan yn llu, a rhidylliwyd y llyfr gan eu bwledi. Dangoswyd ei fod wedi methu yn ei brif nôd, sef profi fod deddfau y byd naturiol a'r byd ysbrydol yr un. Y mae yr holl ymresymiad yn gorffwys ar ddau osodiad ydynt hyd yn hyn heb eu profi, a gosodiadau ag ydynt, yn ol syniad llawer, yn amhosibl eu profi. Y cyntaf o'r gosodiadau hyn ydyw fod deddf parhad (*law of continuity*) yn cyrhaedd trwodd o'r byd materol i'r byd ysbrydol. Y mae gwyddoniaeth yn dysgu fod deddfau yn y byd materol yn parhau yr un ym mhob man ar bob adeg, ac o dan bob amgylchiadau. Yr un deddfau sydd yn gweithio drwy natur heddyw ac oedd yn gweithio drwyddi filiynau o flynyddau yn ol, ac ar bob adeg yn wir o'r dechreuad. Yr un deddfau sydd i'r ddaear ac i'r haul, a'r deddfau hynny hefyd sydd yn rheoli y planedau. Dadl Drummond ydyw fod y parhad hwn yn cyrhaedd drwodd i'r byd ysbrydol, a dyma un o gerrig sylfaen ei ymresymiad. Ond nis gallodd brofi fod y gosodiad hwn yn wir; yn hytrach haera mai dyledswydd y rhai sydd yn gwadu y parhad ydyw profi. Begio y cwestiwn ydyw hyn, ac adeiladu ar sylfaen ddychymygol yn hytrach na phrofedig.

Yr ail osodiad y gorffwysa ei ymresymiad arno ydyw fod bywyd yn y ddau fyd yr un. Canfyddodd fod ym mhrofiad crefyddol dyn ryw bethau ag ydynt yn cyfateb i rai o nodweddion bywyd anianyddol. Ac oddiwrth hynny aeth ymlaen i ddesgrifio y ddau fywyd fel pe byddent yr un. O'r holl feirniaid nid oes neb wedi gwneud gwell tegwch â'r llyfr na Dr. Denney, a dyma fel y dywed ef ar y mater hwn: "Yr ydym yn gweled fod bywyd naturiol yn dyfod o ryw fywyd naturiol arall ag oedd yn bod o'i flaen, a hynny, fel y rhaid i ni ychwanegu, yn unol â rhyw ddeddf, deddf penderfyniad anianyddol angenrheidiol *(law of necessary physical determination)*; ac yr ydym yn gweled fod bywyd ysbrydol yn dyfod o fywyd ysbrydol arall ag oedd yn bod o'i flaen, a hynny, fel y rhaid i ni ychwanegu eto, yn ol deddf arall, deddf penderfyniad moesol rhydd mewn cyd-gordiad a drychfeddwl y bywyd hwnnw; ac y mae y ddwy ddeddf hyn yn hollol wahanol. A'r hyn sydd fwy, hyd nes y byddwn yn sylweddoli y gwahaniaeth, ni byddwn yng ngolwg y byd ysbrydol. Oddiar y safbwynt hwn, yr hwn hefyd sydd yn cymeryd i mewn y ffeithiau ysbrydol yn eu holl gymhletholrwydd a'u dyrysni, gallwn weled pa mor gyfeiliornus ac amherthynasol ydyw llawer o ragymadrodd a rhagarweiniad Mr. Drummond." Rhai o'i feirniaid a haerent ei fod yn anghyson, ac nas gallasai gysoni ei osodiadau gyda golwg ar weithrediad dwyfol a chyfrifoldeb dyn. Eraill a dramgwyddent yn fawr oblegid nad oes gyfeiriad at yr *iawn* yn y llyfr, ac fod yr awdwr drwy hynny yn anwybyddu hanfod yr efengyl. Haerai rhai ei fod yn dysgu difodiant yr annuwiol, ac mai y saint yn unig fydd yn bod mewn sefyllfa ddyfodol. Dywed Dr. Nicol: "Er fod y gyfrol wedi ei hysgrifennu gyda meddwl clir a dychymyg byw, ac yn llawn o'r ysbryd Cristionogol, eto yr wyf yn credu mai barn y rhai cymhwysaf i farnu am dani ydyw, nad yw personoliaeth, rhyddid a chydwybod yn cael y lle a berthyn iddynt gan yr awdwr. Pethau ydyw y rhai hyn ag y gellir dweyd fod Gwyddoniaeth wedi troi ei holl fagnelau yn eu herbyn, mor bell ag i geisio dinystrio personoliaeth dyn, ond pethau ag y mae bywyd moesoldeb a chrefydd wedi ei lapio i fyny ynddynt." Er yr holl feirniadu a fu ar y llyfr hwn, ni chafodd un llyfr o'i fath gylchrediad mor fawr. Gwerthwyd tros 120,000 o gopiau o hono yn y wlad hon. Cyfieithwyd ef i amryw o ieithoedd y cyfandir, a gwerthwyd miloedd ar filoedd o hono yn America ac Awstralia. Duw yn unig a wyr faint y daioni a ddaeth drwyddo i ddynion. Pa gyfrif sydd i'w roddi am ei boblogrwydd mawr? Un peth sydd yn rhoddi cyfrif am hynny ydyw arddull glir, syml, brydferth a swynol yr awdwr. Ond rheswm cryfach ydyw fod y teimlad yn ffynnu yn lled gyffredin fod gwyddoniaeth a chrefydd mewn rhyfel â'u gilydd: fod y flaenaf yn ddiweddar yn milwrio yn erbyn y ddiweddaf. Yr oedd hyn yn peri gofid dwys i lawer. Ar y naill law teimlent nerth y gwrthddadleuon a gyfodid gan wyddoniaeth, ac, ar y llaw arall, teimlent ymlyniad diildio wrth grefydd. Oblegyd crefydd oedd goleuni eu bywyd; ynddi hi yr oedd y trysorau pennaf a feddent, ac wedi ei cholli teimlant y buasent yn fythol dlawd. *Natural Law* gan Drummond oedd yr ymgais cyntaf i gymmodi y ddwy. Yr oedd y llyfr yn dyfod oddiwrth ddyn oedd yn cyfuno ynddo ei hun ddarlithydd ar wyddoniaeth ac

efengylydd o'r fath fwyaf poblogaidd a llwyddiannus. Cyfarfyddodd ar unwaith â miloedd o galonnau ag oeddynt yn dyheu am rywbeth o'r fath. Derbyniodd yr awdwr gannoedd o lythyrau sydd yn dangos fod y gyfrol wedi dwyn tangnefedd i fynwesau oeddynt cyn hynny yn llawn terfysg.

Yn y flwyddyn 1894 cyhoeddodd Drummond gyfrol arall yn dwyn y teitl *The Ascent of Man*. Yr oedd y gyfrol hon yn ffrwyth blynyddoedd o efrydiaeth ac o weithio caled. Traddodwyd y penodau cyntaf o honi fel Darlithiau Lowell yn Boston, America, i gynulleidfaoedd mawrion. Ymgais ydyw y llyfr hwn i esbonio bodolaeth dyn yn unol â chyfundrefn dadblygiad. Dechreua gyda dyn draw yn ei anelwig ddefnydd, ac olrheinia ei ddadblygiad o'r cyfnod pell a niwliog hwnnw, fel anifail, fel bod rhesymol, ac fel aelod o gymdeithas: dadblygiad ei gorff, ei enaid a'i ysbryd. Tŷn ei brawfion a'i eglurebau oddiwrth fywydeg (*biology*) ac oddiwrth yr adrannau hynny mewn gwyddoniaeth sydd yn trin am darddiad meddwl a tharddiad iaith, ynghyd a'r adran ddiweddar sydd yn trin am y gwahaniaeth rhyw a dechreuad y teulu. Yn yr holl ymdriniaeth y mae Drummond yn rhoddi lle mawr mewn dadblygiad i'r hyn a elwir yn *Altruism*, ac yn siarad am dano fel peth wedi ei esgeuluso gan wyddonwyr. Yn ol Darwin ymdrechfa ydyw bywyd, ymdrechfa yn yr hon y mae y cryfaf a'r cymwysaf yn llwyddo, a'r gwan a'r gwael yn cael ei wthio i'r ffos. Pob creadur yn ymladd drosto ei hun, deued a ddelo o bawb arall. Un ochr i'r gwirionedd ydyw hwn ebe Drummond. Y mae ochr arall, a honno i'w gweled ymhob man trwy yr holl greadigaeth. Yn y dadblygiad mawr sydd yn myned ymlaen, yn rhedeg yn gyfochrog â'r ymdrech am fywyd, gwelir fod egwyddor arall, sef ymdrech tros fywyd rhai ereill. Dyma ydyw *Altruism*, creadur yn anghofio ei hun yn yr ymdrech i amddiffyn a llesoli ereill. Rhydd yr awdwr le mawr i'r egwyddor hon yn y traethawd, ac y mae hynny yn hyrwyddo y ffordd i'r casgliad ardderchog y daw iddo ar y diwedd, sef fod Cristionogaeth yn rhan o'r dadblygiad hwn. "Beth ydyw dadblygiad? Trefn o greadigaeth. Beth ydyw ei amcan neu ei nod? Gwneud bodau byw yn fwy perffaith. Beth ydyw Cristionogaeth? Trefn o greadigaeth. Beth ydyw ei hamcan hi? Gwneud bodau byw yn fwy perffaith. Trwy ba beth y mae dadblygiad yn gweithio? Trwy gariad. Trwy pa beth y mae Cristionogaeth yn gweithio? Trwy gariad. Dadblygiad a Christionogaeth ydynt yn meddu yr un awdwr, yr un amcan, a'r un ysbryd." Cydnabyddir gan bawb mai *The Ascent of Man* ydyw campwaith Drummond. Amhosibl fuasai gwneud chwareu teg â'r llyfr hwn, yn enwedig heb roddi erthygl gyfan iddo. Yn y ddwy gyfrol uchod gwelir disgleirdeb athrylith Drummond, ynghyd a'i awyddfryd gonest a difrifol am wneud pob gwybodaeth a phob byd yn ddarostyngedig ac yn deyrngarol i Grist.

Un peth arall a ddylanwadodd yn fawr i'w wneud ef yr hyn ydoedd mewn ëangder a chydymdeimlad oedd teithio. Teithodd lawer, amgylchodd y byd o'r bron. Pan yn efrydydd bu yn Germani ac yn Norway. Tua diwedd tymor ei efrydiaeth aeth gyda Dr. Geikie i'r America, i'r Rocky Mountains. Buont yn crwydro drwy y cymoedd dyfnion hynny am wythnosau. Yr adeg honno yr oedd yr Indiaid

cochion mewn brwydrau parhaus gyda'r dyn gwŷn. Ymwelodd â gwlad y gorllewin ddwywaith ar ol hyn. Bu am amryw fisoedd yng nghanolbarth Affrica, pan nad oedd yno ddynion gwynion, oddieithr ychydig genhadon ac ambell i farsiandwr. Ymwelodd âg ynysoedd mor y de, lle y bu yn siarad a chanibaliaid, gwelodd a'i lygad effeithiau Cristionogaeth ar ddynoliaeth yn ei chyflwr iselaf. Ymwelodd â'r rhan fwyaf o golegau ac athrofeydd y byd,—Germani, Unol Dalaethau America, Canada, ac Awstralia. Anerchodd, a bu yn ymddiddan â channoedd o efrydwyr yn yr oll o'r gwledydd hyn. Ar ei ffordd adref o Awstralia ymwelodd â China a Japan. Yn y lle diweddaf bu yn anerch cynulliad o efrydwyr yn rhifo uwchlaw pum' cant, a chafodd dderbyniad hynod o frwdfrydig. Siaradodd mewn cynnulliadau ynglŷn â phrif-athrofeydd y deyrnas hon. Am ddau hâf yn olynol cynnaliodd gyfarfodydd ar brydnawn Sabothau yn *ball-room* y Grosvenor House, palas y Duc o Westminster yn Llundain. Cynwysai yr ystafell le i dros bum' cant, ac yr oedd yn orlawn bob tro. Hufen talent, dysg, a chyfoeth oedd yn gwneud i fyny y gynulleidfa honno. Yr oedd gan yr holl bethau hyn ran mewn gwneud Henry Drummond y peth ydoedd. Anfynych iawn y cafodd neb y fath fantais i adnabod dynoliaeth a'r bywyd dynol yn ei amrywiol agweddau. Yn Affrica a'r New Hebrides gwelodd ddynoliaeth anwar yn ei chyflwr iselaf: dyn yn yr ystâd agosaf at yr anifail. Yn nhrefi mawrion Lloegr a Scotland gwelodd ddynoliaeth wareiddiedig yn ei llygredigaeth a'i thrueni dyfnaf. Ac yng nghynulliadau y Grosvenor House gwelodd ddynoliaeth mewn balchder, rhwysg, a chcegwychder. Pa le bynnag y byddai, yr oedd y llygaid byw, craff, a threiddgar oedd ganddo o hyd ar lawn waith, ac yn cymeryd pob peth i mewn. Nid rhyfedd fod hwn yn ddyn ar ei ben ei hun. Yr oedd yn amhosibl i gymeriad o'i fath ymddangos heb gario dylanwad dwfn ar y byd. Yr oedd fel comet gan faint ei oleuni a'i wres yn gadael llwybr tanllyd a goleu ar ei ol. Byr iawn fu ei yrfa, terfynodd pan nad oedd ond saith a deugain oed. "Ei haul a fachludodd a hi eto yn ddydd." Bu amryw o'i gyfeillion farw yn gynnar fel yntau. Ac wrth edrych yn ol rhyfedd gynifer o'r dynion goreu a mwyaf defnyddiol sydd yn meirw yn nghymydogaeth y deg a deugain oed. Yn ei dymor byr aeth Drummond trwy dri o dreialon mawrion. Yn dair ar hugain oed cafodd ei hun ar binacl enwogrwydd. Cynulleidfaoedd mawrion yn crogi wrth ei wefusau. Miloedd o eneidiau yn agoryd eu calonnau ac yn cyffesu iddo eu holl haues. ·eth ar gefn y llifeiriant hwnnw trwy brif ddinasoedd y deyrnas. Prawf caled arno oedd dyfod i'r fath boblogrwydd mewn oedran mor gynnar. Pan yn dair ar-ddeg ar hugain oed cyrhaeddodd enwogrwydd arall. Dyna oedd ei oedran pan ymddangosodd ei lyfr cyntaf, *Natural Law in the Spiritual World.* Tynnodd y llyfr hwn sylw rhyfeddol. Daeth y dosbarth mwyaf deallus i dalu teyrnged iddo, ac yr oedd mawrion y tir yn ymgasglu o'i gwmpas. Dynion fel Mr. Arthur Balfour a Von Moltke a deimlent ddyddordeb ynddo. Bu Mr. Gladstone yn ceisio ei berswadio i ymroddi i wleidyddiaeth. Yr oedd yn gyfaill mynwesol i Arglwydd Aberdeen a'i briod. Ond daeth Drummond allan o'r peiriau hyn fel yr aur. Addfwyn, gostyngedig, diymhongar, cyfaill y rhai isel-radd oedd efe wedi'r cwbl.

Yn niwedd ei oes rhoddwyd ef mewn pair arall. Cystudd oedd y pair hwnnw. Bu am ddwy flynedd yn dihoeni gan afiechyd poenus a blin. Ond poethder y pair oedd i ddyn fel efe, llawn o ysbryd gweithio, ddyfod yn ddiallu i bob peth ond dioddef: ac un oedd a'i holl hyfrydwch mewn gwasanaethu ereill ddyfod i ddibynnu yn gwbl ar garedigrwydd y rhai a weinyddent arno. Aeth drwy y cystudd hir yn hollol dawel ac ymostyngar i ewyllys Duw. "Ond llwybr y cyfiawn sydd fel y goleuni, yr hwn a lewyrcha fwy-fwy hyd ganol dydd." Canol dydd Henry Drummond oedd dydd ei farwolaeth.

*Llanrwst.* WILLIAM THOMAS.

---

## RHAI PYNCIAU BEIBLAIDD.*

CYFEIRIO yr ydym yn y penawd uchod at lyfr newydd Dr. Simon. Nid oes angen ond trem frysiog ar gynwysiad y gyfrol i sicrhau y darllennydd fod y pynciau Beiblaidd yr ymdrinir â hwy ynddi gan Dr. Simon yn rhai hynod amserol, dyddorol, a phwysig. Y pynciau hynny ydynt:—

I. Yr Israeliaid a'u cymydogion, gyda chyfeiriad neillduol at fywyd a meddwl crefyddol.

II. Athroniaeth Datguddiad ac ysbrydoliaeth.

III. Etholedigaeth Israel.

IV. Y ffordd briodol i ddynesu at y Beibl.

V. Y traddodiadau a gynwysir yn y ddwy bennod gyntaf o Genesis.

VI. Deilleg a chwymp dyn

VII. Beirniadaeth a Llenyddiaeth Israelaidd.

VIII. Beirniadaeth a Hanesiaeth Israelaidd.

Fe welir ei bod yn ymdrin â phrif bynciau y dydd mewn Beirniadaeth Feiblaidd, ac fe welir hefyd mor hollol anobeithiol fyddai meddwl rhoddi syniad i'r darllennydd o gyfoeth meddyliol y gyfrol, a'i gwerth i lenyddiaeth Feiblaidd y cyfnod presennol, mewn gofod mor fychan ag sydd at ein gwasanaeth. Yr oll a amcenir wneud, gan hynny, yn yr ysgrif hon ydyw cyfeirio meddwl y darllennydd at rai pethau sydd ynddi—rhai ffeithiau hynod iawn, a rhai gosodiadau a chasgliadau o eiddo Dr. Simon a gwŷr ereill galluog a dysgedig

Cyn myned ymlaen ymhellach caniatäer i ni ddweyd fod y gyfrol hon, yn ein bryd ni, yn un o'r pethau goreu a welsom erioed ar y pynciau dan sylw. Y mae yr ymdriniaeth yn deg, yn alluog, ac yn argyhoeddiadol, heb fod ar y naill law yn rhy geidwadol nac ar y llaw arall yn rhy chwildroadol. Yn sicr, gwna wasanaeth amhrisiadwy i achos crefydd.

* *Some Bible Problems.* By D. W. Simon, D.D.

*

Y mae yr awdwr, yn ei ragymadrodd, yn taflu goleuni ar un peth allasai daraw meddwl y darllennydd gyda gradd o ddieithrwch wrth ei darllen, sef ei fod yn cael ei arwain megys yn anymwybodol wrth ymdrin âg un mater i'r un diriogaeth drachefn pan yn ymdrin â mater arall. Heb i ni geisio penderfynu pa un ai mantais ai anfantais ydyw hyn i'r llyfr, na pha mor hawdd neu anhawdd fuasai ymdrin â phynciau mor gydrywiol â'r rhai sydd dan sylw heb groesi yr un terfynau, ceir goleuni digonol ar hyn yn y ffaith mai yn ddwy gyfres o Ddarlithoedd y paratowyd cynnwys y llyfr; ac nid annyddorol ychwaith i'r darllennydd fydd gwybod mai ar gyfer myfyrwyr Coleg Bala-Bangor yr Anibynwyr y parotowyd un o'r ddwy gyfres, yn y flwyddyn 1897.

Cwestiwn mawr y gyfrol yn ei wahanol agweddau, ac yn wir cwestiwn mawr Beirniadaeth ddiweddar mewn rhyw wedd neu gilydd ydyw: *Pa fodd y gallodd Israel gadw ei hunaniaeth, a rhagori mewn llenyddiaeth grefyddol ar holl genhedloedd y byd?*"

Llenyddiaeth Israelaidd yw y Beibl—yr Hen Destament a'r Newydd. Camsyniad yw meddwl mai yr Hen Destament yn unig sydd yn perthyn i lenyddiaeth Israelaidd, er y gwelir ac y clywir hynny yn fynych o leoedd ag y buasem yn disgwyl arweiniad diogel ar faterion o'r fath. Ië, llenyddiaeth Israelaidd yw y Testament Newydd, eiddo Paul, Ioan, a Iesu Grist, ac nid yw y cwestiwn ymha iaith y llefarwyd neu yr ysgrifenwyd ei wahanol rannau yn newid dim ar y mater. "Iachawdwriaeth sydd o'r Iddewon." Y mae yn ffaith sydd uwchlaw dadl gan bob plaid fod y Beibl (a gadawer i ni ei alw yn llenyddiaeth grefyddol Israel,—pa waeth yw o herwydd hynny?) yn rhagori ar lenyddiaeth grefyddol holl genhedloedd y byd.

Y mae y ffaith fod y Beibl yn rhagori ym mhlith llyfrau y byd lawn mor eglur a'r ffaith fod y genedl wedi cadw ei hunaniaeth trwy yr oesoedd. Yn awr y mae y meddwl yn hawlio rhesymau digonol, neu yn hytrach *yr* esboniad, am fodolaeth y ffeithiau hyn. Ymchwiliad am yr esboniad hwn mewn rhyw wedd neu gilydd yw Beirniadaeth Feiblaidd. Camsyniad yw tybied mai ysbryd newydd yw yr ysbryd hwn yn hanes yr eglwys a'r byd; oblegyd y mae mor hen a'r rheswm dynol, canys ni fu cyfnod yn hanes y meddwl dynol pryd nad oedd beirniadu yn un o'i nodweddion pennaf. Camsyniad hefyd yw tybied fod yr ysbryd hwn yn elynol i grefydd. Sylwa Kant fod rhai yn tybied "fod *crefydd*, ar gyfrif ei chysegredigrwydd, a *chyfraith*, ar gyfrif ei hurddas, uwchlaw talu gwarogaeth i feirniadaeth. Ond wrth ymddwyn fel hyn y maent yn anocheladwy yn deffro amheuaeth sydd uwchlaw cael ei ystyried yn anghyfiawn, fod hawliau y pethau hyn yn gorffwys ar sylfeini gau, ac nas gallant ddisgwyl mwy y warogaeth ddiledryw a delir gan reswm i'r hyn a brofwyd ganddo yn alluog i ddal prawf ymchwiliad teg." Gan hynny croesawer beirniadaeth. Y mae yn amlwg fod perthynas agos rhwng y ddwy ffaith uchod, ac mai y rhwystrau oedd ar ffordd y naill oedd hefyd ar ffordd y llall. Meddylier am funud am rai o'r rhwystrau hyn. Dyma genedl fechan, mewn lle cyfyng, rhwng yr Aifft a Babylonia, gwledydd cyfoethog a chenhedloedd mawrion; eu perthynas fel Semitiaid â Babylonia, ac wedi bod am bedwar can' mlynedd mewn caethiwed yn yr Aipht. Drachefn, meddylier am y

rhwystrau i ragori ar yr holl genhedloedd mewn ystyr lenyddol yn y cyfnod hwn.

Fe gydnabyddir fod y cyfnod tua 2000 C.C., ac oddiyno hyd amser Crist, y cyfnod uchaf yn hanes y byd, oddieithr y cyfnod presennol; ac, yn ddiddadl, y mae rhagoriaeth y cyfnod presennol i'w briodoli i ddylanwad Cristionogaeth—rhyddid yr Efengyl sydd wedi arwain y byd i wyddoniaeth a diwylliant diweddar. Yn niwylliant y cyfnod uchod yr oedd naw cangen o bren mawr llenyddiaeth y byd yn blaguro ac yn tyfu, sef y Chineaidd, y Bramianaidd, y Bwdaidd, y Persiaidd, y Babylonaidd, yr Aifftaidd, y Groegaidd, y Rhufeinaidd, a'r Israelaidd. Ac eto yng nghanol pob math o anhawsderau dyma y genedl fechan dlawd a gorthrymedig hon wedi cadw ei hunaniaeth, ac wedi rhagori, yn ol addefiad pawb, mewn llenyddiaeth grefyddol ar holl genhedloedd y byd. Pa fodd y mae esbonio hyn? Pa gyfrif sydd i'w roddi am safle eithriadol Israel yn hanes crefydd?

Dau atebiad sydd wedi cael eu rhoddi i hyn, sef yr hen a'r newydd. Ateb Israel eu hunain—yn cynnwys Crist a'i Apostolion a'r Eglwys—yw fod hyn i'w briodoli i act ddwyfol neillduol, h.y., i etholedigaeth Israel.

Ond fe dybiwyd fod yr atebiad hwn yn hen ac oedrannus ac agos i ddiflannu, ac felly fod yn rhaid cael atebiad newydd. M. Renan gychwynodd hyn, gan haeru fod hyn oll i'w briodoli i gynheddfau deallol, moesol a chrefyddol neillduol y genedl—hyn oedd ffynhonell eu rhagoriaeth mewn llenyddiaeth grefyddol. Honnai Renan fod y Semitiaid yn gyffredinol, ac Israel yn neillduol, yn naturiol ogwyddo at Undduwiaeth, ac yn analluog o Amldduwiaeth, er eu bod yn is-raddol i'r Indo-Ewropeaid, ac mai y lleiaf *(minimum)* mewn crefydd a olygir yn y duedd hon. Yn ol yr eglurhad hwn fe gododd rhagoriaeth Israel o un o'i diffygion naturiol—ei hanallu i gofleidio Amldduwiaeth.

Cyfaddasodd Geiger syniad Renan fel hyn: Fel yr oedd Groeg yn naturiol yn gogwyddo at y prydferth, felly yr oedd Israel yn naturiol yn gogwyddo at y crefyddol, nes iddynt o'r diwedd rwygo y llen a gweled yr anherfynol, sef yr hyn a elwir yn Ddatguddiad. Yn ol y syniad hwn nid oedd Iesu Grist yn ddim amgen na *genius* crefyddol y genedl, fel yr oedd Shakespeare yn *genius* barddonol y genedl Seisnig.

Yr oedd y syniad hwn, mewn rhyw wedd arno, yn bur gyffredin yn Germany dri ugain mlynedd yn ol, ac y mae yn ymddangos wrth fodd calon rhai y dyddiau hyn. Yr anffawd i'r bobl hyn ydyw mai yn nychymyg Renan yn unig yr oedd y dyb hon am y Semitiaid yn ffaith.

Yr unig beth o natur prawf o'r ddamcaniaeth hon, fel y dywed Dr. Simon, ydyw y ffaith a alwodd allan y dychymyg hwn fel ymgais i'w hesbonio, sef mai un ganghen o'r cyff Semitaidd roddodd fod i'r grefydd a'r llenyddiaeth Israelaidd. Ond, am y canghenau ereill o'r Semitiaid, megys y Babyloniaid, yr Arabiaid, yr Arameaid, y Moabiaid, ac ereill, nid ydynt yn gwahaniaethu oddiwrth y gweddill o ddynolryw mewn meddu duwiau lawer ac arglwyddi lawer. Dywed Max Müller, yr hwn yw un o'r awdurdodau pennaf ar faterion o'r fath, a'r hwn nis gellir ei gyhuddo o fod yn rhagfarnllyd o blaid syniadau traddodiadol ac uniongred, fel y canlyn:—

"A ellir dweyd fod greddf undduwiaeth wedi ei phlannu yn y cenhedloedd oeddynt yn addoli Moloch, Nisroch, Rimon, Necho, Dagon, Astaroth, Baal neu Bel, Baalpeor, Beelsebub, Chemosh, Mileom, Adrammelech, Anamelech, Nibhar a Tartak, Ashima, Nergal, Succoth-benoth, yr Haul, y Lloer, y Planedau, a'r holl lu nefol? '

Ië, a llu duwiau y Babyloniaid a'r Assyriaid. Ac eto, yr oedd yr holl ganghenau hyn yn ffurfio y cyff Semitaidd, o'r hwn yr oedd Israel yn gangen. Beth all fod yn gryfach prawf o oferedd dychymyg Renan na hyn? Pa gyfrif ellir roddi am hyn? Rhaid cael esboniad digonol. Dywed Wellhausen

"na ellir esbonio paham y cymerodd hanes Israel gwrs mor wahanol i eiddo Moab, a hwythau yn cychwyn yn agos yn yr un fan." Llawer llai ynte

yn achos yr Aifft a Babylonia. Ond y mae Proff. Hommel yn rhoddi esboniad ar hyn, a'r un esboniad a'r Israeliaid eu hunain. Gwel ef yng ngalwad Abraham a'i fynediad allan nid yn unig fodd i roddi cyfrif am gadwraeth syniadau a theimladau uchaf a phuraf Babylonia, ond hefyd fodd i ymddyrchafu fel y gwna y genedl i Undduwiaeth hollol—i ymddyrchafu mewn adnabyddiaeth o Dduw, dan yr amgylchiadau mwyaf anffafriol, fel Duw cyfiawn ac achubydd, nes o'r diwedd i Dduw ymddangos yn y cnawd. Etholedigaeth Israel, ynte, yw yr esboniad digonol.

Y mae i'r mater hwn ei anhawsterau. Y mae Dr. Simon yn teimlo hynny. A phrin yr ydym yn meddwl ei fod yn gwneud yr anhawsterau hynny yn llai wrth ddweyd mai ethol *dyn—un dyn*, Abraham, ac nid *cenedl*, a wnaeth Duw.

Y mae rhai yn tybied fod yn y gwahaniaeth sydd rhwng cenedl a chenedl, a rhwng dyn a dyn, le i ddianc rhag y syniad o etholedigaeth, tra, mewn gwirionedd, mai engreifftiau o etholedigaeth ar wahanol raddegau yw hyn oll. Fe gaiff Duw wneud rhagoriaeth rhwng dynion a chenhedloedd, a defnyddio yr offeryn a fynno i gyrhaedd ei amcanion, heb i neb floeddio "ffafr ac anghyfiawnder," hyd nes y mae yn myned i amlygu trefn ei ras i fyd colledig.

Y mae etholedigaeth Israel yn golygu cenhadaeth, doniau cymwys at y gwaith, a chyfleusterau priodol, h.y., Datguddiad ac Ysbrydoliaeth, â'r hyn yr ymdrinir yn rhagorol gan Dr. Simon yn ei ddarlith ar "Athroniaeth Datguddiad ac Ysbrydoliaeth." Ond, ni chawn ymdroi gyda hyn yn awr.

Cyn terfynu, pa fodd bynag, hoffem gyfeirio mewn modd neillduol at y pethau canlynol, yr hyn fel yr ymddengys i ni a brofir fel ffeithiau diamheuol:

1. *Po bellaf yn ol yr eir yn hanes llenyddiaeth y byd, amlycaf oll ydyw eu bod oll wedi dechreu gyda'r syniad o un Duw.* Mor groes yw hyn i athrawiaeth Deilleg?

Er engraifft, nodwedd foreuaf crefydd yr Aifft oedd Undod Duw. Fel hyn y dywed un o'r awdurdodau uchaf yn y maes hwn, sef De Rougé:—

"Y nodwedd gyntaf neu foreuaf o eiddo y grefydd hon (yr Aifftaidd) yw Undod Duw, yr hyn a osodir allan yn y modd mwyaf egnïol; Duw, un yn unig; heb ereill gydag Ef. Efe yw yr unig fod, yn byw mewn gwirionedd. Tydi wyt Un, a miliynau o fodau yn deilliaw o honot Ti. Efe a wnaeth bopeth, ac Efe yn unig

ni wnaed. . . . . Y mae yn wirionedd uwchlaw dadl nad yw rhannau mwyaf goruchel y Grefydd Aifftaidd yn gynnyrch diweddar gyrfa dadblygiad, neu bethau uwch wedi eu cael allan o bethau is. Y maent yn arbrawfol henafol, ac ystad olaf y grefydd Aifftaidd ydoedd yr isaf a'r mwyaf llygredig o lawer. . . . Pa le y ceir dywediad Groegaidd neu Latinaidd yn y byd paganaidd fel y rhai uchod."

Ië, fe gydnabyddir fod yr Aifftiaid wedi llithro i'r dirywiad crefyddol a moesol mwyaf mewn meddwl a moes, fel y ceir emyn i Tum, yn ol Proffeswr Sayce, yn y 13eg C.C. yn dangos mor aruchel oeddynt, ac y ceir hefyd y disgrifiad alaethus canlynol o honynt gan yr enwog M. Renouf :—

" Yr oedd y duwiau Aifftaidd yn afrifed. Yr oedd duwiau di-rif yn y nefoedd a than y ddaear. Yr oedd gan bob tref a phentref ei noddydd lleol. Yr oedd pob mis o'r flwyddyn, pob dydd o'r mis, a phob awr o'r dydd a'r nos yn meddu eu nawdd dduwiau; ac yr oedd yn rhaid dyhuddo yr h ll dduwiau hyn âg offrymau. Ac ymhellach yr oedd y duwiau hyn yn cynnwys cyrff, rhannau a nwydau. Yr oeddynt yn dioddef, neu yn agored i ddioddef, pob math o boenau hyd yn oed i gael eu gwenwyno yn hollol, megys ag y cymer yr afon Nile feddiant o'r tir? . . . . . Y mae yr holl dduwiau hyd yn oed y duw goruchaf Râ yn sefyll mewn angen nawddogaeth y dduwies Isis ? Ac y mae yr holl dduwiau yn agored i gael eu gorfodi i wrando gweddi dynion dan boen ofn bygythion, yr hyn sydd anirnadwy i ni yw fod unrhyw ddealltwriaeth oddieithr yr eiddo ffolanedigion *(idiots)* yn gallu ei gredu.

Yr un peth a wirir gan hanes y Babyloniaid, Persiaid, Indiaid, ac ereill; yn wir pawb yn ddiwahaniaeth ond Israel; ac felly y mae hanes y byd, yn y mater hwn, yn bendant yn erbyn athrawiaeth deilleg, a dadblygiad.

2. *Po fwyaf crefyddol ydoedd llenyddiaeth, lleiaf hanesyddol ydoedd, a pho fwyaf hanesyddol, lleiaf crefyddol ydoedd.* Y mae Dr. Simon yn profi tu hwnt i amheuaeth fod hyn yn ffaith yn hanes llenyddiaeth prif genhedloedd y byd. Y mae yr *elfen hanesyddol yn wan* mewn cyfartaledd manwl i nerth yr elfen grefyddol briodol, a'r *elfen grefyddol yn wan* mewn cyfartaledd manwl i nerth yr un hanesyddol. Tybed fod rhywbeth a wnelo hyn â ffaith arall pur nodedig yn hanes llenyddiaeth y byd, sef fod barddoniaeth yn ymddangos rai cannoedd o flynyddoedd o flaen rhyddiaeth ?

Eglura Dr. Simon y ffaith uchod fel y canlyn: Yn llenyddiaeth China, Groeg a Rhufain y mae yr elfen hanesyddol yn gref, ond yr un grefyddol yn wan. Yn y Brahminaidd, y Bwdhaidd, y Persiaidd, y mae yr elfen hanesyddol yn wan iawn, a'r elfen grefyddol yn gref iawn. Yn y Babylonaidd a'r Aifftaidd ceir graddau uwch neu fantoliad agosach rhwng yr elfen hanesyddol a'r grefyddol.

Ond, y mae y Beibl ar ei ben ei hun yn amlwg yn y mater hwn, ac yn eithriad yng nghanol llenyddiaeth y byd. Y mae y Beibl yn rhagori ar yr oll mewn hanesiaeth, ac yn rhagori arnynt oll mewn crefydd. Ac ynddo ef, po fwyaf hanesyddol ydyw, mwyaf crefyddol ydyw hefyd. Y mae ei grefydd yn grefydd hanesyddol ac y mae ei hanesiaeth yn hanesiaeth grefyddol. Ac y mae rheswm digonol am yr eithriad hwn.

3. *Nad yng nghaethiwed yr Aifft a chaethiwed Babylon y cafwyd defnyddiau llyfr Genesis,* fel y tybiodd rhai ar ol Kuenen, ac yr ysgrifenwyd

yn lled oraclaidd, yn ddiweddar, i un o brif gyhoeddiadau ein gwlad.

Chwe' blynedd yn ol, darllenodd Proff. Hommel, o Munich, bapur yn Llundain ger bron y Gynhadledd Ddwyreiniol Gyd-genedlaethol, gyda'r hwn y synnodd yr ysgolheigion oeddynt yn bresennol wrth geisio profi fod crefydd a gwareiddiad yr Aifft wedi tarddu trwy ymfudiaeth o Babylonia Ddeheuol, ac fel hyn yn gwneud Babylonia yn gartref gwreiddiol dyn gwareiddiedig fel y dysgir gan Lyfr Genesis.

Cyhoeddodd Proff. Hommel y papur wedi ei helaethu yn gyfrol ar y pwnc hwn. Yr oedd yr ysgolheigion yn bur araf a hwyrfrydig i dderbyn athrawiaeth mor chwildroadol, a hyn am hynafiaethau yr Aifft, gan yr ystyrrir fod yr Aifft yr hynaf o'r holl wledydd, ac fod ei gwareiddiad, fel yr Afon Nile, yn perthyn i'w thir hi yn unig.

Ond erbyn hyn wele M. J. de Morgan, dilynnydd Mariette a Maspero yng ngweinyddiad yr Amgueddfa Aifftaidd yn Bûlak a Ghizeh, yr hwn sydd wedi treulio ei fywyd i fyfyrio hanesiaeth henafol yr Aifft, a'r hwn a ystyrrir yn awdurdod ar y fath bynciau, wedi cyhoeddi cyfrol ar *Researches on the Origins of Egypt* (Ymchwiliadau ar Darddiadau yr Aifft), yn yr hon y mae yn datgan, er syndod i'r ysgolheigion yn gyffredinol, ac er tipyn o siomedigaeth hefyd i rai, "*mai o Asia y daeth yr Aifftiaid, ac mai eu tarddiad tebygol ydoedd Chaldea neu Babylonia Deheuol.*" Dyma M. J. de Morgan fel Hommel yn gwneud cartref cyntaf dyn gwaraiddedig yn hollol unol â dysgeidiaeth Llyfr Genesis. Ac nid oes awdurdodau uwch na'r rhai hyn ar y cwestiwn hwn. Rhaid i ddisgyblion Kuenen ail feddwl a ffurfio rhyw athrawiaeth newydd eto, oblegid gorfodir hwy i ollwng ei gafael yn y dyb mai yn y Caethiwed yn yr Aifft a Babylon y cafwyd defnyddiau Llyfr Genesis. Y mae dysgeidiaeth Genesis yn uwch na dim oedd yn yr Aifft a Babylon yn amser y caethiwed.

Ond rhaid i ni derfynu. Ië, a hynny braidd heb gyffwrdd â'r cyfoeth mawr sydd yn llyfr Dr. Simon. Ac nis gallwn wneud yn well na thrwy ddyfynnu y paragraff olaf o'r gyfrol sydd ger ein bron:—

"Yr hyn y dylai yr Eglwys Gristionogol fod ar ei gwiliadwriaeth rhagddo ydyw derbyn ad drefniad neu ail-gyfansoddiad o hanesiaeth Israel, yr hwn fyddo yn cau allan actau Dwyfol neillduol, datguddiadau, ac ysbrydoliaeth, amcan pa rai ydoedd cymodi Duw a dyn; mewn gair, yr oll sydd wedi cyfansoddi, ac sydd eto yn cyfansoddi, ei werth neillduol i'r byd."

I'r amcan hwn gwna llyfr Dr. Simon wasanaeth amhrisiadwy i'r Eglwys yn y dyddiau presennol.

W. RYLE DAVIES.

*Llundain.*

## TELYNEGION SERCH.

### CARIAD Y MORWR.

CODI angor, lledu hwyl,
  Y mae'r llong am fordaith bell;
Ar ei bwrdd mae llencyn gwyl,
  Sydd na'r byd i gyd yn well;
Cusan ffarwel ar fy min
  Roes fy nghalon oer ar dân,
Ffrwd ei serch fel gwridog win
  Lifai dros ei wefus lân.

O! na bawn i'n wylan wen!
  Hedwn dros y tonnog li;
Torri'i chalon mae dy Wen—
  Brysia'n ol f'anwylyd i;
Sycha dwfr yr eigion hen
  Cyn y sycha'r dagrau hyn;
Os na welaf mwy y wên—
  Serchog wên fy nghariad gwyn

Hawdded yw i'r rhosyn cu
  Wrido dan gusanau'r haul
Hawdded i'r aderyn du
  Eilio'i dôn ar dannau'r dail;
Ond fe wywa rhosyn serch
  Heddyw ar fy nwyrudd i:
Pam mae tynghed cariad merch
  Mor ddi-hedd a thonnau'r lli?

Gwyn dy fyd, serennig ferth!
  O! na bawn i yn dy le;
Gwylio'i rawd, dros donnau certh,
  Wnawn drwy'r nos o ddrws y ne'
Gall y saethai gariad-drem
  Tuagataf ambell waith,
A chawn innau ollwng gem
  Ar ei rudd o ddeigryn llaith.

Ar dy aden, storom erch,
  Cluda fi i'w gynnes fron;
Dyna'r nefoedd fyn fy serch,
  Nid oes hedd tu faes i hon;
Cerddwn dros ewynnog li
  Fel ar farmor y pryd hyn,
Pe y gwyddwn p'le cawn di—
  P'le cawn di, fy nghariad gwyn

## LLOER ERYRI.

O! 'rwy'n caru lloer Eryri,
   Byth er pan y dringwn i
Y llechweddau araul hyfryd
   Wrth ei hedd-oleuni hi.

Llusern Duw sy'n goleu'n llwybr,
   Ebai fy anwylaf fun;
Ond tywyllwch fel y fagddu,
Meddwn, fyddai'r nos er hynny,
Ti sy'n goleu'r ffordd i fyny—
   Ti yw fflamdorch f'enaid cun.

Pe diffoddai haul a lleuad,
   Dydd dywynna ar dy wedd;
Ti yw fy Aurora geinbryd,
Llewyrch holl lawenydd bywyd,
Yn dy wenau mae fy ngwynfyd—
   Ti, f'anwylyd, yw fy hedd.

O! 'rwy'n caru lloer Eryri,
   Delw fy anwylyd i;
Mae morwyndod glân y nefoedd
   Yn disgleirio ynddi hi;
Ond gwyleiddia'r lleuad honno
   Yn dy wyddfod, eneth wiw,
Dacw hi! yn cuddio'i gwyneb
Yn y cwmwl; ar ein hundeb
Gwena eto mewn anwyldeb
   Megys ardeb wyneb Duw!

## Y FUN AR FIN Y FENAI.

Y fun ar fin y Fenai
   Yw'r fun a garaf fi;
Hardd lesni gwanwyn ieuanc
   Sydd yn ei llygaid hi;
Dwy lili wedi'u trochi
   Yng ngwaed ei thyner fron
Yw dwyrudd deg fy nghariad i,
   Llawenydd serch yw hon.

Y fun ar fin y Fenai,
   Lle chwery'r badau byw—
Lle gwel yr haf ei ddelw
   Yn nrych y tonnau gwiw—
Lle gwlawia'r ser eu gwenau
   Yn ddiluw ar y lli:
Ond pennaf swyn y Fenai fwyn
   Yw gwên fy nghariad i!

Wrth rodio hyd y draethell,
A'r oriau mân yn myn'd—
Yn myn'd i beidio dod yn ol
Fel gwenau llawer ffrynd;
A gwrando swn y gragen,
Fel llef o'r eigion pell:
Ond gwrando serchguriadau bron
Fy ngeneth lon sydd well.

Y fun ar fin y Fenai,
Yw'r fun a garaf fi,
Hardd lesni gwanwyn ieuanc
Sydd yn ei llygaid hi;
Rwy'n caru son am dani,
Fel cara engyl Duw,
Son am y Wynfa hono
Lle y maent hwy yn byw.

## SERCH-GAN Y BUGAIL.

O! na bawn i'r oenyn mwyn,
Dan glog o eiryog wlân,
Sy'n byw yng nghyfriniol swyn
Anwylaf Eluned lân;
Diferlif fêl-eiriau serch—
"Fy nghalon," "Fy nghariad gwyn,"
Ddefnyuna dros fin y ferch,
I galon ddi-serch fel hyn.

Pe'i meddwn, rhown fyd am awr
O gwmni Eluned lon,
Ai'n ewyn y rhaiadr mawr
Y trochodd ei chlaerwyn fron?
Ai gwaed ar y manod gwyn
Yw y rhos ar ei gruddiau hi?
Nef-lewyrch ei llygaid sy'n
Goleuo fy enaid i.

Mae'm mynwes fel bron llosg fryn,
Ar ffrwydro gan angerdd serch;
Ond feiddiaf fi byth ddweyd hyn,
Ni fedraf! i'r fwynaf ferch;
Mae cariad fel angau'i hun,
Mae ganddo ei nef a'i wae;
Mi wn am ei waeol wŷn
Ei nefoedd, pa le y mae?

Ond os oes nef byth i mi,
Yng nghwmni Eluned lon
Mae honno, dirmygwn fri
Nef angel ei hun heb hon;

Eluned ! pan ddychwel haf,
  Blodeudorch a wnaf i ti,
A phob lili brydferth gaf
  Fe'u rhoddaf i'w harddu hi.

Mi welais y wawrddydd dlos
  Yn dyfod o wyddfod Duw,
A ffoai holl ddreigiau'r nos
  O flaen ei golygon byw ;
Tyr'd tithau, f' Aurora wen !
  Ac enfys o swynion serch
Yn dalaith o gylch dy ben,
  I ymlid fy ngofid erch.

## MI GARAF YR ENETH.

Mi garaf yr eneth eurwalltog a glân,
  Blodeua y rhos ar ei grudd ;
A'i chalon yn gartref llawenydd a chân,
  A'i llygaid yw "llygaid y dydd ;"
Ac ugain o hafau, yn ddiliau a gwin,
Fel swynion ei serch, sy'n melysu ei min.

Mi garaf yr eneth wiriona y wlad,
  A'i rhodiad yn ddelw o serch ;
Er imi wel'd cilwg yn llygaid ei thad,
  Mae cariad yn llygaid y ferch
Yn saethu gobeithion i 'nghalon o hyd,
A'i gwên sydd fel enfys ar gymyl y byd.

Mi garaf yr eneth oleuodd fy nos
  A llusern ei chariad di-graith ;
Pan roes im' ei chalon ar lwybr y rhos,
  Yn wystl o wynfyd y daith ;
Mae nef yn ei chwmni, dwyfoldeb ei gwawr
Rydd wynder a mwynder ar bopeth y llawr.

Mi garaf yr eneth, mi garaf y dydd,
  Oedd wyn fel y nefoedd ei hun,
Pan donnai llawenydd a chariad dros rudd
  Serchocaf, ddwyfolaf fy mun,
Pan dyngem ffyddlondeb wrth allor wen, lân,
A chariad yn rhoddi dau enaid ar dân !

Eich gwaethaf ! elynion fy Ngwenfron a mi,
  Disgleiria fy llw ar ei llaw ;
Nid oes ond yr angau aiff rhyngwyf a hi,
  A Duw gadwo hwnnw'n mhell draw !
Ystadau, gorseddau, coronau a'u bri
Gâr rhywrai, ond Gwenfron ! fy Ngwenfron i mi

Os byd o ofalon i ddilyn a ddaw,
Fy mynwes fydd gynnes i Gwen;
Disgleiria'r aur-amod ar wynfys ei llaw,
Secina ein cariad di-len;
Fy ngwenferch! fy ngwynfyd! f' anwylyd hyd fedd,
Anadlaf fy enaid i odlau dy hedd.

## GWYN FY MYD.

Gwena haul yr hafddydd melyn
Ar dy gartref, Enid wen;
Ac mae engyl hedd yn canu
Cerddi cariad uwch dy ben;
Dyna nef! pwy flina arni?
Nef fo'th fywyd ar ei hyd
Finnau'n cael dy wên ddigwmwl,—
Ti yn unig lon'd fy meddwl—
Gwyn fy myd.

Pan y rhoddaist im' dy galon
O dan goron ieuanc oed,
Chwyddai'm serch fel tonnau'r eigion,—
Collai'r ddaear dan fy nhroed;
Llanwaist wagder mawr fy enaid—
Mwy na allai'r byd i gyd,
Teimlais bopeth imi'n eiddo—
Byd a'i rwystrau fel yn gwywo;
Gwyn fy myd.

Gwelais gwmwl ar Eryri,
Yn argoeli drwg gerllaw,
Tybiais weled ynddo gysgod—
Erchyll gysgod brenin braw;
Ond o'r cwmwl duaf hwnnw
Y daeth enfys hardda'i phryd,—
Llun yr allor lle caf gwrddyd
Enid anwyl, haul fy mywyd:
Gwyn fy myd.

Y mae'r fodrwy wedi'i phrynu—
Duw ei hun ŵyr gynnwys hon:
Ond 'rwyf finnau'n gwybod hynny—
Ynddi mae holl serch fy mron;
Cwrdd fi heno, Enid anwyl,
O dan wên y lloerwen fud,
A chawn wylio'r ser yn colli
'N ngwawl y dydd, dydd ein priodi;
Gwyn fy myd!

H. ISGAER LEWIS.

*Caernarfon.*

## ATHRAWIAETH YR YMWAGHAD YNG NGOLEUNI EI HANES.

OFNAF fod Athrawiaeth yr Ymwaghad, nid yn cael gormod o le yn ein llenyddiaeth grefyddol, ond yn cael y lle a roddir iddi ar draul symud yr ymadrodd am y groes i'r cysgod. Colled nid bychan fyddai hynny i'r eglwys a'r byd. Nid oes dim a rydd y byd ar dân gan gariad ond cyhoeddi "farw Iesu a'i adgyfodi, yn ol yr Ysgrythyrau." Pâr hyn i mi fod yn betrusgar i alw sylw at y pwnc, rhag fy nghael yn euog o geisio ychwanegu at y drwg. Hefyd y mae y fath gewri wedi bod yn ymgodymu â'r pwnc, ac wedi cael goruchafiaeth mor amheus. Hwyrach er hynny y gallaf anturio, heb ryfygu, ysgrifennu ychydig ar yr athrawiaeth yng ngoleuni ei hanes. Cymhorth mawr i ddewis ein safle, a'i chadw, ydyw deall ein hamgylchedd, a gwybod pa safleoedd ereill a gymerir gan gyfeillion a gelynion. I'r diben hwn y ceisiwn olrhain hanes yr athrawiaeth hon. Amcenir gwneud hyn mewn arddull werinaidd, gan ddïosg y syniadau o dermau ysgolheigaidd ac anhawdd eu deall. Dilynir hefyd hyd y gellir yr awduron hynny yn y wlad hon a gydnabyddir yn awdurdodau yn llenyddiaeth y pwnc. Gellir rhannu yr hanes i bedwar o gyfnodau.

1. O ddechreu yr ail ganrif hyd Gyngor Nicea.
2. O Gyngor Nicea hyd y Diwygiad Protestanaidd
3. O'r Diwygiad Protestanaidd hyd y Ganrif hon.
4. Y Ganrif hon.

1 Fel y canlyn y dywed y tadau cyn Cyngor Nicea. Tra yn aros yr hyn oedd, daeth Crist i fod yr hyn nad oedd. Nid yw yr ymgnawdoliad wedi newid dim ar ei Dduwdod. Eto, tra yn meddu holl berffeithiau Duwdod, ewyllysiai i'w ddyndod weithredu yn hollol yn ol ei natur ei hun. Gwrthwynebai demtasiynau, ymostyngai mewn profedigaethau, a dioddefai yn hollol fel dyn. Yr oedd y gwaith a roddwyd iddo i'w gyflawni yn galw arno i wneuthur rhai gweithredoedd fel Duw ac ereill fel dyn. Yn y naill gweithredai trwy ei Dduwdod, yn y lleill trwy ei ddyndod. Tybia rhai fod y dywediadau hyn i fesur yn ffafrio Nestoriaeth, ond nis gall neb dybio eu bod yn awgrymu unrhyw gyfnewidiad yn Nuwdod y Mab, megys y gwna y ffurfiau diweddaraf ar athrawiaeth yr Ymwaghad

2. Yn y 3edd ganrif cyfododd Sabeliaeth, yn dysgu nad oedd y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân ond gwahanol enwau ar un person mewn gwahanol berthynasau.

Hefyd cododd Ariaeth, yn dysgu nad oedd y Mab ond y creadur cyntaf, mwyaf, a gogoneddusaf, trwy yr hwn y creai Duw y Nefoedd a'r ddaear, a'r môr, a'r hyn oll sydd ynddynt.

Yn ganlynol cyfododd Semi-ariaeth yn dysgu, er nad oedd y Mab o'r un natur a'r Tad, ei fod o natur debyg; ond mai nid priodol dweyd ei fod o natur wahanol. Gwelai Athanasius a'i ganlynwyr fod yr athrawiaethau hyn yn myned dan sylfeini Cristionogaeth, a galwyd

cyngor cyffredinol, yr hwn a gynhaliwyd yn Nicea. Yn y cyngor hwn penderfynwyd fod gair Duw yn dysgu, yn groes i Sabellius, fod y Mab yn berson gwahaniaethol oddiwrth y Tad, ac hefyd ei fod, nid o natur wahanol fel y dywed yr Ariaid, nac o natur debyg fel y dywed y Semi-ariaid, ond o'r un natur a hanfod a'r Tad. Y mae hyn ar y wyneb yn anffafriol i'r dybiaeth fod cyfnewidiad wedi cymeryd lle yn Nuwdod y Mab, gan mai yr un Duwdod sydd i'r Tad a'r Mab.

Wedi cyngor Nicea, yn yr hwn y penderfynwyd beth oedd y wir athrawiaeth am Dduwdod Crist, y mae dadleuon yn codi ynghylch y ddwy natur yn ei berson. Y mae Nestorius, yn ei sêl dros berffeithrwydd y ddwy natur yng Nghrist, yn dysgu yr hyn sydd yn cynnwys ei fod yn ddau berson. Y mae Eutyches, yn ei sêl dros undod y person, yn aberthu gwahaniaeth y ddwy natur. Y mae Apollinaris, yn ei sêl dros Dduwdod Crist ar un llaw, ac o ofn Nestoriaeth ar y llaw arall, yn rhannu dyndod Crist i gorff, enaid ac ysbryd, ac yn haeru mai corff ac enaid yn unig a gymerodd y Gair i undeb âg Ef ei hun, gan lenwi lle yr ysbryd â'i Dduwdod.

Mewn canlyniad galwyd cyngor i Chalcedon, i ystyried beth oedd perthynas y ddwy natur ym mherson Crist. Penderfynwyd yn y cyngor hwn fod yr Ysgrythyrau yn dysgu fod Crist yn Dduw, ei fod, hefyd, yn ddyn, nad yw ei Dduwdod yn tynnu dim oddiwrth ei ddyndod, na'i ddyndod ddim oddiwrth ei Dduwdod, ac mai un person ydyw. Nid yw y penderfyniad hwn, oherwydd y pwyslais a rydd ar berffeithrwydd y ddwy natur, yn caniatau lle i gyfnewidiad yn yr hanfod Ddwyfol. Eto cytuna mor berffaith â disgrifiad Gair Duw o berson Crist, fel y mae corff y saint ar hyd yr oesoedd yn gorffwys yn dawel arno fel datganiad cywir o gynnwys tystiolaeth Duw am Iachawdwr y byd.

3. Yn fuan wedi i'r Diwygiad Protestanaidd dorri allan, y mae ymraniad yn cymeryd lle rhwng Calfin a'i ganlynwyr a Luther a'i ganlynwyr. Gelwir dilynwyr Calfin yr Eglwys Ddiwygiedig, a dilynwyr Luther yr Eglwys Lutheraidd. Gwahaniaethant yn bennaf gyda golwg ar Swper yr Arglwydd a pherson Crist. Yn gymaint a bod duwinyddion yr Eglwys Ddiwygiedig yn rhoddi pwyslais ar wir ddyndod Crist, nis gallent gymhwyso yr ymwaghad at ddyndod Crist fel y gwnai y Lutheriaid. Gwir yw fod Calfin ei hunan yn gwneud hynny mewn un ystyr. Daliai fod dyndod Crist trwy ei undeb â'r person Dwyfol wedi dyfod i hawl i gyfranogi o'r gogoniant oedd iddo gyda'i Dad cyn bod y byd, ac mai ymwadu â hynny yn wirfoddol oedd yr ymwaghad. Nis gallaf lai na theimlo fod llawer yn hyn. Ond ymddengys nad oedd ei ddilynwyr yn rhoddi pwys ar hyn. Felly, rhaid oedd iddynt hwy gymhwyso yr ymwaghad at ei Dduwdod. Os felly, pa beth ydoedd? Yr ateb ydoedd, ei fod yn golygu o leiaf guddio ei briodolaethau naturiol, ac feallai atal eu gweithrediadau hefyd. Y mae lle i gasglu y priodola rhai o honynt ddau fath o hanfodiad i'r Gair ar yr un pryd—un fel y Gair tragwyddol, a'r llall fel y "Gair a wnaethpwyd yn gnawd;" ac mai i'r diweddaf y mae yr ymwaghad i'w briodoli. Eto, ni olygent wrth ymwaghad ond yn unig atal neu guddio. Nid oes dim pellach i'w ddweyd am hanes yr athrawiaeth hon yn yr Eglwys Ddiwygiedig hyd ddechreu y ganrif hon.

Nid felly y mae yn digwydd yn yr Eglwys Lutheraidd. Fel y canlyn y mae hanes yr athrawiaeth yn yr eglwys honno. Dysgai Luther fod cydsylweddiad yn Swper yr Arglwydd; h.y. fod corff Crist yn bresennol gyda'r elfennau y ny fath fodd ag y mae yr hwn a gyfranogo o'r elfennau yn cyfranogi hefyd o gorff a gwaed Crist, pa un bynnag ai crediniol ai anghrediniol fyddo—y naill er ei adeiladaeth, a'r llall er ei niwed. Yn unol â hyn dysga fod corff Crist yn holl-bresennol. Ond nid ydym yn dilyn hynny i'w holl ganlyniadau, fel y gwna ei ddilynwyr. Dywedant hwy fod natur ddynol Iesu Grist wedi ei chynysgaeddu o'r dechreu â'r priodoliaethau Dwyfol. Ar sail hyn dysgant mai dyndod Crist oedd yn cael ei waghau. Ond ni chytunant ar adeg, dull, a graddau yr ymwaghad. I geisio dyfod i gyd-ddealltwriaeth galwyd cyngor, a chytunwyd ar y *Form of Concord.* Ond ni atebodd hynny unrhyw ddiben, am nad oedd y *Form of Concord* yn dweyd dim yn bendant ar y cwestiynau mewn dadl. Cymerodd hyn le 1580—1624 O.C. Yn y blynyddoedd 1616—1624 o fewn i'r eglwys hon y mae dadl boeth yn codi rhwng duwinyddion Giessen a duwinyddion Tubingen. Cytuna y ddwyblaid fod dyndod Crist wedi ei chynysgaeddu â'r priodoliaethau Dwyfol, a bod yr ymwaghad i'w ddeall am ddyndod Crist, ac nid am ei Dduwdod. Ond gwahaniaethant gyda golwg ar ei ystyr. Mynnai duwinyddion Giessen fod Crist wedi *diosg* ei ddyndod o'i phriodoliaethau Dwyfol; ond mynnai duwinyddion Tubingen mai eu cuddio yn unig a wnaeth. Yn y flwyddyn 1631 y mae cynhadledd yn cael ei chynnal rhwng yr Eglwys Ddiwygiedig a'r Eglwys Lutheraidd i geisio cytuno ar yr athrawiaeth am berson Crist, ond yn ofer. Ni fynnai yr Eglwys Lutheraidd roddi i fyny y golygiad fod dyndod Crist wedi ei chynysgaeddu â phriodoliaethau Dwyfol; ac ni fynnai yr Eglwys Ddiwygiedig aberthu ei wir ddyndod. Yng nghanol yr holl ddadleuon hyn ni feddyliodd neb fod yn bosibl i Grist ddiosg ei Dduwdod o'i phriodoliaethau.

4. Yn yr ail chwarter o'r ganrif hon, cyfododd rhai yn dysgu fod Duwdod y Mab wedi myned dan gyfnewidiad tufewnol yn ei ymgnawdoliad. Rhaid olrhain hyn i amryw ddylanwadau.

(1). Athroniaeth yr Almaen, yr hon sydd oll-dduwiaidd a gelyniaethus i bob deuoliaeth *(dualism).* Addefai Theistiaid Cristionogol y wlad honno, yn groes i'r Pantheistiaid, fod gwahaniaeth rhwng ysbryd a mater, a rhwng dyn a Duw. Ond y mae Pantheistiaeth yn awyr feddyliol y wlad, fel y mae dadblygiad yn awyr feddyliol ein gwlad ni yn y dyddiau hyn, ac yn dylanwadu ar feddyliau ac iaith rhai nad ydynt yn ei chredu. Pâr hyn duedd i ddiddymu hyd y gellir y gwahaniaeth sydd rhwng y natur ddynol a'r Ddwyfol ym mherson y Gwaredwr. Ond i ddiogelu math o Dduw-ddyn, dywedant y gall Duwdod ddyfod yn ddyndod a dyndod yn Dduwdod—y cyntaf trwy ymwaghad, a'r olaf trwy ddadblygiad. Amhosibl, meddynt, yw i Dduwdod Perffaith ddyfod i undeb â dyndod heb i ddyndod gael ei ddiddymu gan y Duwdod. Ond rhaid ydyw dal fod ei ddynoliaeth yn berffaith, neu roddi i fyny gymeriad hanesyddol yr Efengylau. Nid oes felly yn aros ond tybio fod y Duwdod yn mherson y Mab wedi rhoddi heibio ei briodoliaethau. Ond pa briodoliaethau ? a pha bethau a roddodd heibio ? Ar hyn ni chytunant. Dywed Gess ei fod wedi

rhoddi i fyny ei holl briodoliaethau Dwyfol, ei ymwybyddiaeth Ddwyfol, a'i ewyllys Ddwyfol. Yn ymarferol, cytuna Godet â Delitzch. Dywed y cyntaf ei fod wedi rhoddi heibio ei holl briodoliaethau Dwyfol a'i ymwybyddiaeth Ddwyfol. Dywed yr olaf ei fod wedi rhoddi pob peth heibio ond ei ewyllys Ddwyfol, pwy bynnag ŵyr pa beth yw ewyllys Ddwyfol heb briodoliaethau Dwyfol. Dywed Thomasius mai ei briodoliaethau naturiol yn unig a roddodd heibio. I Canon Gore ymddengys nad oedd Crist mewn meddiant o'i briodoliaethau naturiol ond ar brydiau. Nis gallwn lai na phriodoli y gwahanol olygiadau hyn i anallu i weled fod modd dal undod y person a rhoddi pwyslais ar berffeithrwydd y ddwy natur.

Hefyd, nis gallwn lai na chredu fod daliadau yr eglwys Lutheraidd ar berson Crist wedi cynefino meddyliau yr eglwys honno â'r syniad o undod natur yn ei berson; a phan y daeth y dôn hanesyddol, gwell oedd ganddynt roddi i fyny Dduwdod Crist na rhoddi i fyny undod natur yn ei berson, nac ychwaith gymeriad hanesyddol yr efengylau.

Trachefn, y mae yn amlwg fod cysylltiad pur agos yn y wlad hon rhwng athrawiaeth yr ymwaghad fel y dysgir hi gan y Kenosiaid ag Uwchfeirniadaeth. Amlwg yw fod yr Arglwydd Iesu yn derbyn y golygiad traddodiadol am awduriaeth llyfrau yr Hen Destament. O'r hyn lleiaf nid oes gennym sail i ameu hynny. Ystyriai Canon Liddon fod hynny yn dymchwelyd golygiadau yr Uwchfeirniaid. Ond gwell ganddynt hwy ydyw tybio fod Crist yn ffaeledig, a chan nad ydynt yn gweled pa fodd y gallai o ran ei ddyndod fod yn ffaeledig, tra yr oedd o ran ei Dduwdod yn hollwybodol, dywedant ei fod wedi dodi o'r neilldu ei hollwybodaeth. Nid oes yn Nuwinyddiaeth y Puritaniaid, nac yn Nuwinyddiaeth Eglwys Loegr, gymaint ag awgrym am gyfnewidiad y tu fewn i'r hanfod Ddwyfol hyd y rhan ddiweddaf o'r ganrif hon, a hynny gan ychydig.

Gadewch i ni eto roddi cipdrem dros Dduwinyddiaeth Gymreig, i edrych pa le sydd ynddi i athrawiaeth yr ymwaghad yn ei hystyr ddiweddaraf. Mae'n debyg yr addefa pawb mai y Diwygiad Methodistaidd a roddodd symbyliad i lenyddiaeth Dduwinyddol y genedl. Cawn ffrwyth addfetaf y deffroad hwn yn emynnau Williams, Anne Griffiths, a Charles (hynaf) Caerfyrddin. Troer i'r emynnau canlynol yn yr argraffiad diweddaf o lyfr hymnau y Methodistiaid Calfinaidd:— 140, 198, 311, 182, 191, 381. Difynnwn ychydig o'r tri awdwr hyn:—

Henffych Iesu'r Duw tragwyddol,
  Gwir a sanctaidd, berffaith ddyn!
Dwy ryw natur mewn un person—
  Syndod Nefoedd fawr ei hun!
A phob natur a phriodoledd
  Eto 'n hollol gadw ei lle;
Dyndod heb gymysgu â Duwdod—
  Priod f'enaid byth yw E'.

WILLIAMS.

Efe yw'r Iawn fu rhwng y lladron,
  Ddioddefodd yno angeu loes;
Nerthodd freichiau ei ddienyddwyr,
  I'w hoelio yn greulawn ar y groes;

Wrth dalu dyled pechaduriaid,
 Ac anrhydeddu deddf ei Dad,
Cyfiawnder oedd yn hardd ddisgleirio,
 A minnau'n rhydd trwy'r cymod rhad.

Fy enaid gwel y fan gorweddodd
 Pen brenhinoedd, awdwr hedd;
Y greadigaeth ynddo'n symud,
 Yntau'n farw yn y bedd;
Rhan a bywyd colledigion,
 Rhyfeddod holl angelion nef;
Gwel'd Duw mewn cnawd, a'i gydaddoli
 Mae'r côr yn gwaeddi "Iddo Ef."

ANNE GRIFFITHS.

Uchelderau mawr ei Dduwdod,
A dyfnderoedd ei ufudd-dod,
Sy'n creu synnu fyth ar synnu
Yn nhrigolion gwlad goleuni.

D. CHARLES.

Nid oes modd gosod allan Dduwdod perffaith, dyndod perffaith, ac undod person Crist yn fwy clir.

Nid wyf yn meddwl i neb yng Nghymru feddwl am ymwaghad yn yr ystyr o gyfnewidiad tufewnol yn Nuwdod Crist, hyd nes y dechreuodd y diweddar Brifathraw Dr. Edwards ymgodymu â'r pwnc. Nid wyf yn sicr na ddiferodd ambell air dros ei wefusau, pan yn yr ymdrech hon, fuasai yn temtio ambell un i feddwl ei fod yn dal ymwaghad yn yr ystyr y soniwn am dano. Ond anhêg ydyw cyfeirio at y cyfryw eiriau fel mynegiad o'i wir olygiad. Dyma ei eiriau olaf ac addfetaf ar y pwnc mi gredaf: 'Efe a'i gwagbaodd ei hun.' Pa fodd? Trwy gymeryd arno agwedd gwas. Nis gellir dirnad am ddim byd mwy. Meddylier pwy ydoedd. Yr oedd yn Fab Duw. Yr oedd yn ffurf Duw, yn hanfod a natur Duw. *Efe* a ddaeth yn was, a hynny mewn gwirionedd. Efe a'i gwaghaodd Ei Hun, ei holl berson a'i holl briodoliaethau, i'w waith o ufudd-dod, fel yr oedd y gwaith trwy hynny yn ogymaint a'i berson. Yr oedd yn aros yn Hollalluog, ond rhoddodd y gallu hwnnw i'w waith o ufudd-dod. Ni ymddihatrodd erioed o'i hollwybodaeth, ond fe roddodd ei hollwybodaeth yn gwbl, ïe, yr oll ag oedd Ef ei Hunan—Efe a waghaodd yr oll i weithredoedd o wasanaeth. Nis gall fod hunanwaghad uwch a mwy gwirioneddol na hyn. Golyga y geiriau iddo ddyfod yn was fel Duw yn ogystal ag fel dyn. Cymeraf y geiriau yn llythyrennol. Pan yr aeth i gyfamod â'i Dad fel y Gair Dwyfol y derbyniodd ac yr ufuddhaodd orchymyn ei Dad, ond trwy hynny a ddaeth yn ufudd hyd angeu. Ni bu y Duwdod ym Mherson Crist farw, ond bu popeth ond hynny farw. Yn wir yr oedd hyd yn oed y Duwdod ym Mherson Crist o dan guddiad wyneb ei Dad. Yr oedd yna ymdeimlad o ddigofaint Duw wedi ei drosglwyddo i ymwybyddiaeth yr uniganedig Fab,"—"Athrawiaeth yr Ymwaghad," cyhoeddedig gan Davies ac Evans. Y mae rhai o'r brawddegau nad ydwyf yn deall eu hystyr. Y frawddeg sydd yn dechreu "Pan yr aeth i gyfamod â'i Dad," &c. A ydyw yn golygu fod y Mab yn ufuddhau er tragwyddoldeb? Dywediad beiddgar hefyd ydyw fod y

Duwdod ym mherson Crist dan guddiad wyneb Duw, er ei fod yn dyfod gyda gras oddiwrth ŵr o feddwl a gwyleidd-dra y diweddar Dr. Edwards. Ond un peth sydd sicr. Nid yw yn golygu fod ymwaghad yn cynnwys cyfnewidiad tufewnol yn Nuwdod Crist. Y mae ymadroddion diamwys ar hyn yn yr anerchiad y cyfeiriwyd ato uchod. Ond pa beth a feddylia pan y dywed, "Efe a'i gwaghaodd ei hun, ei holl berson, a'i holl briodoliaethau i'w waith o ufudd-dod"? Tybed ein bod yn gywir pan yn ceisio ei egluro fel y canlyn? Daeth i sefyllfa nad oedd i ddefnyddio ei Hollalluogrwydd i godi ei hun uwchlaw gwendidau dibechod ei natur ddynol, na'i dragwyddoldeb i godi ei natur ddynol uwchlaw deddfau amser, na'i hollbresenoldeb i godi ei gorff uwchlaw deddfau lle, na'i hollwybodaeth i wneud yn ddiangenrhaid iddo weithredu ffydd a gobaith; ac hefyd pan y mae yn rhinwedd ei briodoliaethau Dwyfol yn cyflawni gwyrthiau ac yn cynnal ac yn llywodraethu y greadigaeth ei fod yn gwneuthur hynny fel gwas i'w Dad. Os nad ydwyf wedi cael allan ei feddwl, byddaf ddiolchgar os bydd i rywun fy nghywiro. Ond y mae ei deilwng fab, y Prifathraw Dr. Charles Edwards, wedi rhoddi cam ymhellach. Dywed ef fod yr ymwaghad yn cynnwys cyfnewidiad yn yr hanfod Ddwyfol fel y mae ym Mherson y Mab. Deil fod i'r Gair ddau hanfodiad ar yr un pryd—un fel y Gair tragwyddol yn y Drindod, a'r llall fel y Gair wedi ymgnawdoli; fod y Gair fel y mae yn hanfodi yn y Duwdod mewn meddiant o'i briodolaethau naturiol, a'r Gair fel y mae wedi ymgnawdoli hebddynt. Dywed hefyd fod yr oll a berthyn iddo fel y Gair tragwyddol yn yr Hanfod yn gystal a'r oll a berthyn iddo fel y Gair wedi ymgnawdoli i'w briodoli i'r person. Ond nad ydyw yr hyn a briodolir i'r natur Ddwyfol i'w briodoli i'r natur ddynol, na'r hyn a berthyn i'w natur ddynol i'w briodoli i'w natur Ddwyfol; nac ychwaith pob peth a briodolir i'w Dduwdod mewn un sefyllfa i'w briodoli i'w Dduwdod mewn sefyllfa arall. Fel hyn deil y Prifathraw Dr. Charles Edwards ei afael yn dŷn ym mherffeithrwydd Duwdod a dyndod Crist, ac hefyd yn undod ei berson; ac, os yn gywir, gwna le i ymwaghad yn yr ystyr o gyfnewidiad tufewnol yn Nuwdod Crist. Nid wyf ar hyn o bryd am gynnyg beirniadu y gwahanol olygiadau ar ymwaghad a grybwyllir yn yr ysgrif hon, am mai fy amcan ydyw rhoddi adroddiad syml a gwerinol o hanes yr athrawiaeth. Pa fodd bynnag, gallwn ddweyd hyn: nad yw hanes yr athrawiaeth yn ffafrio y dybiaeth fod y Gair pan y gwnaethpwyd ef yn gnawd wedi ymddiosg o'i briodoliaethau Dwyfol, ac mai peryglus ydyw myned yn erbyn cydsyniad cyffredinol yr eglwys am gynifer o ganrifoedd heb y profion cryfaf. Byddai yn dda gennyf gael erthygl eto yn y TRAETHODYDD ar "Ymwaghad yng Ngoleuni ei Anhawsterau," ac un arall ar "Ymwaghad yng Ngoleuni yr Ysgrythyrau." Meddyliwn unwaith am geisio gwneud hynny fy hunan. Ond y mae Rhagluniaeth fel pe yn fy arwain at orchwyl arall sydd yn fwy na digon i mi am rai blynyddoedd. Maddeued eich darllenwyr a'ch gohebwyr i mi am gymeryd fy hyfdra i awgrymu y fath beth ar derfyn hyn o erthygl.

DAVID ROBERTS.

*Rhiwbryfdir.*

*

## Y TADAU APOSTOLIG.*

YR ydym wedi darllen y gyfrol hon â chymysg deimladau. Ar y cyntaf teimlem fod ieithwedd ddieithr yr ysgrifennydd yn anhyfryd gennym, ac yn anghyfaddas neillduol i'r pethau yr ymdrinir â hwy ganddo; ond wrth fyned ymlaen enillid ni yn rhyfedd i'w hoffi. Heblaw fod neillduolion yr iaith yn ennill arnom nes peri i ni ddodi o'r neilldu ein syniadau cyntaf, a cholli ein hargraffiadau dechreuol, da oedd gennym ddeall ein bod yn darllen gwaith gŵr ag oedd wedi cyrraedd dirnadaeth deilwng o'r dasg a osodasai iddo ei hun, trwy ymchwiliad tra thrylwyr yn yr holl bethau a berthyn i'r pynciau a ddygir i'n sylw ganddo. Mae Mr. Davies ei hun wedi ein gwneud, ni goeliwn, yn gyfiawn, fel, os bydd raid i ni ei guro, nas gallwn amgen nai "guro yn garedig," ac ni thyr ein holew pennaf ei ben pe ymgymerem a'r gorchwyl hwnnw. Yr ydym yn estyn ein llaw iddo yn y dechreu fel gŵr sydd wedi gwneud gwaith rhagorol.

Er mwyn i'n darllenwyr ddeall y cyfeiriad a wnaed at ieithwedd y gyfrol sydd o'n blaen, dyfynnwn rai darnau sydd wedi eu nodi gennym yma ac acw. Wele rai brawddegau:—"O ran ei lenyddiaeth, oes ddistaw iawn yw y cyfnod o gylch 80 C.C. hyd 130 neu 140 C.C.† Dilys fod llawer mwy o draethodau wedi cael eu hysgrifennu yn ystod yr amser hynny nag y sydd bellach ar glawr. . . . . Y mae yn eithaf sicr nad oedd mor Tadau hyn yn meddwl am foment y byddai efrydwyr Cristianus mewn canrifoedd lawer ar ol hynny yn chwilio eu llythyrau yn ddyfal gyda'r diben o olrhain hanes y Ffydd a threfn yr Eglwys gysefinol, onide, byddent yn debyg i gofnodi amgylchiadau yr Eglwys a'i threfniadau yn llawer manylach nag y darfu iddynt wneuthur." "Wrth ddarllen . . . . dylai y darllennydd gwybodgar gofio beth oedd amgylchiadau yr awdwr." "Oddigerth Ignatius, y mae yr awduron hyn eto yn gymharol ddistaw yng nghylch y materion cyfluniol hynny a elwir yn gyffredin *allanolion* crefydd. Os nad yw pob un o'r Tadau yn crybwyll yn bendant am y pethau hyn, dull gwirion ac anghelfydd iawn o chwilio llenyddiaeth ydyw. . . . . Paham, er engraifft, yr anwybyddir tystiolaeth eglur yr Ysgrythyr i'r Ordinhad o Gyfrymiad? . . . . Y mae y diystyrdod hwn o Ordinhad Cyfrymiad yn deilwng o'n sylw, nid yn unig o achos y pwysigrwydd y sydd ynddo ei hun fel Ordinhad Apostolig, ond o achos ei fod yn arwyddocaol o duedd i hepgor pob cyfundrefn o foddion gosodedig ac apostolig." "Pwy bynnag a fynno fod yn arallfarn ar y pwnc." "Y

* *Y Tadau Apostolig*, cyfieithiedig gan J. Edwin Davies, B.A., Curad Llanwrin. Bangor: Jarvis and Foster.

† Diau fod yr awdwr wedi bod rywfodd yn amryfus yn ei ddull o ddynodi blynyddoedd drwy bron yr holl gyfrol. "Cyn Cred" neu "Cyn Crist" mae'n debyg yw c.c., ac felly wele yma lenyddiaeth Gristionogol 140 o flynyddoedd "Cyn Cred." Yr un modd dywedir mai "o gylch y flwyddyn 95 c.c. (Cyn Crist) yr ysgrifennodd Clement ei epistol." Ysgrifenwyd hefyd Lythyrau Ignatius o gylch y flwyddyn 116 c.c. Erfyniwn faddeuant yr awdwr os ydym yn camgymeryd; onid o.c. a ddylai fod?

mae dadleu garw wedi bod, er ys amryw flynyddoedd . . . . Y prif achos o'r anfoddlonrwydd i arddel awdurdodrwydd ei lythyrau ydyw fod Ignatius . . . . yn rhoddi ar ddeall i ni fod yr esgobawd yn sefydledig yn ardaloedd cred." "Dyna hefyd, fel rheol, beth yw hanes iawngred y cyrff Ymneillduol i gyd." "Un o wendidau Protestaniaeth Ymneillduol—neu y drefn gystadleuol—yw ei thuedd i aberthu elfennau oesol cyfluniodraeth, a meithrin yr ysbryd cyfriniol, yr hwn sydd a'i anianawd yn anghydweddol â gofynnion cymdeithasol brawdoliaeth grefyddol, ac felly yn dueddol i afradloni grym adgynyrchiol ac ymdaenol y gwir." Wrth fwrw ein golwg yma ac acw, ar amcan, megys, gwelwn ymadroddion fel y canlyn: "trwy gyfrwng traddodiad geneuol," "nad yw mo'u cymharol ddistawrwydd," "yr addysg efangylaidd," "dygasogion yr *ecclesiastical dogmas*," "damcaniaethau ysgolion Roeg," "gryn fesur o rydd-did," "i gyd yn gynysgaeddol ag awdurdod urddasol," "ein gwasanaeth a'n sagrafennau.'

Wrth ddyfynnu y gair olaf hwn adgofir ni o beth a awgrymid i ni yn fynych wrth ddarllen y gyfrol sydd o'n blaen, a hynny ydyw, fod yr awdwr (neu "awdur") yn ddiau yn gwybod, fel y dywed ef yn fynych am ereill, "beth oedd ei ergyd," wrth ysgrifennu Cymraeg mor wahanol i'r hyn a geir mewn "llenoriaeth" gyffredin. Gwedi cyfrif iddo beth o dafodiaeth gwerin, teimlwn fod ei gynnefindra hefyd â hen ysgrifeniadau Cymru yn ei arwain i arddull a all fod yn rymus a nodweddiadol neillduol. Ni buasem yn aros gyhyd ar y fath bethau a hyn oni buasai ein bod yn awyddus i ddarllenwyr llyfr da beidio cael eu rhwystro gan ddieithrwch ag y mae, mewn gwirionedd, elfennau rhagorol iawn ynddo. Da fuasai gennym i waith Mr. Davies hyrwyddo yr ymdrech i wneud yn gyffredin hen eiriau fel *sacrafen* neu *sagrafen* yn lle *sacrament*, a rhai ereill cyffelyb a ddefnyddir ganddo.

Feallai mai nid afreidiol yw dwyn ar gof i'r darllennydd beth a feddylir wrth y "Tadau Apostolig." Ni fynnem gweryla â'r ffurf yma, "Apostolig" yn lle "Apostolaidd;" ond oni ddylasai yr awdwr hefyd ddweyd "Ysgrifeniadau Canonig" yn lle Canonaidd? Cynwysir dan yr enw hwn nifer o ysgrifeniadau ag y mae sail lled ddiogel i gredu eu bod wedi eu hysgrifennu mewn cyfnod o hanner cant neu driugain mlynedd rhwng A.D. 80 neu 90 ac A.D. 140. Nis gellir bod yn sicr o unrhyw un o'r ffigyrau hyn, eto gwasanaethant i roddi i ni syniad cymharol gywir am yr adeg y perthyn y llenyddiaeth Gristionogol foreuaf iddi. Enw camarweiniol iawn yw yr enw "Tadau Apostolaidd," seiliedig ar y dyb fod yr ysgrifenwyr yn gydnabyddus fel disgyblion â'r apostolion eu hunain. Ond tra y mae lle cryf i ameu y dyb hon gyda golwg ar y rhan fwyaf o honynt, ac nad oes prawf uniongyrchol o honi gyda golwg ar gymaint ag un, mae yr enw yn wag o bob awgrym am *gynnwys* yr ysgrifeniadau eu hunain: mae hefyd yn cau allan ysgrifeniadau ereill pwysig a berthynant i'r un adeg. Enwau y gwŷr y tybir fel hyn am danynt yw, Barnabas, Hermas, Clement o Rufain, Ignatius, Polycarp, at y rhai yr ychwanegir mewn amryw gasgliadau, Papias, ac awdwr Epistol prydferth hynod a elwir "Yr Epistol at Diognetus." Ychwanegir hefyd, yn awr, dan yr un enw o "Dadau Apostolig," y traethawd byr a elwir y Didache, neu Ddysgeidiaeth yr Apostolion. Mewn byr eiriau, cynwysa y casgliad fel y ceir ef yng nghyfrol Mr.

Davies, ysgrifeniadau dan enwau y gwŷr uchod yn y drefn a ganlyn:—(1) Llythyr a anfonwyd gan, "Eglwys Dduw yr hon sydd yn Rhufain." "Yr ydym," meddir, "wedi hir oedi ysgrifennu atoch, oherwydd y drygau a'r anffodau disyfyd a dibaid a ddioddefasom yn ddiweddar, i benderfynu y dadleuon sydd wedi codi yn eich plith." Cyfieithiad Mr. Davies yw y geiriau hyn; ond fe welir wrth edrych i'r gwreiddiol ei fod yn gadael allan y gair "anwylyd," ac hefyd yn dwyn i mewn ystyr anghyson â dyben y llythyr wrth ddweyd "i benderfynu." Nid oedd eglwys Rhufain yn ymgymeryd a *phenderfynu* y dadleuon a godasai yng Nghorinth, ac nid yw y meddwl o gwbl yn y geiriau Groeg. Y diben oedd anfon llythyr brawdol i alw sylw eglwys Corinth at bethau anheilwng oedd wedi eu gwneud ynddi, a'u cymell i ddiwreiddio y drwg. "Chwi a berwch lawenydd a hyfrydwch mawr i ni os gwrandewch ar yr hyn a ysgrifenasom atoch trwy yr Ysbryd Glân, i fwrw o honoch ymaith ddigllonedd anghyfiawn yr eiddigedd presennol, fel yr ydym yn ymbil â chwi yn y llythyr hwn." Llythyr eglwys ydyw, fel y gwelir, ac nid oes gymaint ag enw yr un a'i hysgrifennai ynddo o gwbl. Y man cyntaf y ceir enw Clement ynglŷn â'r llythyr yw yn un o weithiau Clement arall oedd yn byw yn Alexandria ar ol A.D. 200. Eto bernir yn gyffredin fod y flwyddyn a enwir gan Mr. Davies, sef tua A.D. 95, yn cydweddu yn gymwys a chynnwys y llythyr, a cheir y rhesymau dros y farn honno wedi eu gosod i lawr yn gryno ganddo yma. Ysgrifenwyd ef gan Clement, yn ol ein barn ni, nid o gwbl fel esgob Rhufain er mwyn "penderfynu" materion eglwys arall, ond fel gŵr o safle a gallu ganddo i osod i lawr, mewn ysgrifen, deimladau yr eglwys yr oedd yn aelod o honi, yng wyneb y pethau angharíadus a godasai yn eglwys Corinth. Naturiol yw disgwyl fod llythyr o'r fath yma, ar adeg mor foreu, pan yr oedd rhai eto yn fyw a fuasent yng nghymdeithas apostolion yr Arglwydd, yn llawn o bethau dyddorol. Ni siomir neb a'i ddarllenno gyda'r disgwyliad yma. Ond mae agos bob brawddeg o hono wedi bod yn destyn ymchwiliadau aiddgar i edrych beth a ddywed am y "cwestiynau anorffen" ynglŷn â "natur eglwys," a'r weinidogaeth a berthyn i'r eglwys. Rhoddir sylw arbennig i hyn gan Mr. Davies yn y gyfrol hon.

(2). Yr ail o'r ysgrifeniadau boreuol hyn yw pregeth, a alwesid, yn gyfeiliornus, ar enw yr un Clement, dan y titl "Ail Epistol Clement at y Corinthiaid." Dyma y bregeth hynaf sydd ar gael yn yr eglwys, ac y mae yn werthfawr fel dangoseg o'r anerchiadau oedd yn gyffredin gynt, tua'r flwyddyn 150.

(3). Yn nesaf mae gennym saith o lythyrau a ysgrifenwyd gan Ignatius pan ar ei daith trwy Asia Leiaf i Rhufain, i farw yno fel merthyr. Ysgrifennodd y gwr gwych hwn bump o honynt at eglwysi yn y parthau hynny, un hefyd at eglwys Rhufain, ac un at Polycarp yn Smyrna. Ni ellir dymuno gwell adroddiad nag a roddir, mewn cwmpas byr, gan Mr. Davies o'r holl drafod sydd wedi bod ynghylch awduriaeth ac adeg ysgrifennu y llythyrau hyn. Da gennym gytuno, os meiddiwn fod mor hyf a dywedyd felly, âg ef ar bron bob pen. Heblaw y cyfeiriadau pwysig at arfer yr eglwys tua'r flwyddyn 110, sef yr adeg y merthyrwyd Ignatius, mae y llythyrau yma yn llawn—yn dra llawn

—i bwy bynnag a fynno ddarlun o "weinidog da i Iesu Grist" yn yr amser boreu hwnnw.

(4). Wedi ymadawiad Ignatius i Rufain, a chyn i'r newydd am ei farwolaeth gyrraedd Smyrna, ysgrifennodd Polycarp lythyr at eglwys Philippi, gan anfon iddynt hefyd gopïau o'r llythyrau a anfonasid gan Ignatius at eglwysi Asia ac ato ef ei hun. Hwn yw y nesaf sydd yn y gyfrol hon.

(5). Wedi hynny cawn y *Didache* neu *Ddysgeidiaeth yr Apostolion*, fel y gelwir traethawd byr ymarferol ar fuchedd dduwiol, ac ar drefniadau eglwysig, a ysgrifenwyd rywbryd rhwng y flwyddyn 80 a'r flwyddyn 120. Rhyw ganwyll fechan yw hon, ond y mae yn goleuo ym mhell iawn, gan daflu goleuni i fannau oedd yn dywyll iawn o'r blaen. Mae yn cynnwys cyfeiriadau dyddorol neillduol at fedydd a swper yr Arglwydd, a'r modd i'w gweinyddu yn ddyladwy. Heblaw hynny, gwelir oddiwrtho y modd y parhai yn yr eglwys y bywyd a ddarlunir yn llyfr yr Actau, yn 1 Corinthiaid, ac yn Ephesiaid, ym mharhad yr Apostolion, y Proffwydi, a'r Dysgawdwyr. Dangosir hefyd yn y Traethawd pa fodd i ethol "Esgobion a Diaconiaid teilwng o'r Arglwydd, canys y rhai hyn sydd (neu, mae y rhai hyn) yn cyflawni gweinidogaeth y proffwydi a'r dysgawdwyr." Mawr a dysgedig, erbyn hyn, yw y cyfrolau sydd wedi eu hysgrifennu ar y llyfr bychan hwn a ddaeth i'r golwg mor ddiweddar a'r flwyddyn 1875, ac a gyhoeddwyd rai blynyddoedd yn ddiweddarach. Mae Mr. Davies yn casglu ac yn datgan ei "farn mai o gylch 70 – 90 O.C. yr ysgrifennwyd Didache yr Apostolion."

(6). Yr olaf a roddir i ni yw "Epistol Barnabas." Ni wyddis ddim pwy oedd y Barnabas hwn, ond bernir, fel y dangosir gan Mr. Davies, fod rhesymau da dros osod yr "Epistol" yn rhywle tua A.D. 90.

Drwg gennym fod y cyfieithydd wedi gadael allan ddau waith arall sydd yng nghasgliad Gebhardt, Harnack a Zahn, ac ysgolheigion ereill, i'w cyfrif ym mysg "Y Tadau Apostolaidd." Cyfeirio yr ydym at Weledigaethau, Gorchymynion, a Chyffelybiaethau Hermas, a'r tlysaf o'r holl ysgrifeniadau boreuol, sef, "Yr Epistol at Diognetus." Buasai y Gymraeg ei hun yn llawenychu i gael mynegu pethau prydferth y diweddaf, yr hwn sydd berl ymhlith llyfrau, a diau y llonnid llawer Cymro o'i ddarllen. Yr ydym yn dweyd hyn er ein bod yn lled feddwl y rhesymau a ellid ddwyn dros ei adael allan, ac yn wir a ddygir gan rai o'r prif ysgrifenwyr.

Mae ein hysgrif yn rhedeg yn faith, tra y mae gennym lu o bethau i'w dywedyd am y gyfrol sydd o'n blaen. Diau fod gan Mr. Davies fwriad ac amcan pwysig, iddo ef, yn yr erthyglau sydd yn dilyn y cyfieithiad a'r "Nodiadau ar Ysgrifau y Tadau." Ni pherthyn i ni, ychwaith, ymliw âg ef am ychwanegu y pum' erthygl ar y pynciau (1) Tystiolaeth y Tadau Apostolig i'r Llyfrau Canonaidd, (2) Tystiolaeth y Tadau Apostolig i weinidogaeth yr Eglwys, (3) Tarddiad a natur yr Heresiau Boreuol, (4) Deongliad Arallegol, (5) Yr Eglwys a'r Canon. Eto ein barn syml yw y buasai y llyfr yn llawer mwy ei werth pe heb y rhai hyn. Nid nad yw pob un o'r traethodau yn haeddu eu darllen, ac yn peri i ni feddwl yn uchel am eu hawdwr, ond nad da yw fod gwedd mor ddadleuol ar gymaint o waith a fuasai yn gosod o flaen

ddarllenwyr Cymreig rannau mor werthfawr o lenyddiaeth foreu yr eglwys. Gallasai Mr. Davies gyhoeddi y rhai hyn ar wahan, yn neillduol yr olaf. Coelio yr ydym ein bod yn ddiduedd a diragfarn wrth ddweyd hyn. Ond yr ydym wedi darllen yr oll, ac, fel y dywedasom, yn meddwl yn uchel iawn am yr "Awdur," ys dywed ef. Beth am y Cyfieithiad? Yr ydym eisioes wedi cyfeirio at arddull y llyfr, ond teimlwn, ar y cyfan, fod yr ystyr wedi ei osod yn dda iawn o'n blaen yn y tudalennau hyn. Credwn y buasai llawer yn condemnio aml frawddeg ac ymadrodd, ond, wrth ail ystyried, anturiwn feddwl fod o'n blaen wreiddioldeb, ïe, yn y pethau hynny. Eto *mae* rhai ymadroddion nad ydym yn eu hoffi, megys:—"Yn eu dynsodau hwy mi a'ch gwelais chwi oll â llygaid cariad," "Yr wyf yn cyflwyno fy hun yn offrwm diofrydol," "rhag tagu o honoch," "mewn llawenydd adwythig." Er hyn oll, wedi gosod pethau o'r fath hyn o'r neilldu, yr ydym, gyda llawennydd, yn tystio ein bod yn hoffi y cyfieithiad fel un sydd wedi ei wneyd yn fedrus, gofalus, a chywir, gan ŵr oedd yn caru ei waith.

Nid oes i ni gweryl o gwbl â'r traethawd rhagorol ar "Dystiolaeth y Tadau Apostolig i'r Llyfrau Canonaidd." Gyda golwg ar y nesaf, eu "Tystiolaeth i Weinidogaeth yr Eglwys," yr ydym yn gynefin a'i gynnwys er ys talm. Dyma y cwestiwn yn fyr: Wrth ddarllen y Testament Newydd, cyfaddefir fod yr enw *esgob* neu *esgobion* yr un o ran ei ystyr a'r enw *henuriad* neu *henuriaid*, ac felly pan ddarllennom am "esgobion a diaconiaid" unrhyw eglwys, gwyddom mai yr un peth yw hynny a phe dywedasid "henuriaid a diaconiaid." Mae yr un peth yn wir am *rai* o'r gweithiau a gyfieithir gan Mr. Davies, megys "Llythyr Cyntaf Clement" a "Dysgeidiaeth yr Apostolion." Ni soniwn yn awr am ddistawrwydd rhai ereill nad ydynt yn son am "esgob" lle y disgwylid iddynt wneud hyny. Felly, y casgliad naturiol yw, nad oedd y gyfundrefn sydd yn gofyn *esgob, henuriaid,* a *diaconiaid* fel swyddau *angenrheidiol* yn yr eglwys, mewn bod o gwbl pan ysgrifenwyd y Testament Newydd, nac ychwaith pan ysgrifennai Clement o Rufain at eglwys Corinth, neu awdwr y traethawd a elwir "Dysgeidiaeth yr Apostolion." Nid yw "yr esgobawd," chwedl Mr Davies, neu fel y gellid dweyd, swydd esgob, yn adeg foreuaf yr eglwys, yn ddim amgen na swydd henuriaid, os barnwn oddiwrth holl iaith y Testament Newydd. Dyma hefyd oedd ystad pethau yn eglwysi Rhufain a Chorinth os dilynwn yr arweiniad a geir yng nghynnwys Llythyr Cyntaf Clement, tua A.D. 90, ac nid oes ond yr un casgliad i'w dynnu am y wlad lle yr ysgrifennwyd y Didache ychydig cyn neu gwedi A.D. 100. Buasai gwaith Hermas yn ein cadarnhau yn y gred hon, gan fod yn sicr na wyddai yntau, tua A.D. 100, ddim am esgobion ond fel henuriaid. Nid yw swydd esgob, felly, i'w hystyried, ar un cyfrif, yn *angenrheidiol* i'r eglwys. Dyma y farn y daeth Calfin, yn arbennig, iddi yn ei *Institutes*, a'r gweddill o'r Tadau Protestanaidd, er nad oedd ganddynt, lawer o honynt, unrhyw wrthwynebiad i barhad trefn esgobaethol fel peth oedd wedi tyfu, ac, yn ol amgylchiadau yr eglwys foreuol, wedi tyfu yn naturiol, yn yr eglwys.

O'r ochr arall gwelir yn eglur fod yn Asia Leiaf, beth bynnag, tua'r flwyddyn 110, eglwysi lle yr oedd un gŵr yn esgob, gŵyr ereill yn henuriaid, a rhai ereill yn ddiaconiaid. Pa fodd y daeth y drefn hon i

fod? Barn Mr. Davies, a'r rhan fwyaf yn yr eglwys a gynrychiolir ganddo, yw mai hon yw y drefn, a'r unig un, sydd o osodiad dwyfol, a'i bod yn guddiedig yn y drefn arall y cyfeiriwyd ati o'r dechreu. Mae y cwestiwn yn rhy fawr i ni ei drafod, mewn erthygl o adolygiad fel hon, ond mae yn rhydd i ni ddatgan mai bychan, rywfodd, yw gweled mor aml y defnyddir y fath eiriau ag "efallai," "rhaid i ni gasglu," "rhaid" hyn a'r llall, "wrth bob tebyg," &c., yn sylfaen i'r gred "bod yr olyniaeth apostolig, trwy arddodiad dwylaw, yn elfen anhepgor o'r weinidogaeth," &c., ac yn sylfaen i lawer ymadrodd sydd yn y traethawd olaf—"Yr Eglwys a'r Canon," heb fod a wnelo ond ychydig â'r Canon—sydd yn eglur a chroew gyhoeddi Ymneillduwyr Cymru yn *sismaticiaid*, gan fynych ofalu galw eu heglwysi yn "gymdeithasau crefyddol."

Yr ydym wedi rhoi gair da i Mr. Davies hyd yma: nid ydym eto am ddyweyd yn amgen, gan ein bod yn teimlo ei fod yn ysgrifennu pethau sylweddol. Ond mae y wedd o *ysgolheigdod* sydd ar yr erthygl am y Weinidogaeth, mewn llawer man, yn fregus neillduol: nid yw yr awdwr wedi meistroli ei hanes i'r mesur yr ymddengys i'r anghyfarwydd. Er engraifft, rhaid iddo gael Clement yn "Esgob" Rhufain mewn rhan fawr o'i ymresymiad: cymerir hyn yn ganiataol beunydd. Dyfynwn y frawddeg a ganlyn: "Wrth gyfeirio at Clement, esgob Rhufain, er engraifft, fel y gwna Irenaeus, Tertullian, Jerom, Eusebius, ac amryw ereill, hysbysir y darllennydd yn ddibetrus *mai efe oedd ail olynydd y sylfaenydd Apostolig.*" Wel, mae hynyna yn edrych yn ddysgedig iawn, ac y mae yn bwysig iawn i awdwr yr erthygl. Beth yw y gwir? Ysgrifennai Irenaeus tua'r flwyddyn 180, ac yr oedd ei barch yn ddwfn iawn i eglwys Rhufain, a haeddiannol felly; yr oedd rhestr ei hesgobion yn bwysig yn ei olwg, a rhestr esgobion eglwysi ereill fel dangoseg o ffydd uniawngred yr eglwys, megys pe enwid Prif-weinidogion rhyw gyfnod yn hanes ein gwlad ni, er dangos beth oedd golygiadau politicaidd Tŷ y Cyffredin yn y cyfnod hwnnw. Eto, mae hyd yn oed Irenaeus, mor foreu ag 180, yn syrthio i gamgymeriad pwysig cyn rhoi ei restr; y camgymeriad hwnnw yw mai Pedr a Paul oedd sylfaenwyr eglwys Rhufain, ac yn wir mae Mr. Davies ei hun, bron fel pe bai wedi syrthio i'r unrhyw, wrth son am "y sylfaenydd Apostolig." Ond dyma restr Irenaeus o esgobion Rhufain: *Petr, Linus, Anencletus, Clement;* dyma eto restr Jerom, *Petr, Linus, Cletus Clement,* ac â hwy o ran safle Clement y cytuna Eusebius. Gwelwn fod Mr. Davies yn anghywir gyda thri o'r pedwar awdurdod a enwir ganddo, tra yn gywir gydag un, ond yn anghywir hynod mewn mynegu eu cydgordiad â'u gilydd. Peth bychan yw hyn, fe ddywed rhywun, ond dengys nad yw llawer ysgrifennydd yn fyw i anhawsterau a berthyn i'r fath bethau a rhestrau tybiedig o "esgobion" yr eglwysi penuaf, ac mor ofer yw y rhith o bethau ar ffurf hanes, y mynnir gwneud o honynt sylfaeni athrawiaethau pwysig a difri, pe baent wir. Gŵyr pob un sydd wedi rhoi sylw dyladwy i hanes, beth yw ffrwyth ymchwiliadau Lipsius a Harnack, er engraifft, i'r pethau hyn; felly nid hoff yw gennym ddarllen ymresymiadau meithion, hoenus eu tôn, sydd heb sylwi ar bethau tywyll, nac ar geisiadau gwych sydd wedi eu gwneud i'w dwyn i oleuni. Rywfodd, fe fyn y gred ei lle na fu na Linus na

Cletus na Chlement, nac arall o'r rhai blaenaf a enwir yn rhestr Irenaeus, erioed yn esgob Rhufain. Felly yr ydym yn disgwyl cais teg, mewn llyfr a fynn ymdrin am yr "esgobawd" foreuol yn Rhufain, a Chorinth, a Philippi, ac Alexandria, i symud y maen hwn o'n ffordd.

Cyfaddefwn yn rhwydd fod "esgob" yn gyffredinol ymhob eglwys tua chanol yr ail ganrif, ond yr ydym yn methu credu fod Linus na Chlement yn esgobion Rhufain mwy na'r apostol Pedr ei hun. Hawdd oedd i ysgrifenwyr tua'r flwyddyn 200, ddyfalu fod gwŷr hynod eu buchedd a'u gwaith, y rhai a enwid gyda pharch gan draddodiad eglwysi, yn "esgobion" yn yr eglwysi hynny, a'u bod felly yn ol eu hystyr hwy. Nid ydym yn gwneud càm â Mr. Davies, dywedwn eto ei fod wedi ei hudo i ddefnyddio pethau bregus yn sylfeini. Ar tudalen 248 sonia hefyd am "gymmanfa Eglwysig a gymerasai le yn Ephesus, ond nid yw Irenaeus yn camgymeryd y tro hwn (gwel iii. 24, 2) er yr *ymddengys* Mr. Davies fel pe yn awgrymu hynny; yn ol Llyfr yr Actau (xx. 17), ym Miletus y bu y "Gymmanfa Eglwysig" honno.

Gwnai yr awdwr ei gymwynas o waith llafurfawr a da yn fwy ei gwerth i'r Cymry, pe buasai, fel yr awgrymasom o'r blaen, yn tori ei gyfrol yn ddwy ran, sef, y Gyntaf, tudalenau 1—235, yr Ail, 237—385. Ni a ddarllennem ac a gymhellem ddarllen y gyntaf fel llyfr rhagorol ar weithiau gwerthfawr i bob Cristion; ni a ddarllennem yr ail, gan barchu yr awdwr a'i waith, i feddwl ac ystyried "a yw y pethau hyn felly?"

HUGH WILLIAMS.

*Bala.*

---

# BETH YW Y GWIR AM NERTH CRISTIONOGAETH YN Y CANRIFOEDD CYNTAF.*

## I.—RHIF Y CRISTIONOGION.

Y MAE y wedd lewyrchus geir ar Gristionogaeth yn y byd yn rhagdybied cynnydd mawr. Dechreuodd yn fychan, ac ni raid petruso dyweyd fod y gronyn had mwstard eisoes wedi myned yn bren mawr. A fu y cynnydd yn gyflym a chyson sydd gwestiwn na ellir ei ateb heb radd o gydnabyddiaeth â Hanes yr Eglwys. Y mae y ffaith alarus fod crefydd Crist yn ddirywiedig iawn, yn yr oesoedd hyn, mewn rhai gwledydd y bu yn flodeuog iawn ynddynt unwaith, yn dangos fod y

* *Neglected Factors in the Study of the Early Progress of Christianity.* By the Rev. James Orr, D.D., Professor of Church History in the U. P. Theological College, Edinburgh. London: Hodder and Stoughton.

llwyddiant wedi bod yn fwy nag yr ymddengys ar yr olwg gyntaf. A ydym yn ymwybodol i'r graddau y dylem fod o'r ffaith fod y llwyddiant a fu ar yr efengyl yn oesoedd boreuaf yn llwyddiant mawr a chyflym anarferol? Deil Dr. Orr mai golwg hanerog y mae rhai o'r haneswyr wedi roddi i ni ar y pwnc hwn, ac fod ffeithiau pwysig ynglŷn â hyn mewn perygl o gael eu hesgeuluso gennym, os nad ydynt yn wir yn barod yn cael eu hesgeuluso yn ormodol gennym. Sylwer ar y cyfeiriad at ffeithiau a esgeulusir (*Neglected Factors*) yn y titl a ddewisodd roddi i lyfr yr ydys yn cyfeirio ato yn ein hysgrif. Rhydd ar ddeall fod ffeithiau a esgeuluswyd gan rai yn yr ymchwiliad a wnaed ganddynt i gynnydd boreuol Cristionogaeth. Deil allan fod camargraff wedi ei gynnyrchu, ac heb ei llwyr symud eto, am faint a chyflymder y cynnydd fu ar Gristionogaeth yn y canrifoedd cyntaf, ac y mae o'r farn fod cyfartaledd y Cristionogion i'r Paganiaid o fewn Ymherodraeth Rhufain yn llawer mwy nag yr arferwyd ein harwain i gredu ei fod.

Gwna yr hanesydd Gibbon yn gyfrifol i raddau am y cam argraff hwn. Y mae gwaith llenyddol mawr Gibbon ar Ddirywiad a Chwymp Ymherodraeth Rhufain yn lled adnabyddus. Daeth y bwriad o ysgrifennu y gwaith hwn i feddwl yr awdwr pan oedd yn sefyll un diwrnod yn nghanol adfeilion yr amddiffynfa a elwir y Capitol. Enw yw Capitol ar un o'r saith bryn ar y rhai y mae Rhufain wedi ei hadeiladu, ac un a roddodd ei enw i'r Amddiffynfa a adeiladwyd arno. Bu wrth y gwaith hwn am ugain mlynedd; ac yr oedd yn ysgrifennu y geiriau olaf o hono yn Lausanne ar y 27ain o Orphennaf, 1787. Cynnwysa ddeg a thriugain o benodau o 40 i 50 o dudalennau bob un. Yn y penodau cyntaf rhydd olwg i ni ar wladlywiaeth gyfrwys y Cæsariaid, y rhai am dymhor maith a ddygasant y llywodraeth ymlaen ar enw a delw Gweriniaeth Rydd. Wedi hynny â ymlaen i ddesgrifio yr anhrefn ofnadwy dan y Dra Arglwyddiaeth Filwrol (*The Military Despotism*) fu yn teyrnasu am lawer o flynyddoedd. Wedi egluro y pethau yna yn fanwl yn y pedair pennod ar ddeg cyntaf, rhydd yn y bymthegfed bennod grynhodeb tra chynwysfawr o hanes cychwyniad Cristionogaeth. Geilw y llwyddiant fu ar Gristionogaeth yn ei dechreuad yn llwyddiant cyflym; a noda bump o achosion neu, fel y cytuna i'w galw, ail achosion, sydd, yn ol ei farn ef, yn cyfrif i raddau am y llwyddiant cyflym hwn:—

1. Sel y Cristionogion a'u cred ddiysgog mai eu crefydd hwy yw yr unig grefydd ddwyfol.
2. Y lle mawr a roddir ynddi i'r sefyllfa ddyfodol ac anfarwoldeb yr enaid.
3. Y gallu gwyrthiol y credid iddo gael ei ddangos gan ei Sylfaenydd a chan ei apostolion.
4. Moesau pur y Cristionogion.
5. Yr undeb agos a'r ddisgyblaeth fanwl, geid ym mysg ei deiliaid.

Goddefer i mi roi ychydig o ddyfyniadau o'r bennod ddyddorol hon ar ddygiad Cristionogaeth i mewn. Medd ynddi,—

"Yr oedd y grefydd Iddewig wedi ei chyfaddasu yn rhyfeddol er amddiffyn, ond ni fwriadwyd hi erioed i ymosod a gorchfygu; ac y mae yn debyg na fu nifer y Proselytiaid iddi erioed yn fwy na nifer y gwrthgilwyr a ollyngent afael

o honi. Ymddengys crefydd Moses fel un wedi ei sefydlu ar gyfer un wlad neillduol yn gystal ag ar gyfer un genedl neillduol; a phe buasai ufudd-dod manwl yn cael ei dalu i'r gorchymyn i bob gwryw ymddangos ger bron yr Arglwydd yn Jerusalem dair gwaith yn y flwyddyn, buasai yn amhosibl i Iddewon y tu allan i derfynau cyfyng gwlad yr addewid ddal eu cysylltiad â hi. Yr oedd y ddefod waedlyd, ac yn wir, beryglus o enwaedu, pe na buasai dim arall, yn ddigon i beri i aml un a fuasai yn ewyllysio dyfod yn broselyt ymgadw ymhell o ddrws y Synagog.

"Dan yr amgylchiadau hyn dyma Gristionogaeth yn cynnyg ei hun i'r byd, wedi ei harfogi â holl rym cyfraith Moses, ac ar yr un pryd yn rhydd oddiwrth bwysau llethol ei chadwynau a'i seremoniau. Yr oedd y sel eithriadol dros wirionedd ac undod Duw yn cael ei feithrin mor ofalus ganddi ag y gwneid dan yr hen gyfundrefn; a pha beth bynnag oedd yn cael ei ddatguddio yn ychwanegol yn awr i blant dynion am natur a bwriadau y Goruchaf yr oedd o duedd i gynyddu eu parchedigaeth i'r athrawiaeth gyfriniol honno. Yr oedd awdurdod ddwyfol Moses a'r prophwydi yn cael ei gydnabod, ac hyd yn oed ei gadarnhau, ac yn cael ei ystyried fel sylfaen gadarn i Gristionogaeth. Trwy gyfres ddidor o ragfynegiadau er dechreuad y byd yr oedd y ffordd wedi ei pharatoi, a disgwyliad wedi ei gynhyrchu am y Messiah, yr hwn yr oedd syniadau bydol *(gross)* yr Iddewon yn fwy chwannog o'i bortreadu yn Frenin a Choncwerwr nag yn Brophwyd, Merthyr, a Mab Duw. Trwy ei aberth dyhuddol y mae yn llyncu i fyny ac yn dileu aberthau amherffaith y deml. Dilynwyd y Ddeddf Seremoniol, a wneid i fyny o gysgodau a ffugyrau, gan addoliad pur ac ysbrydol addas i bob hinsawdd yn gystal ag i bob sefyllfa o blant dynion, ac yn lle y ddefod waedlyd ar dderbyniad i mewn i gymundeb sefydlwyd y ddefod fwy llednais ac esmwyth o fedyddio â dwfr. Y mae yr addewid o ffafr ddwyfol yn lle cael ei chyfyngu i hiliogaeth Abraham yn cael ei chyhoeddi yn ddiwahaniaeth i'r caeth a'r rhydd, i'r barbariad ac i'r Groegwr, i'r Iddew ac i'r Cenedl ddyn. Pob rhagorfraint a allai godi y pro elyt o'r ddaear i'r nef, ac oedd o duedd i ddyrchafu ei ddefosiwn, i sicrhau ei ddedwyddwch, neu hyd yn oed i borthi ei falchder cuddiedig—yr hwn dan gochel defosiwn a ymwthia yn lladradaidd yn fynych i'r galon ddynol—yr oedd yn cael ei chadw yn ofalus i aelodau yr eglwys Gristionogol; ond, ar yr un pryd, fe caniateid i holl blant dynion i fwynhau, ïe, erfynnid yn daer ar iddynt dderbyn y fraint ardderchog hon oedd nid yn unig yn cael ei chynnyg fel ffafr, ond hefyd ei harosod fel rhwymedigaeth. Daeth yn un o'r dyledswyddau mwyaf cysegredig ar y neb a ddychwelid i'r ffydd hon i wasgar ymhlith ei gyfeillion a'i berthynasau y fendith amhrisiadwy yr oedd ef ei hun wedi ei derbyn, ac i rybuddio y rhai a'i gwrthodent y byddai i'r gwrthodiad gael ei gospi fel anufudd dod ysgeler i Dduw da a hollalluog."

Gan y cyfeirir weithiau at arfer Gibbon o wneud ensyniadau gwawdus am Gristionogion a Christionogaeth, ac y cyfeirir ymhellach ymlaen yn yr ysgrif hon at yr amcan gyfrif rhy isel o rif a dylanwad y Cristionogion boreuol, bernais yn addas roi y dyfyniad uchod i mewn, er dangos y medr yr hanesydd enwog hwn roi adroddiad dra theg am y modd y sefydlwyd ein crefydd yn y byd.

Ond i ddyfod yn fwy uniongyrchol at y prif fater. Wedi disgrifio gyda llawer o fanylwch a chywirdeb gyfansoddiad yr Eglwys a Gibbon ymlaen yn y bennod nodedig hon i sylwi ar y llwyddiant mawr a fu ar Gristionogaeth yn y canrifoedd cyntaf. Dyma ei eiriau:—"Y mae y rheswm cryfaf dros gredu fod ffydd Crist wedi ei phregethu ym mhob talaeth, ac yn holl ddinasoedd mawricn yr ymherodraeth cyn teyrnasiad Diocletian a Chystenyn, ond y mae sylfaeniad y gwahanol gynulleidfaoedd, nifer y ffyddloniaid a'u gwnaent i fyny, a chyfartaledd eu rhif i rif yr anghredinwyr yn döedig dan lenni tywyllwch." Eto gyda'r defnyddiau annigonol a ystyriai oedd ganddo y mae yn ymgymeryd a rhoddi i ni yr olwg a farna ef y fwyaf cywir ellir roddi ar gyfartaledd eu rhif i'r lliaws paganiaid a gyfaneddent y

gwledydd eang o'r afon Euphrates yn y dwyrain, hyd y môr Ionaidd yn y gorllewin. Daw eglwysi henafol Syria a'r saith eglwys yn Asia leiaf dan ei sylw, a'r eglwysi a sefydlwyd yn nhir Groeg. Cyfeiria at yr heresiau a gyfodasant yn fore yn yr Eglwys, ac nid yw yn myned heibio heb grybwyll am dystiolaeth Pliny, y ceir galw sylw ati eto yn mhellach ym mlaen. Ond er yr amryw dystiolaethau oedd yn ei feddiant, rhai yn canmol ac eraill yn beio, rhai yn llawenhau ac eraill yn cwyno fod y Cristionogion mor lïosog, teimlai Gibbon mai gweiniaid oedd ei seiliau i benderfynu cyfartaledd y Cristionogion i'r Paganiaid yn yr holl wledydd. Eto ystyriai fod ganddo ryw gymaint o seiliau i benderfynu y cyfartaledd hwn:—"Y mae un amgylchiad, pa fodd bynnag," meddai, "yn ffodus yn hysbys, yr hwn sydd yn taflu goleuni ar y pwnc tywyll ond dyddorol hwn. O dan deyrnasiad Theodosius, pan oedd Cristionogaeth wedi mwynhau heulwen ffafr ymherodrol am fwy na thri ugain mlynedd yr oedd hen eglwys enwog Antiochia yn cynnwys cant ac ugain o filoedd o bersonau, tair mil o'r rhai hynny yn cael eu cynnal gan elusenau cyhoeddus yr eglwys." Yna coffâ amryw ffeithiau gyda'r amcan o ddangos fod holl boblogaeth dinas Antiochia y pryd hwnnw yn haner miliwn, ac felly nad oedd y Cristionogion, er lliosoced oeddynt, ond ychydig yn fwy na'r bumed ran o'r holl drigolion. Cyfeiria hefyd at dystiolaeth Chrysostom, ar sail yr hon y gellid dadleu fod y Cristionogion yno mor liosog a'r Iddewon a'r paganiaid ynghyd. Ond y penderfyniad y daw Gibbon iddo yn y diwedd ydyw nad oeddynt ond tua'r bumed ran o'r boblogaeth.

Yr eglwys yn Rhufain a ddaw dan ei sylw yn nesaf. Addefa fod yr Eglwys yn Rhufain yn un o'r rhai lliosocaf o fewn yr ymherodraeth, a bod Cristionogaeth yn llewyrchus iawn yno yn y drydedd ganrif. Oddiwrth nifer y clerigwyr o bob gradd geid yno, casgla fod yr aelodau yno hefyd yn dra lliosog. Yr oedd nifer y rhai a dderbynient gymhorth o drysorfa elusenol yr eglwys hon, sef gweddwon, rhai methedig, a thlodion, yn bymtheg cant. Ond gwelir nad yw y pymtheg cant hyn ond hanner y nifer oedd yn derbyn cymhorth o'r ffynhonell hon yn eglwys Antiochia, a myn Gibbon i ni gredu oddiwrth hyn nad oedd nifer y Cristionogion yn Rhufain ond tua hanner y nifer oeddynt yn Antiochia, sef tua hanner can mil. Yr oedd nifer holl drigolion Rhufain tua'r pryd hwnnw yn filiwn o bobl, gymaint ddwy waith a nifer trigolion Antiochia, tra nad oedd nifer y Cristionogion fel y dywedwyd ond hanner y nifer oedd yn Antiochia. Gan hynny nid oedd cyfartaledd y Cristionogion yn Rhufain ond un o bob ugain o'r boblogaeth, ar cyfartaledd yn Rhufain, ac nid yr un yn Antiochia, yw yr un y mae Gibbon yn ei estyn i'r holl ymherodraeth Rufeinig a rhai gwledydd y tuallan iddi. Nid yw Gibbon yn barod i gydnabod fod nifer y Cristionogion yn fwy nag un o bob ugain o'r boblogaeth Neu mewn geiriau eraill fod pedwar ar bymtheg o bob ugain o'r boblogaeth yn baganiaid ar ol tri chan mlynedd o ymdrech i ledaenu yr efengyl a dwyn dynion i'w chredu ac i'w phroffesu.

Dadleua Dr. Orr fod yr amcan gyfrif hwn yn llawer rhy isel, ac fod yr hyn a ddywedwyd gan Gibbon a chan liaws ereill ar hyn wedi gadael argraff anghywir, ac y dylid gwneud mwy er ei symud. Dengys fod angen ail chwilio i mewn i'r achos, trwy graffu mwy ar y crybwylliadau

a geir yma ac acw yn ysgrifeniadau hen awdwyr, a gwneud defnydd mwy o'r darganfyddiadau a wnaed yn ddiweddar fel ffrwyth ymchwiliadau i ffeithiau ac amgylchiadau ynglŷn â hanes yr Eglwys foreuol. Teimla fod amgylchiadau pwysig wedi cael eu hanwybyddu yn ormodol ac fod ffeithiau cynnyrchiol, epilgar, neu pa air bynnag a roddir am y gair Saesoneg *factors*, wedi eu hesgeuluso pan yr oeddid gynt yn astudio cynnydd boreuol Cristionogaeth. Dichon y byddai gair o hysbysrwydd am y llyfr y cyfeiriwyd ato yn fuddiol yn y fan yma. Nid yw ond llyfr bychan mewn cydmariaeth. Traddodwyd ei gynnwys ef i ddechreu yn Rhydychain yn yr Ysgol Haf (*The Summer School of Theology*) a gynhaliwyd yno yn 1894. Traddodwyd ef wedi hynny yn Athrofa Auburn yn Nhalaeth Efrog Newydd, yn 1897, yn y gyfres o ddarlithiau a draddodir yno dan yr enw "*The Morgan Lecture Course.*" Ac yn awr y mae y tair darlith wedi eu cyhoeddi yn llyfr hylaw a phrydferth. Ymdrinir yn bennaf ag un wedd ar y pwnc ymhob un o'r darlithiau; yn y gyntaf telir sylw arbennig i rif y Cristionogion cyntefig; yn yr ail i'w safle mewn cymdeithas; ac yn y drydedd i'w safle mewn dealltwriaeth a dysgeidiaeth a'u dylanwad ar lenyddiaeth gyffredinol. Yn rhan flaenaf y gyntaf o'r tair darlith cyfeiria at y dull newydd o astudio hanesyddiaeth geir yn awr, yr hyn sydd yn dangos fod dadblygiad yn perthyn i'r wyddor hon fel i'r gwyddorau eraill, a rhydd glod i Baur fel un a ddygodd y dull newydd hwn i mewn. Er nad yw Baur yn gywir yn ei holl gasgliadau, tybia Dr. Orr ei fod wedi dylanwadu yn ddaionus ar efrydiaeth o hanesyddiaeth, a chyffelyba ei ddylanwad i effeithiau gorlifiad y Nilus, yr hon sydd yn ffrwythloni y dyffryn y rhed trwyddo, er mai ar ol iddi gilio i'w gwely arferol ac i'w maint cyffredin y gwelir y ffrwythlondeb a gynyrchwyd gan ei gorlifiad. Coffâ am Ritschl ar y cyntaf disgybl i Baur, wedi hynny gwrthwynebydd iddo, a rhydd deyrnged uchel o barch i'r Esgob Lightfoot, nid yn unig ar gyfrif ei ymchwiliad trwyadl i bwnc tarddiad y weinidogaeth, ond hefyd ar gyfrif ei feistrolaeth lwyr ar lenyddiaeth Gristionogol y cyfnod boreuaf yn Hanes yr Eglwys. Nid yw yn myned heibio i Hatch a Harnack, i Newman a Ramsay, heb gydnabod y gwasanaeth gwerthfawr a wnaethant yn eu hymdrech i ddwyn goleuni newydd i dywynu ar sylfaeniad a chynnydd Cristionogaeth yn yr oes Apostolaidd a'r oesoedd nesaf ati ar ei hol. Ond sylwa mai tuedd yr ymchwiliadau a wnaed gan amryw o'r dynion dysgedig hyn yw dangos yn eglurach ddylanwad paganiaeth a chymdeithas paganaidd ar yr Eglwys, ac fod angen am i ychwaneg gael ei wneud er mwyn dangos y dylanwad mawr a feddai yr Eglwys o'r tu arall ar gymdeithas baganaidd cyn i'r dylanwad hwnnw ddyfod yn ddigon cryf i lwyr ddymchwelyd y cyfundrefn baganaidd yn Ewrop, yn rhannau gorllewinol Asia, ac yng Ngogledd Affrica. Y mae ymchwiliadau diweddar wedi bod yn achlysur i ddwyn ffeithiau newyddion i'r golwg, ac hefyd i ddangos yn eglurach nag o'r blaen y modd yr oedd syniadau a drychfeddyliau paganaidd yn mynnu dyfod i mewn i'r Eglwys a dylanwadu i ryw raddau ar ei chredo a'i harferion. Sylw manylach ar yr un ffeithiau yn aml a ddengys fel yr oedd syniadau Cristionogol o'r tu arall yn lefeinio cymdeithas, ac yn graddol fyned dan sylfeini y gyfundrefn baganaidd.

Tuedd led geidwadol ddengys haneswyr diweddar, yn ol Dr. Orr, ar y pwnc o rif y Cristionogion o fewn yr Ymherodraeth Rufeinig cyn dyddiau ei chwymp. Tuedd felly ddangosir gan rai y tybir fod eu cydymdeimlad â chrefydd efengylaidd yn ddyfnach na dim a geid yn mynwes Gibbon. Prin y ceir neb yn awr yn rhoi eu rhif mor isel ag un o bob ugain, fel y gwnai awdwr Hanes Dirywiad a Chwymp yr Ymherodraeth. Cawn un awdwr cyfrifol, mae yn wir, sef Friadländer, yn cymeryd yr un olwg ag yntau, ond y mae y nifer fwyaf o lawer yn rhoi y cyfartaledd ymhell uwch law yr hyn y gosyd Gibbon ef. Cyfrifa yr awdwr Ffrengig, Chastel, eu bod yn un o bob deuddeg o'r boblogaeth, ac y mae Victor Schultz, nodedig am gywirdeb a manylwch ei ymchwiliadau ar bynciau yn gyffredinol, yn cyfrif eu bod yn un o ddeg o'r holl drigolion, a sicrha gyda hynny fod y gwir nifer uwch law y cyfartaledd hwn yn hytrach nag is law iddo. Mewn rhai brawddegau ä yr ysgrifennydd hwn mor bell a rhoi ar ddeall y gallai eu rhif yn nechreu y bedwaredd ganrif fod tua'r bumed ran o'r holl boblogaeth. Yn ychwanegol at yr ysbryd a'r nerth oedd yn yr Apostolion, a llafurwyr ereill yn yr oes ddilynol, yr oedd eu dull o weithredu yn un y gallesid disgwyl llwyddiant mawr trwyddo, neu ynte fethiant hollol. Dull yr Apostolion a'u cydweithwyr oedd ymosod ar y prif drefi a'r dinasoedd mawrion o fewn yr Ymherodraeth. Amcanent blannu eglwysi yn y lleoedd pwysicaf a mwyaf poblog. A llwyddiannus, ac nid aflwyddiannus fu eu hymdrech. Tua diwedd yr ail ganrif, ar ol rhaidegau o flynyddoedd o lafur dyfal, weithiau dan warth a dirmyg ac ar brydiau dan erledigaethau tost, daeth ffrwyth llafur y gweithwyr, ac olion bendith ddwyfol ar eu llafur, i'r golwg mewn eglwysi cryfion, lliosog a dylanwadol yn Antiochia, yn Asia, yn Alexandria, a Charthage yng Ngogledd Affrica, yn gystal ag yn Rhufain, brenhines y dinasoedd i gyd. Bu math o niwl yn daenedig dros hanes rhai o'r eglwysi am dymhor maith, nes iddynt ddyfod yn gryfion a dylanwadol iawn yn eu cylch priodol eu hunain cyn i wybodaeth am danynt gyrraedd ym mhell. Felly y bu ynglŷn âg eglwys Carthage. Cyfodiad Tertullian fel seren ddisglaer yn ffurfafen yr eglwys fu yn achlysur i ddwyn Eglwys Carthage yn ei nerth a'i gogoniant i sylw y byd. Cyn hynny, ni wyddai llawer mewn mannau pellennig fod y fath eglwys gref a blodeuog mewn bod.

Yr hyn y rhydd y Proffeswr Orr y lle blaenaf iddo fel y prawf cadarnaf a mwyaf diamheuol o rif a dylanwad y Cristionogion yn yr oesoedd cyntaf yw yr hyn a ddygwyd i'r amlwg yn y ganrif hon gan De Rossi, trwy ei ymchwiliadau llwyddiannus i ddirgelion y Beddrodau hynod geir yn amgylchu dinas Rhufain. Gelwir y rhai hyn yn gyffredin yn Catacombs. Golyga y gair Groeg hwn, o ran ei darddiad, ogofeydd tan-ddaearol i gladdu y meirw ynddynt. Yn gymaint a bod y graig yn y rhan honno o Italy y saif Rhufain arno yn feddal, hawdd oedd cloddio celloedd ac ogofeydd o'r fath hyn ynddi. Disgrifir hwy gan Dr. Orr fel y canlyn:—"Claddfeydd tan ddaearol anferth eu maint, fel y gwyr y rhan fwyaf, yw y Catacombs, wedi eu cloddio neu eu naddu yn y graig feddal (*excavated in the soft volcanic tufa*) yn agos i'r ffordd fawr y tu allan i'r ddinas." Gan y ffurfiant gylch o amgylch y ddinas, ac fod y cylch tua thair milltir tu allan i'r ddinas,

gwelir fod amgylchedd y cylch yn anferth o fawr, ac yr ymestynnai y Beddrodau hyn mewn llinell uniawn ymhell iawn. Y mae rhai pethau ynglŷn â hwynt wedi eu penderfynu eisoes i sicrwydd. Yn un peth, claddfeydd Cristionogol hollol ydynt. Peth arall y maent o eangder dirfawr, fel y mae rhai miliynau o gyrff yn gorwedd ynddynt. Ar bob llaw yn y rhodfeydd tan-ddaearol ceir ystafelloedd a *galleries* hyd at bum' uchder, ac oll yn llawn o feddau, a rhai wedi eu claddu yn y llawr dan draed y neb a rodio ar hyd-ddynt yn gystal ag yn yr ystafelloedd yn yr ochrau. Cyfrifir fod hyd yr holl fynedfeydd mewn llinell union yn agos i chwe' chant o filldiroedd (yn ol un amcangyfrif, a rhoi y ffugyrau yn fanwl 587 o filltiroedd daearyddol) a chyfrifa y Tad Martin fod hyd y mynedfeydd yn uaw can' milltir. Y mae ansicrwydd, fel y gallesid tybied, am nifer y rhai a gladdwyd ynddynt, ond pob sicrwydd fod eu rhifedi yn llawer. Tybia y Tad Martin yn unol a'i amcan-gyfrif uchel o hyd y mynedfeydd, fod nifer y cyrff a gladdwyd ynddynt yn saith miliwn. Ereill a gyfrifent fod tua phedair miliwn wedi eu claddu yna. Y mae ereill drachefn yn fwy golchelgar, rhag rhoi y rhif yn rhy uchel, yn cyfrif fod yna o leiaf ddwy filiwn o gyrff wedi eu claddu ynddynt. Buwyd yn claddu ynddynt am o ddau gant a hanner i dri chant o flynyddoedd, sef o ddechreu yr ail ganrif hyd ran gyntaf y bedwaredd ganrif, ond ychydig a gleddid ynddynt wedi i'r bedwaredd ganrif ddechreu, a pheidiwyd yn llwyr a chladdu ynddynt pan ymosodwyd ar y ddinas gan y Gothiaid, yn y flwyddyn O.C. 410. Buwyd yn eu defnyddio am naw neu ddeg cenhedlaeth. Cymerer nifer yr holl rai a gladdwyd yn bedair miliwn, a nifer y cenedlaethau yn ddeg, ceir fod y Cristionogion yn y ddinas mewn un genedlaeth yn bedwar can' mil o nifer. Neu, os cymerir mai dwy filiwn sydd wedi eu claddu ynddynt, daw nifer y Cristionogion mewn un genhedlaeth felly yn ddau can' mil, pedair gwaith y rhif roddai Gibbon, ac un ran o bump o'r boblogaeth, ac nid un ran o ugain fel y rhoddai ef fod y cyfartaledd. Dylid cofio nad oedd y rhif yn gyfartal ymhob cenhedlaeth. Diamheu eu bod yn llawer lliosocach yn y drydedd ganrif nag oeddynt yn yr ail ganrif. Canol-rif eu nifer yw y ddau can' mil uchod.

Wedi gosod i lawr fel hyn dystiolaeth y beddrodau fel y dystiolaeth ddiweddaraf a mwyaf tarawiadol ar y mater, try yn ol i gymeryd ailolwg megys ar y cyfeiriadau a geir yn Llyfr yr Actau ac yn ysgrifeniadau awdwyr henafol at rif a chynnydd y Cristionogion, er mwyn dangos fel y mae y rhai hyn, o sylwi yn graff arnynt, yn cadarnhau y golygiad y dadleuai drosto, ac nid golygiad Gibbon, ac ereill o'r un farn ag ef. Mor fore a'r flwyddyn O.C. 52 ni a gawn Claudius Cæsar yn gorchymyn i'r Iddewon oll fyned allan o Rufain (Act. xviii. 2). Yr oedd Ymherawdwyr Rhufain, fel rheol, yn ofalus am gadw yr heddwch a darostwng pob terfysg yn y ddinas os gallent, a diau i'r Iuddewon hyn gael eu hanfon allan o'r ddinas yn bennaf o herwydd yr ymryson oedd rhyngddynt â'r Cristionogion, ac yr ofnid i'w hysbryd rhagfarnllyd ac erledigaethus beri terfysg, a thra thebyg yw fod nifer mawr y Cristionogion yn peri ei fod yn gynllun doeth a chall anfon yr Iddewon ymaith yn hytrach na cheisio anfon y Cristionogion ymaith. Nid oes lle i feddwl fod nemawr chwaneg na rhyw gallineb gwladwriaethol yn

llywodraethu yr Ymherawdwr yn hyn o beth, er y dywedir fod rhai o deulu Cæsar yn fuan ar ol hyn yn anfon anerch at y saint oedd yn Philippi. Ymhen chwe' blynedd ar ol hyn, O.C. 58, cawn Paul yn tystiolaethu am yr eglwys yn Rhufain fod ei ffydd hi yn gyhoeddus yn yr holl fyd (Rhuf. i. 8), a chwe' blynedd yn ddiweddarach eto, O.C. 64, yn ol tystiolaeth Tacitus, yr oedd nifer y Cristionogion a oddefasant yr erledigaeth dan Nero yn dyrfa anferth (*multitudo ingens*). A thua diwedd y ganrif gyntaf dywed Clement o Rufain fod nifer y rhai a ddioddefodd er mwyn Crist yn llu mawr (πολὺ πλῆθος). Nid oeddid y pryd hwnnw wedi dechreu claddu yn y Beddrodau y cyfeiriwyd atynt uchod. Meddylier am y dinasoedd mawrion eto yn y Talaethau. Y mae y cyfeiriad a wneir at y terfysg yn Ephesus yn Act. xix. 27, ac fod perygl i deml y dduwies fawr Diana gael ei chyfrif yn ddiddim, yn dangos fod nifer y Cristionogion yn Ephesus mor fawr nes peri braw dirfawr i'r paganiaid yn y ddinas hon. I'r un casgliad y deuir wrth graffu ar dystiolaethau paganiaid deallgar ac urddasol perthynnol i'r cyfnod hwn. Yn nechreu yr ail ganrif yr oedd Pliny yn llywodraethwr talaethau Bithynia a Pontus, yn Asia Leiaf, ac yn fawr ei sel dros grefydd henafol yr Ymherodraeth, ac yn llawn awydd am lywodraethu y talaethau yn ol traddodiad ac arferiad y talaethau Rhufeinig. Ond yr oedd amledd y Cristionogion yn y talaethau dan ei ofal yn rhwystr iddo wneud hyny; ac yn y flwyddyn O.C. 112 y mae yn anfon llythyr at yr Ymherawdwr Trajan, yn yr hwn y cwyna fod y grefydd Gristionogol wedi cael ei chofleidio yn y parthau hynny gan bob oed a gradd o'r ddwy ystlen, ac nad oedd hyn yn gyfyngedig i'r dinasoedd yn unig, ond ei fod wedi ymledu yr un modd i'r pentrefydd ac i'r wlad ymhob man; fod y temlau paganaidd bron yn wag, y defodau cysegredig wedi myned bron allan o arferiad, ac na ellid cael prynwyr i brynu yr anifeiliaid a ddygid ar feddwl eu haberthu, a bod pethau fel hyn bellach er ys amser maith.

Cadarnheir y dystiolaeth hon o eiddo Pliny gan dystiolaeth Lucian, cyfaill Celsus, yr hwn yng nghanol yr ail ganrif a ddyry eiriau yng ngenau ei arwr, Alexander o Abonotichus, i'r perwyl fod gwlad ei enedigaeth, sef Pontus, wedi ei llenwi âg Epicuriaid a Christionogion. Tebyg ydoedd yn nhalaethau eraill Asia Leiaf. Yn Phrygia yr oedd cryd Montaniaeth, a chyn y gallesid cael plaid mor gref o hereticiaid rhaid fod nifer y Cristionogion yno yn llawer. "Rhaid," medd Renan, "fod y Cristionogion yn ffurfio mwyafrif y boblogaeth yn Hierapolis a llawer o drefi Phrygia." Yn ol tystiolaeth V. Schultze yr oedd gallu Paganiaeth wedi ei ysigo yn Cappadocia yn y bedwaredd ganrif yn fwy nag yn un ran o'r byd. Yng Nghyngor Nicea, O.C. 325, yr oedd tuag un ran o dair o'r lliaws Esgobion cynulledig yno o Asia Leiaf.

Ni chaniata gofod i mi ddilyn Proff. Orr trwy yr holl dalaethau tra yn edrych ar y wedd hon i'r pwnc, gan fod yn fy mwriad gymeryd cipdrem ar agweddau eraill y mater. Crybwyllwyd o'r blaen am y modd y bu i gyfodiad Tertullian chwalu y niwl oddiar hanes yr Eglwys yng Ngogledd Affrica, ac y daeth nerth a dylanwad Cristionogaeth yn Carthage a'r amgylchoedd i'r golwg. Gellir dyweyd yn gyffelyb am Alexandria, cryd Gnosticiaeth Roegaidd, yr hon a ddysgid gan yr Ysgol Aifftaidd o Hereticiaid, Carpocrates, Basilides, a Valentine. Daeth Crist-

i fwy o arbenigrwydd pan y daeth galwad ar y Brif Eglwys
ebu yr heresi honno. Dangosir nad yw yr ymadrodd πάνυ
diferodd dros wefusau Origen, ac y gwna Gibbon ac eraill
o hono, o'i ddeall yn gywir yn ei gysylltiad priodol, yn milwrio dim yn erbyn yr hyn a ddadleuir drosto yn y Ddarlith gyntaf hon o berthynas i rif cydmariaethol y Cristionogion a'r Paganiaid.

## II. Eu Sefyllfa Gymdeithasol.

Wrth gymeryd tir cyffelyb gyda golwg ar safle gymdeithasol y Cristionogion cyntefig, nid amcenir tynnu dim oddiwrth wirionedd yr hyn a ddywedodd Paul pan yn ysgrifennu at y Corinthiaid, "Canys yr ydych yn gweled eich galwedigaeth, frodyr, nad llawer o rai doethion yn ol y cnawd, nad llawer o rai galluog, nad llawer o rai boneddigion a alwyd," 1 Cor. i. 26. Dichon fod hynyna yn fwy cywir yng Nghorinth nag mewn rhai mannau eraill y gwyddai Paul am danynt, ac y mae yn wirionedd cyffredinol mai ychydig yw nifer y cyfoethogion ym mhob gwlad o'u cydmaru â'r canolradd a'r bobl dlodion. Gwneir corff mawr poblogaeth pob gwlad i fyny o ddosbarthiadau isel mewn cymdeithas Ond amlwg yw fod yno rai yng Nghorinth yn berchen meddiannau bydol. Rhai felly yn gyffredin sydd yn dueddol i ymgyfreithio. Yr oedd yno rai y disgwyliai Paul iddynt roi yn helaeth yn y casgliad i'r saint tlodion yn Judea, a hawdd yw gweled wrth ddarllen y Testament Newydd fod aml un i'w gael ym mhlith y disgyblion o'r dechreu yn berchen eiddo ac yn barchus ei sefyllfa. A gadael heibio Nicodemus, a Joseph o Arimathea, a theulu cyfrifol a charedig Bethania, y rhai yr oedd ganddynt ewyllys a gallu i ddangos parch i'r Gwaredwr mawr mewn ffordd gostus, yr oedd gan Barnabas, yn yr oes apostolaidd, dir i'w werthu. Yr oedd Paul yn ddinesydd Rhufeinig, ac wedi cael addysg foreuol o'r radd uchaf, a barai ei fod yn rhoi argraff ffafriol ar bob llywodraethwr ac uchelwr diragfarn y deuai i gyffyrddiad âg ef. Bu Phylip yr efengylwr mewn cerbyd gydag eunuch galluog dan Frenhines Ethiopia, ac ni ymadawodd y ddau heb i Phylip fedyddio yr eunuch. Yng nghyfarfod ymadawol y ddau genhadwr enwog a aent allan at y Cenhedloedd o Antiochia yr oedd Manaem, brawd-maeth Herod y tetrarch; a phan fordwyodd y ddau genhadwr hynny i Cyprus yr oedd Rhaglaw yr ynys, Sergius Paulus, gŵr call, yn eu galw hwy ato, ac yn deisyfu cael clywed gair Duw ganddynt. Ac os daw y darllennydd gyda mi unwaith eto i Corinth i ymweled â rhai o'r uchelwyr Cristionogol y mae gennym heblaw Chrispus yr arch-synagogydd, Erastus, goruchwyliwr y ddinas i ymweled âg ef, o herwydd yr oedd ef yn un o'r saint yn y ddinas hono. Nid cywir yn ddiau yw desgrifiad Gibbon o'r Cristionogion cyntefig fel ysgubion y boblogaeth. Y mae yn gabldraeth ar y fath ddynion eu galw "*The dregs of the population.*"

## Tystiolaeth y Beddrodau.

c y mae y Beddrodau yn dwyn eu tystiolaeth ddiamwys i hyn eto. Y mae y rhai hyn wedi taflu goleuni newydd ar sefyllfa gymdeithasol y Cristionogion yn ninas Rhufain o leiaf. Meddylier am y ffaith noeth

eu bod wedi gallu sicrhau claddfa mor ardderchog, a beddrodau mor olidog, gerllaw prif-ddinas y gwledydd, onid yw hyn ynddo ei hun yn brawf fod ganddynt foddion yn gystal a gwroldeb i ymgymeryd âg anturiaethau costus? Ac heblaw hynny, y mae y cerfiadau ar y cof-feini a'r cistiau marmor yn y beddrodau hyn yn dangos yn eglur i ni yn awr fod yma lïaws o rai o radd uchel mewn cymdeithas wedi eu dodi i orwedd yma, fod y tlawd a'r cyfoethog yn cyd-gyfarfod yn y fynwent hon, fel yn holl fynwentydd y byd, ac y gellir cymhwyso geiriau Esaiah, "a chyda'r cyfoethog yn ei farwolaeth," nid yn unig at y Blaenor mawr ond hefyd at lïaws o'i ganlynwyr yn oesoedd bore hanes yr Eglwys. Nid oes un ymadrodd cryf yn cael ei ddefnyddio yn Llyfr yr Actau a'r Epistolau nad yw y cof-feini hyn yn ei gadarnhau, ac yn aml yn ei egluro. O Rufain, fel y mae yn hysbys, yr ysgrifennodd Paul ei Epistol at y Philipiaid, ac yn hwnnw dywed: "Y mae y saint oll yn eich annerch, ac yn bennaf y rhai o deulu Cæsar." Yn Esboniad y diweddar Esgob Lightfoot ar yr Epistol hwn ceir desgrifiad o'r sefydliad a feddylir wrth "Deulu Cæsar," a dywed Mommsen, dyfynedig gan Proff. Ramsay, nad oedd Cristionogaeth yn gryfach yn un man nac yn nheulu a llŷs yr Ymherawdwyr. Beth ddywed y cof-feini yn y Beddrodau ar hyn? Ceir oddiwrthynt brofion eglur fod rhai o'r cylchoedd uchaf mewn cymdeithas yn gorwedd yn dawel ynddynt, ac ni fuasent yn gorwedd yno oni bai eu bod yn eu bywyd wedi cofleidio Cristionogaeth. O'r braidd yr oeddid yn deall ystyr lawn y cyfeiriad cynnil yn Tacitus at foneddiges o waedoliaeth uchel, Pomponia Græcina, gwraig Aulus Plautius, gorchfygwr Prydain, yn cael ei chyhuddo o flaen y Senedd yn O.C. 57 o ofergoeledd tramor. Tybid er ys talm mai Cristionogaeth a feddylid wrth yr "ofergoeledd tramor." Ond erbyn hyn y mae y peth yn fwy eglur. Yn ddiweddar darganfyddodd De Rossi yn y Feddgell a elwir Lucina, un o'r beddgelloedd hynaf, amryw argraffiadau yn dangos cysylltiad y feddgell (*krypt*) hon a theulu Pomponia, ac mae un yn dwyn yr enw Pomponius Græcinus. Tybia De Rossi mai y Lucina y galwyd y feddgell ar ei henw ydoedd Pomponia Græcina, ac mai enw y foneddiges yn llawn ydoedd Lucina Pomponia Græcina. Profwyd gwraig Aulus Plautius yng ngwyneb y cyhuddiad y rhoed cyhoeddusrwydd iddo yn y Senedd o flaen brawdle gartrefol (*domestic tribunal*), a chaed hi yn ddieuog, ac ar derfyn bywyd anrhydeddus, pan y cafodd farw o farwolaeth naturiol, claddwyd hi yn gyntaf yn y feddgell sydd yn dwyn ei henw.

Wele enghraifft arall. Yr oedd y Consul, Flavius Clement, yn gefnder i'r Ymherawdwr Domitian, a'i wraig, Domitalla, yn nith i'r Ymherawdwr hwnnw. Dywed Dion Cassius i'r ddau gael eu cyhuddo o "Atheistiaeth ac o fyned ar gyfeiliorn yn ol arfer yr Iddewon," am yr hwn drosedd y rhoddwyd y Consul Clement i farwolaeth, ac yr alltudiwyd ei wraig, Domitilla, i ynys yn Môr y Canoldir. Yr oeddid yn tybied bob amser mai cyffesu Crist oedd y bai a roddid yn eu herbyn, ond ffrwyth yr ymchwiliadau yn y *Catacombs* sydd wedi profi fod y dybiaeth yn un gywir. Y mae claddfa Domitilla wedi ei chael, a De Rossi wedi darganfod arysgrif gerfiedig yn dangos mai eiddo y foneddiges hon oedd y Gladdfa, ac mai ei bwriad wrth sicrhau y Gladdfa oedd iddi fod yn Gladdfa Gristionogol. Ni warafuna y dar-

llennydd i mi grybwyll un esiampl ychwanegol. Ymysg y rhai a gyhuddwyd yn gyffelyb i Clement a Domitilla, a hyny tua'r un amser, yr oedd un o'r enw Glabrio, yr hwn oedd wedi bod yn llanw swydd Consul dan yr Ymherawdwr Trajan. Condemniwyd ef, a rhoddwyd ef i farwolaeth. Enw y gŵr hwn yn llawn ydoedd Masius Acilius Glabrio, ac yr oedd ei deulu yn hynod fel un o'r teuluoedd cyfoethocaf ac anrhydeddusaf yn y ddinas. Tua diwedd oes y Weriniaeth yr oedd gan y teulu hwn (yr Acillii) balas yn y man mwyaf dewisol, ar y Pincian Hill, a datganodd Bentinax yn y Senedd, ar adeg ei etholiad yn Ymherawdwr fod y teulu hwn y teulu ardderchocaf yn y byd. Amheuai Lightfoot, rai blynyddoedd yn ol, a'i cofleidio Cristionogaeth oedd yr hyn a roddid yn erbyn un o'r teulu hwn, ond pe buasai yn byw yn awr nid hawdd fuasai iddo barhau i goleddu yr amheuaeth, oherwydd yn y flwyddyn 1888 daeth beddgell i'r amlwg, ac ar yr arch marmor ynddi y mae yn gerfiedig *Alico Glabrioni Filio.*—Prawf tarawiadol fod Cristionogaeth wedi gweithio ei ffordd i'r teulu hwn, un o deuluoedd enwocaf a chyfoethocaf yr oes Fflafiaidd (*The Flavian Age*).

Mor deg y cytuna hyn oll â'r anogaethau a geir yn y Testament Newydd i aelodau cyfoethog yr eglwys i beidio rhoddi eu calon ar eu golud, ac i beidio diystyru eu brodyr tlodion oeddynt yn amddifaid o olud. Y mae Hermas yn ei "Fugail," yr hwn lyfr oedd i'r Eglwys foreuol yr hyn yw Taith y Pererin i ni, yn cyfeirio yn fynych at y rhai cyfoethog yn yr Eglwys yn Rhufain, ac nid yw heb geryddu y rhai a feddent dai a thiroedd ac arian oblegyd eu bydolrwydd a'u bywyd moethus. Nid oedd Tertullian yn foddlon i Gristionogion cyfoethog Carthage osgoi yr erledigaethau yr oedd eu brodyr tlodion yn gorfod eu dioddef, trwy lwgr wobrwyo eu herlidwyr allan o helaethrwydd eu golud. Miniog a gwawdus yw disgrifiad Tertullian o'r crefyddwyr diog a glythion a geid yn arwain bywyd moethus a diffrwyth yn Carthage ac Alexandria, dinasoedd cyfoethog Gogledd Affrica.

Terfyna Proff. Orr ei sylwadau ar y pen yna trwy gyfeirio at y sefyllfa gyfrifol ac uchel yn y byd yr oedd lliaws o Ddysgawdwyr ac Amddiffynwyr yr Eglwys ynddi yn y cyfnodau boreuol. Yr oedd Tertullian, er nad yn neillduol o gyfoethog, yn fab i swyddog gwladol urddasol a allai roi addysg dda ac uchel i'w fab. Yr oedd Clement o Alexandria yn fab i rieni cyfoethog, fel yr awgryma ei ddiwylliad uchel a'i deithiau treulfawr. Yr oedd Cyprian yn fab i bendefig uchel, ac yn etifedd llawer o feddiannau. Y gwir am Dionysius o Alexandria, ac am Gregory Thaumaturgus, dau o ddisgyblion Origen, yw, eu bod o deuluoedd uchel ac anrhydeddus. Pan y deuwn ymlaen i'r bedwaredd ganrif cawn Basil fawr o Cæsarea, a'i frawd Gregory o Nyassa, a Chrysostom o Antiochia, ac ereill, oll yn wŷr anrhydeddus yn y byd ar wahân i'r enwogrwydd oesol a enillasant drwy eu gwasanaeth i Eglwys Crist

Er pob ymgais i grynhoi yr wyf yn gorfod terfynu fy llith heb gyffwrdd â'r drydedd wedd ar y pwnc.

WM. WILLIAMS.

*Glyndyfrdwy.*

## DARLITH INGERSOL AR ANFARWOLDEB YR ENAID.*

DRO yn ol crybwyllwyd yn y papurau am ddarlith a roddai oleu newydd o gyfeiriad gwyddoniaeth ar yr athrawiaeth am anfarwoldeb yr enaid. Os nad camgofio yr ydwyf, fe ddywedai un adolygydd fod y ddarlith hon yn cynnwys prawf gwyddonol o'r athrawiaeth. Ni chlywais ddim wedyn am y peth nes i gyfaill hyddysg iawn mewn pynciau o'r fath ail alw fy sylw at y llyfr. Ni honna yr awdwr o gwbl gynnyg prawf gwyddonol o'r athrawiaeth. Y mae efe cystal ag awgrymu nas gall fod prawf gwyddonol o honi. Fe edy y gwaith o'i phrofi hi i rai a ddaw ar ei ol yn y gyfres honno o ddarlithiau, rhai a drinant y mater o gyfeiriad crefydd a moesoldeb. Ei bwnc ef yn y ddarlith hon yw ateb gwrthddadleuon yn erbyn yr athrawiaeth, gwrthddadleuon gwyddonol felly. Fel Gwyddon y llefara; a chan y saif efe yn rhenc flaenaf gwyddoniaid yr America a'r gwledydd, y mae ei eiriau yn haeddu sylw ac ystyriaeth ddwys. Os ydym am ddal gafael ar yr athrawiaeth o anfarwoldeb personol, y mae cyflawn groesaw i ni wneud hynny o'i ran ef, hyd yn oed ar dir gwyddoniaeth noeth. Nid yw y rhesymau gwyddonol yn erbyn yr athrawiaeth ddim yn rhai ddeil eu chwilio.

Dwy wrthddadl a atebir ganddo. Dyna un, mai gwaith o eiddo'r ymennydd ydyw meddwl; a bod anfarwoldeb, os caniateir ef o gwbl, yn beth y rhaid ei ganiatau ar raddfa aruthrol o eang, dyna'r llall. Y gyntaf o'r ddwy, yn ddiau, a ymddengys i ni Gymry bwysicaf, os nad y hi sydd bwysicaf hefyd; a chyd a hi yr ymdry yr awdwr, ac yr ymdrown ninnau fwyaf.

Un o ddamcaniaethau mawr gwyddiant yr oes ydyw, mai gwaith o eiddo'r ymennydd ydyw meddwl; a thybir fod hynny'n rhwystr i gredu yn anfarwoldeb yr enaid. Nid yw pawb, yn wir a dderbyn y naill yn gwrthod y llall. Y mae llawer yn ddigon anghyson a hwy eu hunain i ddal nad yw meddwl ond gweithrediad yr ymennydd, a dal hynny yn yr ystyr gyffredin a rydd gwyddoniaid i'r geiriau, ac eto'n rhy grefyddgar eu hysbryd i roddi eu gobaith am anfarwoldeb i fyny; ond tir anfoddhaol i'r meddyliau cryfaf a gonestaf ydyw tir felly. Effaith y ddamcaniaeth yna ar y rhan fwyaf o'r rhai a ddaw dan ei dylanwad hi fydd siglo, os nad dymchwelyd, y gred mewn anfarwoldeb.

Damcaniaeth noeth y mae'n wir ydyw'r athrawiaeth wyddonol eto; ond fe'i cymer Mr. James hi'n ganiataol, at bwrpas ei ymdriniaeth ef, fel gwirionedd profedig. A chaniatau ei bod hi'n wir, a oes ynddi rwystr gwirioneddol i'n cred ni yn y bywyd a fydd?

Fod yma anhawster sydd amlwg i bob darllennydd ystyriol, pa un bynnag ai gwyddon, ai athronydd, ai diwinydd, hyd yr adwaenom ni'r meddwl, yn ein profiad cyffredin, lle y bo gweithrediad yr ymennydd y bydd yntau. Y mae'r ddau yn canlyn eu gilydd. Pan ddechreuo'r offer gieuol, a'r pen yn enwedig, lesgau, fe lesga'r meddwl hefyd; a'r casgliad y gallai dyn ddyfod iddo ar ei gyfer ydyw hwn, pan ddar-

*Gwaith y Proffesor William James, o Harvard.

fyddo'r naill, fod y llall yn darfod hefyd. Yng nghylch ein profiad ni yn y fuchedd hon y mae llawer i'n temtio i dybied fod meddwl yn peidio pan baid yr ymennydd a gweithredu, mor lwyr ag y paid y corff a threulio'r bwyd pan beidio'r cylla a gwneud ei waith. Os yw dyrnod ar y pen yn ddigon i atal gweithrediad y meddwl, pa wybod nad yw'r meddwl ei hun yn diffodd pan ymddetyd yr offer sydd yn y fuchedd yma'n cydfyn'd âg ef.

Chwaneg, myn rhai fod y cysylltiad yn dynnach fyth, bod hyd yn oed wahanol weithrediadau'r meddwl yn perthyn i rannau penodol o'r pen, megis meddwl i siarad yn y talcen, meddwl i warandaw dan yr arlais. Myn y Proffesor Flechsig, awdurdod Ellmynnig uchel ar y pwnc, y gall efe ddangos ym mha ran o'r ymennydd y mae meddwl yn yr ystyr fanylaf yn bod, sef y cyplysu, a'r cymharu, a'r cyferbynnu. Pa faint bynnag fydd raid newid ar y golygiadau hyn hwy ddanghosant osgo'r byd gwyddonol; a chadarnhant y syniad nad yw'r meddwl ond swydd yr ymennydd yn y corff.

Ond a ydyw'r athrawiaeth wyddonol yma yn erbyn i ni ddisgwyl, Os bydd gŵr marw, y fydd efe byw drachefn? Nac ydyw, ebai Mr. James, nid yw hi yn ein cau i hynny.

Try'r cwbl ar yr ystyr a roddom ni i'r golygiad gwyddonol. Os deonglir ef yn gyfystyr a dywedyd, mai cynnyrch yr ymennydd yw meddwl, fel y mae agerdd yn gynnyrch y tegell, neu fel y mae nerth yn gynnyrch y rhaiadr yn ei ddisgyniad; os dyna feddylir wrth ddweud mai un o swyddi'r ymennydd yw meddwl, yna y mae gobaith y fuchedd dragwyddol yn darfod. Oblegid os yr ymennydd sy'n peri meddwl, fe dderfydd y meddwl pan fydd farw yr ymennydd. A dyma yn ddiau yr ystyr a dybir gan y rhai a ystyriant fod cysylltiad meddwl a chorff dyn yn sicrwydd i ni nas gall y naill fyw heb y llall.

Ond nid dyna yr unig ystyr a all fod i'r dywediad mai gwaith o eiddo'r ymennydd ydyw meddwl. Y mae o leiaf ddwy ystyr arall i'r gair gwaith, i ni gael ein dewis o honynt. Ni a allwn briodoli i'r ymennydd, heblaw'r gwaith o gynyrchu meddwl, y gwaith o ollwng y meddwl i weithio, neu ynte'r gwaith o drosglwyddo meddwl i'r wedd a'r ffurf sydd arno yn y fuchedd hon. Byddys yn arfer y gair yn y naill o'r ystyron hyn pan ddywedir mai gwaith yr organ ydyw'r swn. Dywedir yn wir mai'r organ sydd yn cynyrchu'r swn; ond prin y mae hwnnw yn ddywediad cywir. Yr awyr sydd yn mhibellau'r organ sy'n cynyrchu'r swn. Rhoi ffurf arno, wrth ei ollwng drwodd, ydyw gwaith yr organ. Neu cymerwch gymhariaeth arall sydd gan y darlithydd, y morthwyl yn disgyn ar gymysgfa ddigon diniwed yr olwg arni, i beri ffrwydriad. Y mae'r ffrwydriad yn waith yr ergyd. ond nid yn yr ystyr o fod yn gynnyrch yr ergyd. Cynnyrch yr elfennau cymysg ydyw, a ymunent yn ddisymwth â'u gilydd, nes creu corff o nwy llawer gormod o faint i'w gau yn yr un faint o le a'r pylor ei hun. Gollwng yr elfennau at eu gilydd oedd gwaith y morthwyl, curo i lawr y terfynau oedd yn eu cadw'n gymdogion di-briod o'r blaen. Engreifftiau yw'r rhai hyn o'r fel y gall peth fod yn waith peth arall, trwy fod yn foddion i ollwng y peth hwnnw i ffurf a chysylltiadau sy'n gwneud gwaith newydd yn bosibl iddo. Nid cynnyrchu'r nerthoedd yw gwaith yr ergyd yn y fan yna, ond eu gollwng yn rhydd.

Ond meddyliwch am drydydd math o waith, y gwaith o drosglwyddo. Gwaith *y prism* ydyw'r lliwiau a geir o'r goleu gwŷn, wrth ei fyned trwyddo; ac i beidio cadw'n rhy gaeth at ddamhegion gwyddonol Mr. James, dywedir yn Saesoneg ac yn Gymraeg fod y ffenestr yn goleuo'r ystafell; ac y mae'r dywediad yn eithaf cywir; eithr ni chynnwys hynny mai cynnyrch y gwydr yw goleu'r dydd. Cynnyrch yr haul ydyw; ei drosglwyddo i'r tŷ y mae'r gwydr. Felly y mae gennym, beth bynnag, dri math ar swydd neu waith i ddewis o honynt, y gwaith o gynnyrchu, y gwaith o ollwng yn rhydd, a'r gwaith o drosglwyddo.

"Fy mhwnc innau," ebai'r Proffesor, "yw, nad oes raid i ni wrth son am waith ystyried y gwaith o gynnyrchu'n unig. Y mae gennym hawl i ystyried hefyd y gwaith o ryddhau gweithrediad y meddwl, neu o'i rwyddhau. Ond dyma a adewir o'r cyfrif gan y dysgawdwr a wnelo'r meddwl yn rhan o'r corff."

Bwriwch, ynte, mai llen ydyw popeth y greadigaeth weledig yn cuddio byd y gwir sylweddau. Nid yw'r dyb yna'n ddieithr i synwyr cyffredin, nac i athroniaeth chwaith. Credu'n rhy ofergoelus y mae synwyr cyffredin mewn sylweddau o'r tu ol i'r llen; ac y mae ysgol o athronwyr a fyn nad yw'r greadigaeth ond hug dros amser, gwisg am y sylwedd tragwyddol, yn ei ddangos, ac eto'n ei guddio, yn ei ollwng i'r golwg mewn agweddau fyrdd. Ffenestr amryliw yn y tô fyddai popeth gweledig felly, yn derbyn goleu'r dydd, ac yn ei weddnewid wrth ei dderbyn a'i drosglwyddo. Ac ymysg pethau ereill dyna ydyw ein hymennydd ninnau; a phan fyddom yn ddiymwybod, megys yr ydym mewn trwmgwsg, y mae'r ffenestr yn dywyll iawn; pan fom yn neffro, ond yn swrth, y mae hi'n beth goleuach; a phan fo'r meddwl ar lawn waith, y mae hi'n oleu iawn.

Dameg Fechner, yr athronydd Ellmynnig, ydyw rhiniog neu lifddor, yn cadw'r meddwl tragwyddol rhag llifo trwodd. Pan fo'r rhiniog yn isel, y mae cryn donnau o hono ef yn curo drosodd i'r byd a'r bywyd hwn; pan fo hi'n uchel, dim ond ambell i don. Fel hyn y mae efe'n portreadu holl weithrediadau'r meddwl, o freuddwyd hyd at yr efrydiaeth fwyaf bywiog.

Nid yw'r Proffesor heb weled y gallai rhywun ddweyd fod hyn yn gwneud pob meddwl creedig yn ffurf ar y digreedig ac mai nid anfarwoldeb personol, namyn anfarwoldeb y meddwl cyffredinol hwnnw, fuasai'r casgliad teg oddiwrth y golygiad. Ond ei ateb ef i hynny yw, fod llawn cyn gysoned tybio meddwl unigol y tu ol i'r llen ar gyfer pob meddwl datguddiedig sy'n gwisgo corff.

Yn awr os rheoli, ac nid peri gweithrediad yr enaid ydyw gwaith yr ymennydd, os cau ac agor y dorau iddo, heb ddim chwaneg, beth sydd yn erbyn i ni dybied y gall yr enaid weithredu wedi i'r corff hwn farw ac ymddatod? Nid oes yma brawf o anfarwoldeb, rhaid addef; ond y mae yma ddadbrofi gwrthddadl bwysig yn erbyn yr athrawiaeth.

Ond beth pe gofynnai gwyddon, pa fodd yr esboniwn ni waith y pen yn agor y dorau i'n hymwybyddiaeth ddod trwodd? Gofynnwch iddo yntau egluro pa fodd y mae'r pen yn cynnyrchu ymwybyddiaeth. Nid oes gan y gwyddon yr un ateb i'w roi. Y mae mor gwbl ddirgel iddo ef pa sut y daw meddwl i fod yn yr ymennydd, ag ydyw i chwithau pa

fodd y daw meddwl trwodd o'r byd ysbrydol i gymeryd y ffurf sydd arno yn ein hymwybyddiaeth ni. Y mae cynnyrchu meddwl gan yr ymennydd, a throsglwyddo meddwl i'w ffurf cynefin yn ein hymwybyddiaeth ni, y naill mor anamgyffredadwy a'r llall. O'r ddau y mae'r cyntaf yn anaws ei ddirnad na'r ail. Anaws ydyw i'r ymennydd gynnyrchu meddwl yn y fan a'r lle na rhoi ffurf ar beth y mae'r achos o honno y tu fewn i'r llen.

Ac os yw y ddwy ddamcaniaeth, meddwl yn tywynnu trwy'r ymennydd, a meddwl yn gynnyrch yr ymennydd, ar yr un tir yn union fel mater o wyddoniaeth, y mae'r naill ar well tir o lawer na'r llall i wynebu nifer o ystyriaethau nad yw gwyddoniaid eto'n gyffredin yn rhoi croesaw mawr iddynt: er esiampl, y peth a eilw'r byd crefyddol yn droedigaeth Y mae'r peth yn bod, rhowch yr enw a fynnoch arno; ac y mae yn llawer haws gweled ei fod yn bosibl wrth olygu'r meddwl fel peth a ddatguddir gan y corff, yn lle fel peth sydd a'i sail mewn pridd. Os yr ymennydd sy'n rhoi bod i'r meddwl sydd ynom, yna ymddengys unrhyw oleuni goruwchnaturiol yn rhyw ymyriad di-drefn a digysylltiad. Y mae yn ddirgelwch, bid siwr, ar unrhyw dir; ond y mae'n afresymol, os nad yw'r meddwl ond un o weithiadau'r corff.

Enwa'r Proffesor James engreifftiau i brofi y rhan yma o'i bwnc, ond rhai o honynt gyda gair o ymddihaeriad, fel pethau nad yw'n disgwyl i'w wrandawyr i gyd feddwl cymaint o honynt. Fe gymer yn ganiataol fod rhai o'r darganfyddiadau a wnaeth yr ysbrydegwyr am y berthynas rhwng meddwl a meddwl yn wir. Er engraifft, fe ddengys dyn sy'n meddu'r ddawn honno gydnabyddiaeth a helyntion personol y neb sydd yno yn cael darllen ei feddwl, cydnabyddiaeth na fuasai dim posibl, hyd y gwelwn ni, iddo ei chael trwy weled, neu glywed, neu dynnu casgliadau oddiwrth hynny; neu, ynte, chwi gewch weledigaeth ar rywun sydd yn marw yn awr, gannoedd o filltiroedd oddiwrthych. Ar y dyb o gynnyrchu meddwl yn y pen, nis gwelir pa ryw glywed sy'n cynnyrchu'r fath dameidiau digrif o wybodaeth. Ar y dyb o drosglwyddo meddwl,—nid rhaid eu cynnyrchu, y maent yn bod yn barod yn y byd anweledig; a'r cwbl sydd eisieu yw gostwng mwy nag arfer ar y rhiniog y soniwyd am dani, i'w gollwng hwy drwodd."

Cymer Mr. James drafferth i ddangos nad yw ei syniad ef o drosglwyddo meddwl gan weithrediad yr ymennydd mor gwbl newydd ag y gallesid tybied ei fod. Deil efe fod llawer o athronwyr wedi bod yn chwannog i'r dull yma o edrych ar bethau, ond na ddarfu iddynt mo'i eirio mor bendant. Daw Kant yn wir o fewn dim i'r un fan ag athrawiaeth y trosglwyddiad. "Gall marw'r corff fod yn ddiwedd ar ddefnyddio'r meddwl i glywed* oddiwrth y byd oddiallan; ond gall mai dechreu fydd o ar ddefnyddio'r meddwl i ddeall pethau."

Yn ol y syniad yma, nid dwyn meddwl i fod, ond gosod terfyn i'w weithrediadau ydyw swydd yr ymennydd, cau'r môr hwnnw â dorau, a dywedyd wrtho, "Hyd yma y deui, ac nid ym mhellach." Nid yw fod meddwl dyn yn heneiddio gyd a'i gorff ef yn achos

* Mi anturiais arfer y gair "Clywed" unwaith neu ddwy yn yr ysgrif yma yn ei ystyr gyffredinol o ganfod ag unrhyw un o synhwyrau'r corff, "Clywed arogl," "Clywed blas."

pryder na digalondid am y fuchedd ddyfodol. Nid yw'n un prawf fod y cwbl i ddarfod pan fydd y corff farw. Gall fod yn brawf y derfydd rhai o'r terfynau i weithrediad ein meddwl yn argoel na fyddwn ni ddim yn bod nac yn meddwl y tu draw i'r bedd o dan yr un amodau ag yr ydym yma; ond am fod a meddwl, y mae'n llawn cyn debyced a pheidio, ar dir gwyddiant noeth, y bydd y ddau yn para o dan amodau mwy ffafriol mewn byd arall.

Felly dyna'r wrthddadl gyntaf,—mai gwaith o eiddo'r ymennydd ydyw meddwl,—wedi darfod am dani ar ei thir ei hun. Trown am funud at y llall. "Y mae a fynno fy ail bwnc i," medd y Proffesor, "a'r nifer anhygoel ac anioddefol o fawr, y rhaid i ni bellach gredu eu bod yn anfarwol, os yw anfarwoldeb yn wir." Am anfarwoldeb o wynfyd y sonir o dan y pen hwn. Ystyria'r darlithydd anfarwoldeb o wae diddiwedd i luoedd afrifed yn syniad rhy ffol i gael sylw yn yr ymdriniaeth hon; ond gan mai dweud hyn y mae, heb geisio ei brofi, ac heb adeiladu dim arall arno, nid rhaid i ninnau yma fyned ar ol y syniad. Dyna'r wrthddadl yn fyr ynte. Rhaid fod llu mawr iawn yn anfarwol, os oes anfarwoldeb hefyd. Bu adeg pryd nad ymddangosai'r greadigaeth yma'n rhyw anhwylus o fawr; a hawdd y pryd hwnnw ydoedd i'r dychymyg wneud lle i dyrfa'r anfarwolion. Patrieirch, proffwydi, brenhinoedd, rhai rhagorol y ddaear oedd amlycaf yn y darlun; a chai'r werin y fraint o lanw'r amlinelliad yna i fyny. Yn wir nid oedd y dorf i gyd y pryd hynny ddim yn anghymedrol o liosog. Ond erbyn hyn gweled yr ydym fod y byd yn llawer mwy nag y tybid gynt, a bod dynion wedi byw ar y ddaear er ys llawer mwy na chwe' mil o flynyddoedd. Gofynnwn mewn syfrdandod, wrth edrych ar y llu afrifed sydd i etifeddu anfarwoldeb,—os oes anfarwoldeb i fod hefyd—pa le y ceir nefoedd ddigon helaeth iddynt, ac i ba beth y maent hwy da?

Cwestiwn ydyw hwn yn codi o'n culni a'n bychandra ni, yn edrych ar y peth o'n safle'n hunain, Os nad oes arnom ni eisieu'r dorf ddirfawr o Chineaid, dyweder, y maent hwy eu hunain yn cael cystal blas ar fyw a ninnau; ac y mae ar Dduw eu heisieu hwy. Ac am y cwestiwn o le, nid yw hwnnw'n bod o gwbl, pan gofiom ni fod pob enaid a greir, yn dwyn ei dreftadaeth o amser a lle i'w ganlyn. "O'm rhan i," meddai'r Proffesor, "yr wyf yn foddlon, cyn belled ag y mae rhesymeg yn mynd, i bob deilen erioed a dyfodd yng nhoedwigoedd y byd yma, ac a suodd erioed yn yr awel, fod yn anfarwol. Pwnc o hanes ydyw i gyd. A ydyw'r dail felly?" Nid oes dim yn peri na allant fod.

Dyna'n fyr iawn yr ail wrthddadl, a'i ateb yntau iddi. Y mae mor fanwl ag unrhyw ran o'r ddarlith, er na chydwelem ni o bosibl lawn cystal a phob peth a ddywedir dan y pen yma, yn enwedig a'r golygiad a awgrymir am ddibwysedd cymharol rhinwedd a bai yn nghyfrif Duw, golygiad a awgrymir er mwyn dangos gwerth pob bywyd ganddo ef. Ond byddai raid mynd i mewn i'r ymresymiad yn fanwl at wneud tegwch âg ef; ac nid yw'r wrthddadl ei hun, fe ymddengys, yn un a chymaint o fin arni a'r llall, er ei bod yn un eithaf byw, y mae'n amlwg, i feddwl y darlithydd.

Yr un ydyw ei amcan bron ag eiddo Butler, nid profi ei bwnc ar dir gwyddoniaeth, namyn dymchwelyd rhyw bethau yn null poblogaidd yr

oes o feddwl sy'n bygwth y pwnc. Yn ol ymadrodd gwiwddestl Mr. James ei hunan, rhyddhau aden gobaith. Os ydym am obeithio etifeddu'r fuchedd dragwyddol, y mae ei ymresymiad ef yn rhwyddhau'r ffordd i ni wneud. Dyna'n unig oedd ei amcan; ac y mae wedi ei gyrraedd gyda medr ac eglurder mawr; ac os cyfyd hyn o grybwyllion awydd darllen y llyfr bychan ar rywun, bydd fy amcan innau wedi ei gyrraedd hefyd.

I gyfeiriad arall y rhaid i ni edrych am y dadleuon dros yr athrawiaeth am anfarwoldeb yr enaid. Ië, ni gawn ei alw yn enaid yn awr, wedi ei alw hyd yma'n feddwl; rhag cymeryd yn ganiataol y peth oedd mewn dadl, sef bod enaid dyn yn rhywbeth mwy nag un o weithrediadau ei gorff ef. Yr oreu o'r dadleuon oll o blaid yr athrawiaeth ydyw'r un a arferodd yr Arglwydd Iesu Grist wrth ymresymu â'r Saduceaid. "Ac y cyfyd y meirw, Moses hefyd a hysbysodd wrth y berth, pan yw ef yn galw'r Arglwydd yn Dduw Abraham, ac yn Dduw Isaac, ac yn Dduw Jacob. Ac nid yw efe Dduw y meirw, ond y byw; canys pawb sydd fyw iddo ef." (Luc xx. 37, 38). Nid profi yr ydys, fod Abraham ac Isaac a Jacob yn fyw pan oedd yr Arglwydd yn llefaru wrth Moses. Y mae hynny'n bod; ond buasai'r ddadl felly'n llawer rhy wan. Nid oes dim pwyslais i'w roddi ar yr ystyriaeth fod y patrieirch wedi meirw, a'u bod yn cael son am danynt er hynny fel rhai y mae'r Arglwydd yn Dduw iddynt. Y mae dal gormod ar hynny'n cuddio gwir ergyd yr ymresymiad. Ar y berthynas rhwng y patrieirch a Duw y mae'r pwyslais. "Myfi yw Duw Abraham." Y berthynas sy'n sicrhau eu hanfarwoldeb. Profir eu bod yn anfarwol, nid trwy ddangos fod yr Arglwydd yn siarad am dano'i hunan fel eu Duw ymhen cenedlaethau ar ol eu marw hwy, ond trwy ddangos fod y berthynas sydd rhyngddynt âg ef yn rhy bwysig i ddarfod yn y fuchedd yma. "Nid yw efe Dduw y meirw, ond y byw; canys pawb sydd fyw iddo ef." Rhaid fod creadur digon mawr i Dduw fod yn Dduw iddo, yn ddigon mawr i bara'n hŵy na'r byd presennol. Y mae cymdeithas ei Grewr yn rhoi gwerth arno na feddai efe mo hono ynddo'i hun. Os yw dyn yn greadur ag y mae'n werth gan Dduw wneud cydymaith o hono, y mae'n rhy werthfawr i'w gyfrgolli yn yr angeu. Cysegrir ef gan y gymdeithas i fyw byth. Fe fydd byw am fod yr hwn a ymostyngodd i wneud cyfaill o hono heb orffen siarad âg ef. "Myfi a wn fod fy Mhrynwr yn fyw, ac y saif yn y diwedd ar y ddaear. Ac er ar ol fy nghroen, i bryfed ddifetha'r corff hwn, eto caf weled Duw yn fy nghnawd; (yn ol Davidson, *heb fy nghnawd*) yr hwn a gaf i mi fy hun ei weled; a'm llygaid a'i gwelant, ac nid arall" (Job xix. 25, 26). Cymer Job yn ganiataol y bydd ei gystudd yn angeu iddo; ond mae gan y Goruchaf beth i'w ddweyd wrtho eto, i glirio ei garitor ef; ac fe fydd yntau ar gael, gan hynny, yn dyst o'r diflyniad a'r ymwared sydd yn aros ei goffadwriaeth. Y mae Duw heb orffen siarad âg ef, am hynny y mae buchedd dragwyddol yn ei aros. Y mae'r byd hwn yn rhy fychan, a'r hoedl yn rhy fer i fywyd o gymundeb â Duw. Y mae'r bywyd yma, yn ei natur i ddechreu, ac yn ei barhad wedyn, yn fywyd tragwyddol, bywyd o gyfeillach â Duw.

"Fy nghyfail wyt, medd Ef wrth lwch y llawr,
A'th Dduw wyf fi i dragwyddoldeb mawr."

"Nid yw efe Dduw y meirw, ond y byw; canys pawb sydd fyw iddo ef."

Dyma, meddai'r Proffesor Caird, yr unig ddadl grefyddol dros anfarwoldeb. Y mae dadleuon eraill, ac yn eu mysg rai grymus iawn; ond dyma'r unig ddadl na fuasai yn bod oni bai fod crefydd, a chrefydd oleuedig hefyd, fel y ceir hi yng nghyffiniau, os nad o fewn terfynau, crefydd y Beibl.

J. PULESTON JONES.

---

## NODIADAU LLENYDDOL.

COFIANT A GWEITHIAU Y PARCHEDIG RICHARD PARRY (Gwalchmai). Dan Olygiaeth R. Peris Williams. Gwrecsam: Hughes a'i Fab. Saith o rifynnau Chwecheiniog yr un. Fel y dywed y Golygydd, "Yr oedd oes Gwalchmai yn un hynod o ddigwyddfawr," ac nid dyfais ddi-anturiaeth oedd cael rhyw ddau ddwsin o brif lenorion y genedl i ysgrifennu ei hanes. Ond y mae y gwaith wedi ei gyflawni yn rhagorol yn y gyfrol ddestlus hon. Ceir ynddi bump o ddarluniau hardd: Gwalchmai yn 58 oed; Bryn Llewelyn, Cartref Gwalchmai; Gwalchmai a'i Ferch—Megan Gwalchmai; Gwalchmai yn 90; a Bedd Gwalchmai. Y mae y darluniau hyn, ynghyd a'r argraffwaith, yn haeddu pob canmoliaeth. Yn y Gweithiau ceir Llythyrau y Cenhadwr (saith), Pregethau (pedair), a darnau Barddonol (dau-ar-bymtheg). Yr oedd Gwalchmai yn gymeriad ardderchog, ac nis gall ei hanes lai na gadael yr argraff oreu ar y neb a'i darlleno. Nid oedd yn rhy fawr i ddynion cyffredin, trwy ddiwydrwydd, geisio ei efelychu. Fırwyth llafur a gofal diwyd, ddisgla r, cyson, a didrwst, yn hytrach na thalent wreiddiol, oedd ei ragoriaethau, yr hyn a'i gwna yn esiampl fwy teilwng i ddynion ereill. Rhagorai fel dyn, fel pregethwr, fel llenor, ac fel bardd. Nid yw y dernyn canlynol o'i farddoniaeth ond un o'i gyfansoddiadau mwyaf cyffredin. Nid oes unrhyw o chest ynddo, ac ni dderbyniodd arian-dlws am dano; ond y mae yn llawn o synwy , tynerwch, cydymdeimlad cywirdeb a gweddeidddra; ac y mae hynny yn farddoniaeth o'r radd uchaf, pe gellid perswadio y rhai a alwant eu hunain yn blant Ceridwen i w gredu. Gwyddom am feirdd gwell na Gwalchmai; ond nis gwyddom am neb gwell nag ef i awenyddion ieuainc ei ddarllen. Mae yn llawn o ysbryd Wordsworth.

CLADDEDIGAETH FY MRAWD.

Ti ddistaw fedd, agor dy fynwes glyd,
Mewn tawel hedd, i dderbyn trysor drud;
Llwch aur fy mrawd, i orphwys ennyd bach,
Nes puro'r cnawd mor lân a'r enaid iach.

Trwy'th wely di yr aeth y Prynwr mawr,
I uchder bri, uwchlaw gorseddau'r llawr;
Ei bobl ef arweinia bob yr un
I lys y nef, trwy'r porth lle'r ai ei hun.

Pan ddyry floedd a dreiddia fôr a thir,
Drwy'r byd ar goedd—dychwel ei gorff yn bur;
Er esgyn fry, i balas mawr ein tad,
I blith y llu, tragwyddol eu mwynhad.

Y babell wan, ddatodir yn dy gell,
Ddaw yn y man i ansawdd lawer gwell;
Y marwol drydd i dduwiol fythol fyw,
Anfarwol fydd, o fewn paradwys Duw!

Mae'n tremio'n awr ar enwau'r tadau, res,
Ar feini'r llawr, yn addysg er ein lles,
I baratoi ar gyfer pen y daith,
Ni cheir ymdroi drwy'r llwybrau eto'n faith.

Diniwed ddyn, na wyddai ddichell fyd,
Heb gâs na gwŷn, caredig ar bob pryd;
Os llai ei ddawn na rhai o'i frodyr fu,
Yr un ni chawn ffyddlonach o'r holl lu.

Ffarwel ar hyn, fy anwyl Robert mwy,
Fy nghamrau dŷn i'th annedd—gwel'd yr wy'
Y down i gyd, o un i un, i'r bedd,
Bawb yn ei bryd, nes cyrraedd yr un sedd.

O fynwent dlos! dros fy nghyfoedion i,
A'r dail a rhos yw d' unig addurn di?
Llannerch-fy-Medd! hen gofion fyrdd yn awr,
Am lawer gwedd, gwyd un o lenni'th lawr.

Caniadau Moelwyn. Y Drydydd Gyfres. Cyhoeddedig ac ar werth gan yr Awdwr yn Aberteifi. Pris Swllt. Eisteddfodwr oedd Gwalchmai, ac Eisteddfodwyr ydyw toraeth y beirdd Cymreig. Mae Moelwyn yn eithriad, ac ymffrostia yn hynny. "Nid oes gennyf," meddai, "gadair na choron: nid ymgeisiais am y naill na'r llall; ac nis gwn beth yw iâs o awydd am y cyfryw deganau. Ychydig iawn fu fynnof â'r Eisteddfod, a phan oeddwn fachgen y bu hynny: ni anfonais linell i gystadleuaeth er pan yn ddwy-ar-bymtheg oed." Ac aiff yn llawer pellach na hynny. "Credaf finnau," meddai, "na wawria oes aur yr awen Gymreig hyd nes rhyddhao ei hunan yn llwyr oddiwrth ddylanwad yr Eisteddfod." Dyna lefaru difloesgni. Ond er y tincian arfau hyn sydd yn y rhagymadrodd,

"Tynerwch tannau arian
Er hyn a geir yn y gân."

Mae Moelwyn yn wir fardd. Cymerer y dernyn prydferth a ganlyn yn brawf o hynny:—

CYFRINACH DUW.

Job xv. 8.

I.

Oes, mae gan Dduw ei ddirgeledigaethau;
Dywed ambell air o'i feddwl gwiw;
A fyddi di yn clustymwrando weithiau?
A glywaist ti gyfrinach Duw?

II.

Ti glywaist gân mwyalchen lwyd, blygeiniol,
A murmur yr afonig fyw.
Ti glywaist chwiban awel yn y cyfnos,
A glywaist ti gyfrinach Duw?

III.

Mae llais tu fewn i leisiau'r greadigaeth—
Llais tragwyddoldeb yw;
Ddeallaist ti leferydd y gyfriniaeth?
A glywaist ti gyfrinach Duw?

IV.

Pan oedd dy enaid prudd yn ymddistewi,
  Pan waedai'r galon dan ei briw,
Pan oedd y byd yn fud, heb air i'th lonni,
  A glywaist ti gyfrinach Duw?

V.

Mi'th welais, frawd, a'th lestr yn y tonnau,
  A wnest ti ddeall drwy gyfrinach Duw—
    CYFRINACH DUW.
Fod Cariad Hollalluog wrth y rhwyfau?
  A Chariad Hollwybodol wrth y llyw?

**Ceir yn y llyfr hefyd bump o ganeuon o eiddo ei frawd, Mr. William Gruffydd Hughes, yr hwn a fu farw. Y gyntaf ydyw, Ffarwel iti, Ynys Dlos. Ar ddelw "Isle of Beauty"—Bailey. Gwelir fod yr "un gwaed" yn rhedeg drwy awen y brawd ag sydd yn awen Moelwyn.**

SIMON O CYRENE.

I.

Cynhesai'n calon atat, Anwyl Seimon,
  Wrth feddwl am y fraint dderbyniaist ti—
Cest *ran* yn Iachawdwriaeth byd o ddynion
  Wrth gynorthwyo fy Ngwaredwr i!

II.

"A hwy a'i cymhellasant;"—medd yr hanes,
  I ddwyn y croesbren garw i "ben y bryn."
Fu cymhell lawer arnat, Seimon, tybed,
  A'r Iesu'n crynnu dan ei faich yn syn?

III.

Na, credaf i ti frysio i dosturio
  Wrth un dosturiodd gymaint drwy ei oes,
Ac fod dy galon fawr yn cydymdeimlo
  Wrth weled ei war yn plygu dan y groes!

IV.

Agorodd Duw dy lygaid er it' weled
  Gogoniant pur etifedd dae'r a nef?
Os oedd y groes i'w chario i ti'n galed,
  O drymed faich dy bechod iddo Ef!

V.

Wrth gario'r groes, a chofio am y goron,
  A "dilyn" Iesu—âf i "ben y bryn;"
Ymostwng dan y groes yw 'mraint uchelaf,
  I fyny'r âf fel Seimon wrth wneud hyn.

VI.

Mae'r groes yn arw, ond mi wela'r goron,
  A chanu wnaf mewn gorfoleddus sain;
Bu Ef dan goron ddrain, a chroes, yn gwaedu,
  Er mwyn i mi gael coron heb y drain.

W. G. H.

LLYFR ELFENNOL AR BABYDDIAETH. Gan y Parch. Charles H. H. Wright, D.D., Ficer Eglwys St. John, Lerpwl. Caernarfon: Llyfrfa'r Cyfundeb: D. O'Brien Owen. Pris Swllt. **Cyfieithiad ydyw y llyfryn bychan rhadlawn hwn o'r un gyfrol a gyhoeddwyd gan Gymdeithas y Traethodau, a'r cyfieithydd ydyw y Parch. J. Mostyn Jones. Er mai Llyfr Elfennol y gelwir y gyfrol, a'i bod i'w chael am bris mor fychan, cynwysa yr ymdrin-**

iaeth fwyaf cryno a chynwysfawr, mewn gw'rionedd, ar y mater. Yn awr, pan y mae Pabyddiaeth yn gwneuthur ymosodiad mor feiddgar ar Gymru, dylai y gyfrol hon gael ei dodi ym mhob teulu, a'i darllen gan bawb. Y mae y peth goreu a ddarllenasom erioed ar y mater mewn cylch byr. Heblaw y darllenniad, ceir yn y gyfrol wyth o ddarluniau, ac y mae pob un o'r rhai hyn yn gynorthwy i'r llygad sylweddoli yn fwy byw ac annileadwy yr hyn y traethir am dano. Y cyntaf ydyw darlun o Faddeueb Tetzel yn yr Amgueddfa Brydeinig. Gwerthu y Maddeuebau hyn er mwyn cael arian i adeiladu Eglwys St. Pedr yn Rhufain a barodd i Luther hoelio ei wrthdystiad wrth ddrws Eglwys Wittenburg, ac a arweiniodd i'r Diwygiad Protestanaidd. Yn eu mysg ceir Mesur Troed y Forwyn Fair. Gallai i lawer peth mwy annhebyg ddigwydd na chael mesur troed rhywun; ond y mae Mesur Troed y Forwyn yn amrywio o saith modfedd i saith modfedd a thri chwarter o hyd, ac o ddwy fodfedd ac wythfed o led i fodfedd a thri chwarter. Ceir yma hefyd ddarlun o'r Medal Bathedig er coffâd am gyflafan St. Bartholomeus, 1572. Nid oes dim yn debyg i'r darluniau hyn am adael argraff ar y meddwl o rai pethau na ddylid eu hanghofio gan Gymry y dyddiau hyn. Y mae y llyfr wedi ei gyfansoddi mewn iaith ac arddull y gall pawb eu deall yn rhwydd, ac y mae hynny, wrth ymdrin â materion o'r fath bwys, o fantais fawr iawn.

Athrawiaeth yr Iawn gan Anselm. Wedi ei droi o'r Lladin i'r Gymraeg, gan William Glynne, B.A., Pendleton, Manchester. Pris Deunaw Ceiniog. Anfonasom y gyfrol fechan hon i un o'r Lladingwyr goreu yng Nghymru, ac un o'r rhai cymhwysaf i roddi ei farn ar ei chynwysiad, ac fel hyn yr ysgrifenna: "Some notice of the great labour Mr. Glynne has gone through would be simple justice to one of the most industrious students the whole kingdom possesses. His toil, his references, reading, and notes have been simply amazing. The introduction to this little book will give only a faint idea, if any adequate idea, of his incredible labours, to most readers. The discovery which relates to the Bologna school is, it seems to me, of great importance in the history of the doctrine, and looks like a discovery of his own. He will, I hope, write an English monograph on Anselm, which will, I expect, contain things worthy of the attention of the most accomplished historians of doctrine. All this may seem to you exaggerated, but see his accumulation of materials, and you will come to another conclusion." Fel y gwelir, cyfieithiad ydyw y llyfr hwn o *Cur Deus Homo* Anselm. Y mae cyfeiriadau mynych Dr. Lewis Edwards at y llyfr yn *Athrawiaeth yr Iawn* wedi peri fod cannoedd a chwennychent ei ddarllen drostynt eu hunain yn yr iaith yr ysgrifennwyd ef. Nid yw hynny yn bossibl ond hyd yn oed i ychydig iawn o ysgolheigion. Yn y cyfieithiad hwn ceir y nesaf peth i hynny. Ac ymarferiad dda hyd yn oed i Ladinwyr ieuainc fyddai cydmaru y cyfieithiad hwn â'r gwreiddiol. Yr hyn a barodd i'r awdwr ei gyhoeddi ydoedd: "(1.) Rhag y gallai fod rhyw Gymro yn rhywle yn ofer ddyheu am ei ddarllen; (2.) O barch i goffadwriaeth fy anwyl hen athraw, y diweddar Hybarch Dr. L. Edwards; ac (3.) Er adgoffa fy nghyd-genedl fod cysylltiad agos rhwng duwinyddiaeth Cymru a'r eiddo yr Eglwys Gristionogol." Dyma resymau cryfion dros ei gyfieithu, a thros ei ddarllen ar ol ei gyfieithu. Dylai Cymru feddu Ysgol Dduwinyddol, a duwinyddiaeth gydgordiol â holl dduwinyddiaeth yr Eglwys Gristionogol, er yn dwyn delw Cymru.

Ysgol Jacob: Breuddwyd ac ymchwil am Dduw. Gan John Hughes, M.A., Liverpool. Gwrecsam: Hughes a'i Fab. Pris Deunaw. "Oes y llyfrau bychain ydyw hon," medd yr awdwr yn ei ragymadrodd. "Anhawdd ydyw cael gan ddynion mewn adeg mor brysur i ddarllen llyfrau helaeth, yn arbennig mewn Duwinyddiaeth. Ar yr un pryd, un o angheni-

ion mwyaf yr oes, a Chymru yn nodedig felly, ydyw llyfrau ar bynciau duwinyddol o fewn cwmpas cymharol fychan, i feithrin yn y Werin argyhoeddiad o Fôd Duw a'i agosrwydd atom." Y mae y llyfryn bychan hwn yn un hylaw iawn i'w ddodi yn y llogell, a'i gymeryd o amgylch gyda ni. Y mae ei bennodau mor fyrion, a'r cyfeiriadau at y materion ar ymyl y ddalen mor gyfleus, nes y mae yn ein cymhell i'w ddarllen ar bob hamdden a gawn. Difyrrir ni yn fawr gan ei arddull. Bydd ymrithiad lliaws o hen eiriau yn ein goglais. Credwn fod gan yr awdwr fwy o reitheg weithiau nag o resymeg. Prin hefyd y mae yn ddigon tringar gennym bob amser o enwau dynion llawn cymaint âg ef ei hun. Byddwn ambell dro yn barod i feirniadu ei ramadeg a'i wyddoniaeth, ac i dybied nad yw wedi darllen y cwbl ar bopeth. Ond y mae gan y llyfr, wedi'r cwbl, afael gref iawn ar ein holl natur; a chredwn yn ddi-betrus ei fod yn un o'r petnau goreu yn ei ffordd a gafodd ieuenctyd Cymru ers llawer dydd.

Straeon Hynod: Sylfaenedig ar ffeithiau. Gan Agur. Gwrecsam: Hughes a'i Fab. Pris Chwecheiniog. Am bob un geir i ddarllen llyfr ceir deg i ddarllen stori. A pha ddrwg dysgu trwy stori? Dyma hanner dwsin o honynt am chwecheiniog: straeon a adawant eu hôl ar gôf darllennydd tra fyddo byw.

Efengyl Ioan: Gyda Rhagarweiniad a Nodiadau. Gan y Parchn. Owen Davies, D.D., Caernarfon, a H. Cernyw Williams, Corwen. Cyf. I. Llangollen: W. Williams. Pris 2s. Cynwysa y Gyfrol Ragarweiniad i'r holl Efengyl, ynghyd ag Esboniad ar yr Wyth Pennod Cyntaf. Dau Gymro glân gloyw, gyda phennau clir iawn, yn dweyd eu meddwl yn ddigwmpas, mewn iaith a ddealllir gan bawb, ydyw yr awdwyr. Gwna hynny eu hesboniad o'r gwerth mwyaf i bawb. Y mae y gyfrol hefyd wedi ei hargraffu yn dda odiaeth, ac yn cael ei gwerthu am bris sydd yn ei dwyn i gyrraedd holl ddeiliaid ein Hysgolion Sabbothol.

Pregethau y diweddar Barch. William Jones, Abergwaen. Dan olygiaeth y Parch. T. T. Jones, Caerdydd. Llangollen: W. Williams. Pris 3s. 6ch. Unwaith yn unig—ychydig cyn diwedd ei oes—y digwyddodd i ni weled a chlywed Mr. Jones. Ond yn ddiau yr oedd y tro hwnnw yn ei ogoniant. Nid yw yn debyg yr anghofir y bregeth gan neb oedd yn ei gwrando. Ond wedi marw, dyma ef yn awr yn llefaru eto yn y Pregethau hyn. Ac y mae yn llefaru yn ardderchog iawn—yn newydd, cryf, a chroyw. Gallem dybied ei fod yn hoff o weledigaethau Llyfr y Datguddiad. Agorir y Gyfrol, gan bregeth odidog ar yr Angel Mawr a'i Lyfr Bychan (Dat x. 8—11), a chloir hi i fyny gyda'r bregeth olaf a bregethodd yn Abergwaun, sef Ymddangosiad a iaith gyfryngol Iesu (Dat. i. 13—18). Y mae y pregethau hyn yn sicr o osod safon pregethu Cymru ar dir uwch. Gwnaeth y golygydd ei waith yn rhagorol. Carasem ddifynnu, yma ac acw, o'r pregethau cyfoethog hyn. Ond rhaid ymatal Yn unig goddefer i ni gyfeirio at Bregeth V., sef Bywyd y Byd Dynol megys Symudiad Meddyliol, ar y geiriau "Oblegyd ynddo Ef yr ydym ni yn byw, yn symud, ac yn bod," Act. xvii. 28. Y mae hon yn ddiameu yn un o'r pregethau mwyaf gwreiddiol ac awgrymiadol yn y gyfrol. Wedi sylwi ar Natur y Symudiad hwn, cyfeiria at ei Hanes—yn y byd, yn yr Eglwys, ac yn y nefoedd—sylwa: "Y mae gyda ni yng Nghymru symudiad neillduol, sef y deffröad Cymreig. Dyma symudiad yn ol awrlais Cymru. Y mae gan y genedl Gymreig yn awr awrlais iddi ei hun; ac un ardderchog ydyw—un wedi ei gyfansoddi o feddwl y genedl. Ganrifoedd yn ol yr oedd y *clock* Cymreig yn un enwog iawn—efe oedd yn cadw amser i Ewrop. Dichon y bydd iddo eto yn y dyfodol ddyfod yr un mor enwog a gwasanaethgar yn y byd. Y mae y meddwl Cymreig yn naturiol gyfoethog. Y mae fel ambell gwm yn

Morganwg, a'r glo sydd ynddo heb ei gyffwrdd. Y mae mwngloddiau meddyl-iol cenedloedd ereill Ewrob wedi cael eu gwaghau yn fawr. Meddylier am y fath gyfoeth sydd wedi ei dynnu allan o fwnglawdd meddwl Cyfandir Ewrob—y fath gyfoeth o athroniaeth, barddoniaeth, a cherddoriaeth. Meddyliwch eto am y fath gyflawnder o fân-bethau sydd wedi eu cloddio allan o feddwl y genedl Seisnig. Ond y mae mwngloddiau meddwl y genedl Gymreig megys heb eu cyffwrdd. Y mae y cyfo th yn guddiedig, ond i gael ei ddatguddio yn y dyfodol agos. Gwir fod ychydig weithio wedi bod yn barod ar y mwngloddiau, ond ar y wyneb yn unig y bu hynny. Ond yn y dyddiau hyn y mae paratoi ar gyfer myned i'r dyfnderau. Erbyn hyn y mae gyda ni ein Colegau Cenedlaethol, ac y mae yr Ysgolion Canolraddol ac Uwchraddol ar ddyfod i'n gwlad. Bydd manteision addysg yn sicr o fod yn gynorthwyol i gloddio i'w dyfnderau, ac y mae peth o gyfoeth na welwyd o'r blaen yn dechreu dyfod i'r golwg. Credaf y gwelir yng Nghymru dlawd cyn hir athronwyr, beirdd, cerddorion, gwyddonwyr, ac yn sicr dduwinyddion na bydd angen iddynt gywi'yddio yng nghym-deithas goreuon cenedloedd ereill. Y mae y symudiad y dyddiau hyn i'r cyfeiriad gogcneddus yna. Awrlais o wneuthuriad ysbrydol, ïe, o wneuthur-iad Dwyfol yw yr un Cymreig. Effaith dwyfol ras ar fyd y meddwl. Y mae y meddwl Cymreig wedi bod yn byw ym myd athrawiaeth gras a gwirionedd, byd bywyd tragwyddol, byd "y pethau ni welir," a'r gogoniant a ddatguddir i bobl Dduw," byw gyda'r dyrfa fawr sydd yn eu gynnau gwynion yn sefyll ger bron gorseddfainc Duw a'r Oen, byw gyda'r Groes a'r Iawn; ond yn y dyddiau diweddaf hyn y mae meddwl y genedl Gymreig wedi symud i fyd *trais* a *gormes*, i'w baratoi ar gyfer y mil blynyddoedd. Dyma yr awrlais newydd, a synwn i ddim pe byddai yn myned yn fyd-enwog, ac yn cadw amser yn y byd, canys awrlais gras yw ef."

THE CRITICAL REVIEW of Theological and Philosophical Literature. Edited by Principal S. D. F. Salmond, D.D., F.E.I.S. Edinburgh: T. & T. Clark. Quarterly. Price 1s. 6d. July (20th), 1899. Dau beth sydd yn gwneuthur y cyhoeddiad hwn o'r gwerth mwyaf yn ein golwg. Yn y lle cyntaf, ysgrifennir ei erthyglau yn ddiwahaniaeth gan ysgrifennwyr o'r safle uchaf. Hawdd ydyw gweled fod pob mater yn cael ei drin gan y dwylaw mwyaf medrus. Pa lyfr bynnag a adolygir, y mae ôl addfedrwydd barn i'w weled ar yr adolygiad, a rhoddir y darllenydd mewn meddiant o'r cnewyll-yn. Yn ail, y mae y pris yn rhyfeddol o isel. Y mae yng nghyrraedd y darllennwyr mwyaf cyffredin: ond nid yw hynny yn tynnu dim oddiwrth ragoriaeth ei gynwysiad. Ceir ynddo adolygiad cyflawn ar lenyddiaeth y Chwarter.

THE EXPOSITORY TIMES. Editor—James Hastings, M.A., D.D. Monthly. 6d. Llwydda y Golygydd i droi allan un o'r misolion mwyaf dyddorol a darllenadwy yn yr iaith Saesneg. Y mae i fyny â'r wedd ddiweddaraf ar bob pwnc. Ceir yr enwau pennaf wrth rai o'r ysgrifau manaf. Ei berygl feallai yw myned yn rhy fanwl a dysgedig.

THE SACRED BOOKS OF THE OLD TESTAMENT, both Human and Divine. A Study in Higher Criticism. By Edwin Williams, M.A., Trefecca College. The Davies Lecture of 1898. Carnarvon: C. M. Book Agency, D. O'Brien Owen, 1899. Price 3s. 6d. Pan ar fyned i'r wasg daeth y gyfrol brydferth hon o 243 o dudalennau i'm llaw. Ar ol tipyn o ddisgwyl, da gennym y tâl y cyfoeth ychwanegol roddwyd ynddi drwy hynny am y disgwyl. Nid oes gennym hamdden i fyned drwyddi yn awr; ond da gennym allu hysbysu am ei hymddangosiad, ac y ceir adolygiad mwy manwl a chyflawn arni mewn rhifyn dyfodol

# Y TRAETHODYDD.

## GOHEBIAETH Y PARCHEDIG THOMAS CHARLES, B.A., O'R BALA.

### XIII.

### YR ORDEINIAD CYNTAF YM MYSG Y METHODISTIAID.

[Ysgrifenwyd y llythyr hwn ar ddalen ynglŷn â bil am amryw nwyddau a brynwyd o fasnachtŷ Mr. Thomas Rice Charles, mab yr ysgrifennydd.]

THOMAS CHARLES TO DAVID CHARLES.

My Dear Brother,

My son brought me this sheet which he was going to post to you. I will just add a word, as there is room for so doing, on a subject which lies heavy on my mind daily, viz., the health of my dear partner. She is much improved from what she has been, but still continues far from well —none of her complaints have entirely left her. She is easy and free from pain in general but her whole constitution is shaken to the very foundation. To me, it is very affecting to perceive her in a state of great debility both as to body and mind. I perceive only the shattered remains of a noble superstructure in ruins. Though she has the perfect use of her reason her recollection is gone almost entirely. If she applies her mind with any degree of intenseness to any subject, she is at once lost. She cannot read nor write, and as she is incapable of occupying herself for her amusement or profit, I am obliged by every tie of duty and affection to be with her constantly. I now travel but little, and that only about home. I am occupied in my study, as busy as ever, endeavouring to complete the laborious work I have been so many years about, as perfect as I can. My appendix will be large.

THOMAS CHARLES AT DAVID CHALLES.

Fy Anwyl Frawd,

Daeth fy mab a'r ddalen hon i mi, yr hon a fwriadai ei hanfon i chwi. Ychwanegaf air, gan fod lle i hynny, ar fater sydd yn gorffwys yn drwm ar fy meddwl, sef afiechyd fy anwyl gymhar. Y mae yn llawer gwell nag a bu, ond pery eto ym mhell o fod yn dda, nid oes un o'i chlefydau wedi ei hollol adael. Y mae yn esmwyth ac yn rhydd oddiwrth boen yn gyffredin, ond y mae yr holl gyfansoddiad wedi ei ysgwyd i'w sylfeini. I mi, y mae yn boenus ei gweled mewn cyflwr o wendid mawr mewn corff a meddwl. Nid wyf yn canfod ond gweddillion drylliedig adeilad arddunol mewn adfeilion. Er ei bod yn meddu ar lwyr ddefnydd o'i rheswm, y mae ei chôf wedi myned bron yn gyfangwbl. Os rhydd ei meddwl gydag unrhyw fesur o ymroad ar unrhyw bwnc y mae ar unwaith ar goll. Nis gall ddarllen nac ysgrifennu, a chan ei bod yn analluog i wneud dim i ddifyrru na lleshau ei hunan, yr wyf yn cael fy ngorfodi gan bob rhwymau o ddyledswydd a serch i fod gyda hi yn wastadol. Nid wyf yn awr yn teithio ond ychydig —a hynny oddiamgylch cartref. Yr wyf yn gweithio yn fy myfyrgell mor brysur ag erioed, yn ceisio gorffen y gwaith llafurfawr yr ydwyf wedi bod gydag ef gynifer o flynyddoedd, mor berffaith ag

I have entertained some distant thoughts of meeting you at Cardigan Association, but that is altogether uncertain. I cannot leave her, and it is uncertain whether she will be able or *disposed* to travel so far from home. Travelling last summer was of great service to her, and I mean to try the same means this next summer if we live. But then I cannot go but where she is *inclined*, and that is to *very few* friends, and, therefore, to very few places. I wish much to have an interview with some of the South Wales friends before our annual meeting at Bala. If I cannot meet you at Cardigan, I think a few of those who take the lead in the concerns of the body ought to meet us here at Llanfyllin Association, April 23, 24. Our plan of proceeding ought to be agreed upon, that everything may be done peaceably, decently, respectably. I find very little help from any here. After all their bustle and clamour they are all now at a standstill, and totally at a loss how to proceed further. It is no pleasant work to me, but I am willing to sacrifice everything for the good of the cause. My inmost soul abhors the conduct of some of our hot-headed young men, however they are all now silent, and in a great degree have lost their imaginary self-importance. We shall be glad to see you when you can conveniently come. Our united love to sister, your lovely daughter and little David. In our comfortable new habitation, we have four spare beds, so that you may bring them *all* along with you when you come. Be sure to give my kindest love to my dear, dear old uncle, if alive. I have heard that he has been in a weak state for some time. I should have come to see him if my dear sickly partner could have accompanied me so far. I believe his death will prove truly his distinct gain.

Yours faithfully,

THOMAS CHARLES.

Bala, Jan. 16, 1811.

[Can any of you South Walians collect materials for a biographical account of Mr. Jones of Llangan. I wish much to embellish and enrich my *Trysorfa* with a biography worthy of him. Have you nothing interesting among you, that would be worth publishing? Are there not interesting

y gallaf. Y mae fy atodiad yn fawr. Yr wyf wedi bod yn meddwl eich cyfarfod yng Nghymdeithasfa Aberteifi, ond y mae hynny yn hollol ansicr. Nis gallaf ei gadael, ac y mae yn ansicr a fydd hi yn alluog neu yn awyddus i deithio mor bell oddicartref. Bu teithio yr haf diweddaf o gryn wasanaeth iddi, a bwriadaf ddefnyddio yr un moddion yr haf nesaf os byddwn byw. Ond nis gallaf fyned y pryd hynny ond i ba le bynnag y bydd hi yn awyddus,—ac nid yw hynny ond at ychydig iawn o gyfeillion, ac felly i ychydig iawn o leoedd. Mawr ddymunaf gael ymddiddan a rhai o gyfeillion y Deheudir cyn ein cyfarfod blynyddol yn y Bala. Os nad allaf eich cyfarfod yn Aberteifi, tybiaf y dylai ychydig o'r rhai blaenllaw gyda phethau y corff ein cyfarfod yng Nghymdeithasfa Llanfyllin, Ebrill 23, 24 Dylid cytuno ar ein dull o weithredu, fel y gellir gwneud popeth yn heddychlon, yn dawel, a pharchus. Nid wyf yn derbyn llawer o gynorthwy gan neb yma. Ar ol eu terfysg a'u swn, y maent yn awr wedi sefyll ac yn hollol ddisyniad pa fodd i fyned ym mhellach. Nid yw yn waith dymunol i mi, ond yr wyf yn barod i aberthu pob peth er mwyn yr achos. Y mae fy enaid yn cashau ymddygiad rhai o'r gwŷr ieuanc penboeth; ond y maent yn awr yn ddistaw ac i fesur mawr wedi colli eu hunanbwysigrwydd. Bydd yn dda gennym eich gweled pan y gallwch ddod yn gyfleus. Ein serch unedig i'n chwaer, eich merch hardd, ac i David bach. Y mae yn ein hannedd newydd cyfforddus bedwar gwely gwag, fel y gallwch ddod a hwynt oll gyda chwi pan y deuwch. Gofalwch roddi fy serch caredicaf i'm hanwyl, anwyl hen ewythr, os byw. Clywais ei fod mewn cyflwr gwan iawn er ys peth amser. Buaswn wedi dod i'w weled pe gallasai fy anwyl gymhar glaf gyd-deithio gan belled gyda mi. Yr wyf yn credu y bydd i'w farwolaeth brofi yn elw sicr iddo.

Yr eiddoch yn ffyddlawn,

THOS. CHARLES.

Bala, Ion. 16, 1811.

[A all rhai o honoch yn y Deheudir gasglu defnyddiau bywgraffiad o Jones, Llangan? Yr wyf yn mawr ddymuno addurno a chyfoethogi fy "Nhrysorfa" gyda chofiant teilwng o hono. Onid oes gennych rywbeth dyddorol yn eich plith a fuasai yn werth ei gyhoeddi? Onid oes llythyrau dyddorol o'i eiddo—

letters of his, not like the insignificant ones that have been published, that would be worth publishing? Have you no interesting account of your schools? No new hymns composed by D. C.? Another number is preparing for the press. Have you seen Dealtry's defence of the Bible Society? You ought to see it, on account of your poor brother who is held forth therein to public view.]

nid fel y rhai dinod a gyhoeddwyd—a fuasent yn werth eu cyhoeddi? Onid oes rhyw hanes dyddorol am eich ysgolion? Neu Emynnau newydd gan D.C.? Y mae rhifyn arall yn cael ei baratoi i'r wasg. A welsoch chwi amddiffyniad Dealtry o'r Feibl Gymdeithas? Dylech ei weled, o herwydd eich brawd tlawd a arddanghosir ynddo i olwg y cyhoedd.]

## XIV.

[Fe welir oddiwrth gynnwys y llythyr canlynol mai ar Chwefror 26ain, 1811, yr ysgrifenwyd ef. Perthyn i'r llythyr hwn gryn ddyddordeb yn wyneb haeriadau a wneir gyda golwg ar y rhan a gymerodd Mr. Charles yn y gwaith o neillduo brodyr i weinyddu yr ordinhadau ym mhlith y Methodistiaid yn Sasiwn Mehefin 1811. Yn anffodus nid yw y llythyr yn gyfan, y mae amser wedi gadael ei ol yn drwm arno].

THOMAS CHARLES TO DAVID CHARLES.

Dear Brother,

Your letter enclosing a draft of £20 for my son came to hand to-day. We are much obliged by all the trouble you take with our little concerns in your parts.... And perhaps it may be useful to give you a short account of our proceedings. About two months past, after consultation with some of the brethren here, I sent a letter to the several monthly meetings in the different counties, requesting them to send deputies, two from each (no preachers) to meet together here in Bala, February 25, to consult together respecting the mode of proceeding in the important change about to take place in our connection, and to arrange the mode of proceeding in every particular by our Association in June. Yesterday they were all here, and spent the whole day in prayer and consultation; and they were well selected; some of the most spiritual, discreet, cool, and deliberate persons in our connection. It was rather an awful day for us all; our fears and anxieties pressed upon us with great weight, distrusting ourselves and fearful of consequences. However, the Lord was mindful of us, and considered our weakness, and pitied and helped us in our time of need. I met them in their first meeting, and stated to them the different points they were called to deliberate upon. 1. They were to consider who were the most proper persons to be selected from among their brethren to officiate in the administration of the ordinances of Baptism and the Lord's Supper

THOMAS CHARLES AT DAVID CHARLES.

Anwyl Frawd,

Daeth eich llythyr yn cynnwys archeb am ugain punt i fy mab, i law heddyw. Yr ydym yn dra rhwymedig o herwydd yr holl drafferth a gymerwch gyda'n materion bychain yn eich parthau chwi ..... Ac feallai y byddai yn burion i roddi i chwi adroddiad byr o'n gweithrediadau. Rhyw ddeufis yn ol, ar ol ymgynghori â rhai o'r brodyr yma, anfonais lythyr i'r gwahanol Gyfarfodydd Misol yn y gwahanol siroedd, yn gofyn iddynt anfon cynrychiolwyr—dau o bob un (heb fod yn bregethwyr)—i gyfarfod yma yn y Bala y 25ain o Chwefror, i ymgynghori gyda golwg ar y dull o weithredu yn y cyfnewidiad pwysig sydd i gymeryd lle yn ein cyfundeb, ac i drefnu y dull, ymhob achos ar gyfer â'n Cymdeithasfa ym Mehefin. Ddoe yr oeddynt oll yma, a threuliasant y diwrnod oll mewn gweddi ac ymgynghoriad. Yr oeddynt wedi eu dewis yn dda,—rhai o'r personau mwyaf ysbrydol, doeth, tawel, a phwyllog yn y cyfundeb. Yr oedd yn ddiwrnod braidd yn ofnadwy i ni oll. Pwysai ein hofnau a'n pryderon arnom yn drwm, gan anghredu ein hunain ac yn ofni'r canlyniadau. Modd bynnag, cofiodd yr Arglwydd ni, ac ystyriodd ein gwendid a thosturiodd, a chynorthwyodd ni wrth raid. Cyfarfyddais hwynt yn y cyfarfod cyntaf, a gosodais ger eu bron y gwahanol byncіau, ar ba rai y galwyd hwynt i ymgynghori. 1. Yr oeddynt i ystyried pwy oedd y personau mwyaf priodol i'w dewis o fysg eu brodyr i wasanaethu yng ngweinyddiad yr ordin-

among us. 2. Then to consider *how* they were to be set apart. 3. To fix upon . . . . After thus introducing the business, I withdrew, and left them to select the persons who were to be appointed. They proceeded with great judgment and caution, and fixed upon eight persons from the different counties,—viz., M. Roberts, Jn. Elias, Richd. Lloyd, Ev. Richardson, Thos. Jones, Jn. Davies, Evan Griffith, Wm. Jones. Some of these you are, perhaps, not acquainted with, but I am *fully* satisfied with the selection they have made, and I trust it will be universally approved of. But understand me, all this is subject to the control of our association. We wish by all means to exclude altercations and disputings in our associations, if possible. The first point being disposed of, I met them again in the afternoon and arranged the whole mode of proceeding in setting them apart. A detail of the whole would be too tedious and prolix here; you will be informed of it in good time, and I hope you will be able to be present with us. They are to be examined in certain fundamental points of divinity, to be selected by the lifting up of hands,—and three of the most aged and venerable, who are fixed upon, are to pray on the occasion, and to give them and the people a suitable word of exhortation. *I mean to be in the back-ground.* The mode of administering the ordinances is to be subjected to the joint deliberations of the persons themselves and to be approved by the body. They are recommended to aim at uniformity. . . . and to set themselves against all wild innovations with. . . . persevering resolution. All was conducted and ended in a very. . . . manner and the brethren went their way rejoicing this morning.

I fear we shall not be able to visit S. W. this spring. I am called up to London in the month of May, if I am able to leave my dear invalid for so long a time. I dread taking her with me so far from home. She is far from well, tho' much better than she has been. If I do not go to London perhaps towards the month of May, we may try by gentle motions to visit our friends in the South. I have promised to be in London if circumstances will admit of it. I shall be glad to know where your association in May will be held as soon as it is fixed. All my future pro-

hadau o Fedydd a Swper yr Arglwydd. 2. Yna yr oeddynt i ystyried pa fodd yr oeddynt i gael eu neillduo. 3. I benderfynu ar . . . . . . . Ar ol agor y mater, euthum allan, a gadewais hwynt i ddewis y personau oeddynt i'w penodi. Aethant ymlaen gyda barn a phwyll mawr, a phenderfynasant ar wyth o bersonau o'r gwahanol siroedd :—M. Roberts, Jn. Elias, Richd. Lloyd, Ev. Richardson, Thos. Jones, Jn. Davies, Evan Griffith, Wm. Jones. Feallai nad ydych yn gydnabyddus â rhai o honynt, ond yr wyf wedi fy llwyr foddloni ar y dewisiad a wnaed, a hyderaf y bydd yn cael ei gymeradwyo yn gyffredinol. Ond deallwch fi, y mae hyn oll dan reolaeth y Gymdeithasfa. Dymunwn ar bob cyfrif i osgoi anghydfod a dadleuon yn ein Cymdeithasfaoedd, os bydd modd. Wedi penderfynu y mater cyntaf, cyfarfyddais hwy wedi hynny yn y prydnawn, a threfnwyd holl ddull y gweithredu yn y neillduad. Byddai manylion y cwbl yn rhy flinderus a maith yma. Hysbysir chwi o honynt mewn amser da, a hyderaf y gallwch fod yn bresennol gyda ni. Fe'u arholir mewn amryw o'r pynciau sylfaenol mewn duwinyddiaeth—fe'u dewisir drwy godi dwylaw, a bydd i dri o'r brodyr hynaf a mwyaf parchus a benodir, weddio ar yr achlysur, a rhoddi iddynt ac i'r bobl air addas o anogaeth. *Yr wyf yn bwriadu bod o'r golwg.* Y mae y dull o weinyddu yr ordinhadau i'w roddi i ystyriaeth unedig y personau eu hunain, ac i'w gymeradwyo gan y Corff. Cyfarwyddir hwynt i amcanu at unffurfiaeth . . . . . ac i osod eu hunain yn erbyn pob arferion newydd gwyllt gyda phenderfyniad dyfal. Dygwyd pob peth ymlaen a therfynwyd mewn dull tra . . . . ac aeth y brodyr ymaith heddyw y boreu yn llawen.

Ofnaf nad allwn ymweled â'r Deheudir y gwanwyn hwn. Gelwir fi i Lundain ym mis Mai, os gallaf adael fy anwylyd fethiantus cyhyd. Ofnaf ei chymeryd gyda mi mor bell oddicartref. Y mae ymhell o fod yn iach, er ei bod yn well nag y bu. Os nad af i Lundain, feallai tua diwedd mis Mai y ceisiwn drwy symudiadau tra esmwyth ymweled â'n cyfeillion yn y De. Yr wyf wedi addaw bod yn Llundain, os goddef amgylchiadau. Byddai yn dda gennyf wybod ymha le y cynhelir eich Cymdeithasfa ym Mai, mor fuan ag y penderfynir. Y mae fy holl symudiadau yn y dyfodol yn amheus,

ceedings are to me dubious, but I have a wish to attend if I can. I wish you much of the meekness of wisdom in all your proceedings, and Divine leadings and supports. All mine unite with me in kind love to sister, yourself and family.

Your affectionate Br.,

THOS. CHARLES.

[Remember us very affectionately to my dear uncle. Inform me in your next how he is. I trust an abundant entrance will be administered to him to the everlasting kingdom. The *Bangor Gazette* informed us first of Dr. John's matrimonial exploit. Since then we have received a letter from him on the interesting subject. I hope he will be comfortable. The more children, the better.]

ond y mae gennyf ddymuniad bod yn bresennol os gallaf. Dymunaf ar i chwi gael llawer o addfwynder doethineb yn eich holl weithrediadau, ac arweiniad a chynhaliaeth Dwyfol. Y mae pawb o'r eiddof yn ymuno a mi mewn serch caredig i'n chwaer, a chwithau a'r teulu.

Eich serchus frawd,

THOS. CHARLES.

[Cofiwch ni yn serchus at fy anwyl ewythr. Hysbyswch fi yn eich llythyr nesaf pa fodd y mae. Hyderaf y rhoddir iddo fynediad helaeth i'r deyrnas dragwyddol. Y *Bangor Gazette* a'n hysbysodd gyntaf o helynt briodasol Dr. John. Cawsom ar ol hynny lythyr oddiwrtho ar y pwnc dyddorol. Hyderaf y bydd yn ddedwydd. Goreu po fwyaf o blant.]

## XV.

THOMAS CHARLES TO DAVID CHARLES.

Dear Brother,

I was glad to receive your pleasing account of the Cardigan Association. I hope the good Lord is influencing the minds of our brethren at large in a proper and peaceable manner; and the issue of our meeting here at Bala has had very favourable effects; the threatening storm is subsided, the turbulent are checked, and all appearances at present promise concord, unanimity, and vigorous exertions in the common cause. I am sorry our preachers should appear so ignorant of the design and nature of our proceedings. Though I was not an ostensible agent, yet behind the curtain *(between us)* I was obliged to influence the whole, or else they would have been much at a loss how to proceed, and likely to create dispute and confusion. I wished the brethren in the different counties to know each other's minds and to be sensible that they were not choosing the persons to act only for their respective districts but for the whole body at large, and therefore it was proper that they should be approved of by the body as collectively considered in their Association. But to have any proposed at the Association and *rejected*, I thought would be attended with a variety of bad consequences, and produce animosities and endless disputes. Those who have been nominated at Bala are to be announced

THOMAS CHARLES AT DAVID CHARLES.

Anwyl Frawd,

Yr oedd yn dda gennyf dderbyn eich adroddiad hapus o Gymdeithasfa Aberteifi. Gobeithiaf fod yr Arglwydd da yn dylanwadu ar feddyliau ein brodyr yn gyffredinol mewn dull priodol a heddychlawn Y mae canlyniad ein cyfarfod yma yn y Bala wedi cael effeithiau ffafriol iawn. Y mae y storom oedd yn bygwth wedi tawelu, y mae y terfysglyd wedi eu distewi, ac y mae yr ymddangosiadau oll yn addaw heddwch, unfrydedd, ac ymdrechion egnïol yn yr achos cyffredin. Drwg gennyf fod ein pregethwyr yn ymddangos mor anwybodus o amcan a natur ein gweithrediadau Er nad oeddwn yn ymddangos fel gweithredydd, eto yr oeddwn (rhyngom ni) o'r tu ol i'r llen yn gorfod dylanwadu y cwbl, onidê, buasent yn dra anwybodus pa fodd i weithredu, ac yn debygol o achosi dadleuon a therfysg. Dymunwn ar i'r brodyr yn y gwahanol siroedd wybod meddyliau eu gilydd, ac i deimlo nad oeddynt yn dewis y personau i weithredu yn eu rhanbarthau arbennig, ond yn yr holl gorff yn gyffredinol; ac o herwydd hynny, yr oedd yn briodol iddynt gael eu cymeradwyo gan y corff yn gyffredinol drwy eu Cymdeithasfa. Ond tybiais, pe byddai i unrhyw un gael ei gynnyg a'i wrthod yn y Gymdeithasfa, dilynid hynny gan ganlyniadau drwg, a chynyrchid gelyniaethau a dadleuon

to the respective Monthly Meetings in each county, subject to animadversions there and alterations if judged advisable. Lastly, their names to be announced at Bala Association, and to be approved of by lifting up of hands before they are solemnly separated to the work by the prayers of three of our oldest and most venerable brethren, viz., old John Evans, Robert Jones, Tybwlcyn, and John Jones, Bodynolwyn, in Anglesey. I shall previously prepare everything ready for that meeting, write down the questions to be asked, and order the whole proceeding that everything may be conducted with proper solemnity and decorum; but I do not choose to take an *open* active part in the business. I think you had better consider well your mode of proceeding, that the cause may suffer no reproach or be disgraced for want of wisdom and proper attention. You must not leave it to the rash, the forward, and the ignorant, or else you will betray the most glorious and important cause in the world. I cannot think of any respectable aged preacher among you that you can call forth to act on the occasion, but of that you must be the best judges. Perhaps one or two of our aged brethren might be prevailed upon to attend with you if thought requisite I only suggest this hint for you to ruminate upon. I think there should be a meeting of selected brethren from the different Monthly Meetings before Trecastle Association. and I judge it would be as proper to hold it in Carmarthen as anywhere else,—as you will be there on the spot to assist. I fear it will not be in my power to attend Trecastle Association, as I am obliged to attend an Association among the English at Chester immediately on my return from London. If I can do anything for you whilst in town I shall expect to hear from you, and you will direct to Spa Fields as usual. My dear partner continues rather improving in health, and unites with me in affectionate regards to sister, yourself, and family. We expect to see many of you at Bala Association.

Your affectionate brother,

THOS. CHARLES.

Bala,
April 11, 1811.

diddiwedd. Y mae y rhai a enwyd yn y Bala i'w cyhoeddi yn eu gwahanol gyfarfodydd misol ym mhob sir, i dderbyn sylwadau a chyfnewidiadau os gwelir yn ddoeth. Yn ddiweddaf, cyhoeddir eu henwau yng Nghymdeithasfa y Bala, a chymeradwyir hwynt drwy godiad dwylaw cyn iddynt gael eu neillduo yn ddifrifol i'r gwaith drwy weddïau tri o'r brodyr hynaf a pharchusaf, yr hen John Evans, Robert Jones, Tybwlcyn a John Jones, Bodynolwyn, yn Sir Fon. Paratoaf bobpeth o flaen llaw ar gyfer a'r cyfarfod, ysgrifennaf y cwestiynau sydd i'w gofyn, a threfnaf yr holl weithrediadau fel ag i bobpeth gael ei wneud gyda difrifwch a threfnusrwydd priodol. Ond nid wyf yn dewis cymeryd rhan agored yn y gwaith. Yr wyf yn meddwl y dylech ystyried yn dda eich dull o weithredu fel na bydd i'r achos dderbyn gwarth na gwaradwydd o ddiffyg doethineb a gofal priodol. Na fydded i chwi ei adael i'r brysiog, a'r hyf, a'r anwybodus, onite chwi fradychwch yr achos mwyaf gogoneddus a phwysig yn yr holl fyd. Nis gallaf feddwl am unrhyw bregethwr hen, parchus, yn eich plith y gallwch ei alw ym mlaen i weithredu ar yr achlysur, ond o hynny, y chwi ydyw y beirniaid goreu. Feallai y gellid pwyso ar rai o'r hen frodyr i fod yn bresennol gyda chwi, os bydd angen. Nid wyf ond yn gwneud y crybwylliad hwn i chwi feddwl drosto. Yr wyf yn meddwl y dylai fod cyfarfod o frodyr dewisedig o'r holl siroedd cyn Cymdeithasfa Trecastell, a barnaf y byddai mor briodol ei gynnal yn Nghaerfyrddin ag yn un man arall, gan y byddwch chwi yn y lle i gynorthwyo. Ofnaf na bydd yn fy nghallu i ddod i Gymdeithasfa Trecastell, gan fy mod yn gorfod myned i Gymdeithasfa ym mhlith y Saeson yng Nghaer allan o law wedi dychwelyd o Lundain. Os gallaf wneud rhywbeth drosoch pan yn nhre' disgwyliaf glywed oddiwrthych, a chyfeiriwch fel arfer i *Spa Fields*. Parha fy nghymar anwyl i wella ychydig mewn iechyd, ac una â mi mewn cofion cariadus at ein chwaer, eich hunan a'r teulu. Disgwyliwn weled llawer o honoch yng Nghymdeithasfa y Bala.

Eich serchog frawd,

THOS. CHARLES.

Bala,
Ebrill 11, 1811.

## CATHOLIGRWYDD.*

CASGLIAD ydyw y gyfrol hardd a thrwchus hon o ddeg o ysgrifau a ymddangosasant o bryd i bryd yn y *Contemporary Review*, o Mawrth, 1884, hyd Mehefin, 1897. I bawb sydd wedi darllen ei weithiau blaenorol, y mae enw yr awdwr, Dr. Fairbairn, yn ddigon o wystl am eu teilyngdod. Ac er iddynt gael eu hysgrifennu ar wahanol adegau, dros amryw flynyddoedd, nid ydynt nac arwynebol na digysylltiad, ond ffrwyth darlleniad a myfyrdol hirfaith a gofalus, ar faterion o'r pwysigrwydd mwyaf yn y byd deallol a chrefyddol. Yn eu mysg ceir ysgrifau ar y Cardinal Manning a'r Adfywiad Catholig, Egwyddorion Crediniaeth Mr. Balfour, Rhai duwinyddion Seisnig diweddar, megys Lightfoot, Westcott a Hort, Jowett a Hatch, a Rhydychen a Jowett Ond defnyddir y rhan fwyaf o'r gyfrol o lawer i ymdrin yn uniongyrchol â'r ysgogiad Catholicaidd a Newman, tra y mae y rhan arall yn dal perthynas anuniongyrchol â hynny.

Nodweddir yr ysgrifau gan ddau beth na chyfarfyddir â hwynt ond hynod o anfynych, yn enwedig mewn materion dadleuol, sef cymedrolddeb a di-arbedrwydd. Ni ddangosir yma y duedd leiaf i daflu unrhyw ddiystyrwch na sarhad ar y personau na'r sefydliadau y mae yr awdwr yn anghydweled â hwy. Yn wir, dywed yn eglur nas gall Cristionogaeth ei hun ennill dim oddiwrth waith Cristionogion, pa faint bynnag y dichon fod y gwahaniaeth rhyngddynt â'u gilydd, yn troi i ymosod ar eu gilydd. "Cyfeiliornad o'r fath waethaf," meddai, "ydyw tybied y dichon unrhyw un ffurf o Gristionogaeth fanteisio trwy i unrhyw ffurf arall gael ei gwneuthur yn wawd. Rhan o wallgofrwydd y sectol, pa un bynnag ai Catholig ai gwrth-Gatholig fyddo, ydyw coelio fod ei gyfundrefn ef ei hun yn dyfod yn fwy rhesymol i'r graddau y dangosir eiddo ereill yn fwy afresymol. Dylai y Protestant fod mor foddhaus wrth ddarganfod rheswm mewn Catholiciaeth ag y dylai y Catholig ddarganfod gwirionedd mewn Protestaniaeth; mae yr hyn sydd yn gwneuthur y naill yn wawd yn gwneuthur y llall yn llai credadwy. Oblegyd, os ydynt yn gwahaniaethu, y maent hefyd yn cytuno, ac y mae y cytundeb rhyngddynt yn y pethau mwyaf hanfodol sydd yn dwyn perthynas â dyn. Os yw Crist yn byw mewn Catholiciaeth, dylai ef ymddangos yn fwy hynod, a hithau yn llai gwrthun, yng ngolwg y Protestant; ac os ydyw yn byw o fewn Protestaniaeth, dylai Ef ymddangos yn fwy grasol, a hithau yn llai diffygiol o ras a gwirionedd, i'r Catholig." Cydnabydda ragoriaethau cyfiawn Eglwys Rhufain, ac addefa fod y symudiad Defodol wedi peri adfywiad amlwg mewn crefydd yn Eglwys Loegr. Ond nid ydyw ei gymedroldeb yn ei rwystro i ymchwilio i'r eithaf i wirionedd eu honiadau nac i ddinoethi yn ddiarbed ddiffygion eu cyflawniadau. Ac er nad yw arddull yr awdwr ddim i'w chydmaru am foment âg eiddo Cardinal Newman o ran swyn ac eglurder, eto rhaid i bob darllennydd diragfarn addef nad

* Catholicism: Roman and Anglican. By A. M. Fairbairn, M.A., D.D., LL.D, Principal of Mansfield College, Oxford. London: Hodder and Stoughton. 7s. 6d.

ydyw yr un radd yn ol iddo o ran nerth ei feddwl a grymusder ei ymresyniadau.

Tybir gan ddarllenwyr arwynebol nad yw y symudiad mawr sydd yn cynhyrfu cymaint ar Eglwys Loegr yn y dyddiau hyn ddim ond rhywbeth a gyfododd, megys yn ddamweiniol, trwy ddylanwad Newman, ac oddiwrth yr ysgogiad Tractaraidd a ddechreuodd yn Rhydychen ychydig gyda thri ugain mlynedd yn ol. Dengys Dr. Fairbairn mor ddisail ydyw y dyb hon. Nid oedd y symudiad Tractaraidd ei hun, yn wir, ddim ond cyffyrddiad o'r llifddyfroedd mawrion oeddynt wedi bod yn gorlifo dros gyfandir Ewrob ers rhai canrifoedd, wedi ei gychwyn trwy y Diwygiad Protestanaidd, a chyn hynny. Y mae y deffroad Ewropeaidd am Ryddid wedi cymeryd amrywiol ffurfiau—crefyddol, llenyddol, a gwladwriaethol. Yn Germany, trwy Luther, cymerodd y wedd flaenaf. Dymchwelwyd awdurdod y Pab, a dinystriwyd y ffurf-lywodraeth Eglwysig. Yn fuan esgorodd y deffroad Eglwysig ar ddeffroad meddyliol a llenyddol. Daeth y Beibl i gael ei feirniadu, ac athrawiaethau mwyaf cysegredig crefydd i gael eu dadleu. Yn Ffrainc ymddangosodd yr ysbryd aflywodraethus hwn yn y ffurf o chwildröad gwladol. Diorseddwyd y brenin, difeddiannwyd y mawrion, taflwyd yr allorau i lawr, a gorseddwyd rheswm dyn fel y duw priodol i'w addoli. Ymddangosai yr ysbryd hwn ar ffurf Diwygiad, yn dwyn yr arwyddeiriau deniadol, "Rhyddid, Brawdoliaeth, a Chydraddoldeb." Swynid y meddyliau mwyaf bywiog a blaenllaw ganddo. A bu bron i Newman ei hun gael ei lyncu i fyny iddo. "Y gwirionedd yw," meddai, "yr oeddwn yn dechreu dewis rhagoriaethau deallol o flaen rhai moesol; yr oeddwn yn prysur lithro i gyfeiriad Rhyddid y dydd. Ond yn niwedd 1827 dihunwyd fi yn arw o fy mreuddwyd gan ddau ergyd trwm—afiechyd a galar."* Y darnodiad a rydd efe o'r Rhyddid y cyfeiria ato ydyw hwn: "Y mae rhyddid barn ynddo ei hun yn dda, ond gall arwain i au ryddid. Yn awr, wrth Ryddid yr wyf fi yn golygu gau ryddid y meddwl, neu yr ymarfer o feddwl ar faterion, ymha rai, oherwyd cyfansoddiad y meddwl dynol, nas gall y meddwl ddyfod i benderfyniad llwyddiannus arnynt, ac sydd, oherwydd hynny, allan o'i le. Ymhlith y materion hynny y mae egwyddorion sylfaenol o bob math: ac o'r rhai hyn rhaid ystyried fel y rhai mwyaf cysegredig a phwysig wirioneddau Datguddiad. Rhyddid, ynte, ydyw y cyfeiliornad o ddarostwng i reswm dynol yr athrawiaethau datguddiedig hynny sydd o ran eu natur tu hwnt iddo, ac yn anibynnol arno, a hawlio i benderfynu, ar ei droed ei hun, wirionedd a gwerth y gosodiadau hynny sydd yn ymddibynnu am eu derbyniad yn unig ar awdurdod allanol Gair Duw."† Yr oedd yn hollol amlwg iddo fod y rhyddid beiddgar, os nid digrefydd ac annuwiol hwn, yn dyfod i mewn i Loegr fel afon. Yr oedd y cyffro am helaethiad yr etholfraint a rhyddfreiniad y Pabyddion yn ei lanw â braw. A phan gariwyd hwy trwy y Senedd, teimlai fod y sylfeini yn cael eu symud. Hyd hynny nid oedd neb yn cael eistedd yn nau Dŷ y Senedd ond rhai a broffesent ymlyniad wrth yr Eglwys. Ond yn awr, ar ol diddymiad y Profion a'r Llwon, yr oedd gau-gredwyr a gwrth-gredwyr yn meddu yr un hawl i fod yno, ac yr oedd yr hawl honno yn cynnwys awdurdod i farnu mewn

* Apologia, 14. † Apologia, 288.

pethau cysegredig yn ogystal a chyffredin. I ddyn o deimladau crefyddol dwysion ac angerddol Newman yr oedd hyn yn rhy arswydlawn i'w oddef. Nid oedd yn erbyn rhyddid barn; ond nis gallai oddef rhyddid barn ar bethau cysegredig. Nid oedd yn elyn i'r wladwriaeth; ond pan ddaeth eisteddle awdurdod y wladwriaeth i gynnwys rhai nad oeddynt yn Gristionogion i drin materion yr Eglwys, daliai y dylai cysylltiad yr Eglwys a'r wladwriaeth gael ei dorri. Yr oedd ei eiddigedd dros wirionedd dwyfol yn angerddol, yn enwedig rhag iddo syrthio dan grafangau rheswm anysbrydoledig.

Y cwestiwn ydoedd, pa beth i'w wneud? Pa fodd y gellid gwrthsefyll y fath lifeiriant? Yn ei gyfyngder, gan ei fod yn wir grefyddol, trodd at yr Eglwys. Trwy ddylanwad Dr. Hawkins, Provost Oriel, yr oedd cyfnewidiad mawr wedi cymeryd lle yn ei farn am yr Ysgrythyrau. Yr oedd wedi arfer darllen ei Feibl o'i febyd, ac yn hoff ryfeddol o hono, fel y dengys ei ysgrifeniadau. Ond, trwy bregeth adnabyddus o eiddo Dr. Hawkins, o bulpud y Brifysgol, argyhoeddwyd ef nad oedd y Beibl erioed wedi ei fwriadu i ddysgu athrawiaethau crefydd, ond yn unig i'w profi, ac, os mynnem ddysgu athrawiaeth, fod yn rhaid myned at ffurf-lyfrau yr Eglwys, y Catechism, er esiampl, a'r Credöau. Agorodd y syniad hwn iddo faes eang iawn. Un o'i effeithiau ydoedd taro yn uniongyrchol ar wraidd yr egwyddor yr oedd y Feibl Gymdeithas wedi ei sylfaenu arni. Hyd yn hyn yr oedd yn aelod o gangen y Gymdeithas yn Rhydychen, ac nid oedd ond mater o amser iddo gilio o honi, er na wnaeth hynny ar unwaith.* O hyn allan, yn lle myned ar ei union "at y gyfraith, ac at y dystiolaeth," trodd Newman at yr Eglwys. Rhaid addef fod crefydd, ar y pryd, yn yr Eglwys Sefydledig, yn isel a dirywiedig iawn. Yr oedd ynddi y pryd hwnnw, fel bob amser, ei gwahanol adrannau—Uchel, Isel, a Llydan Ond marwaidd a dilewyrch oeddynt. Dechreuodd yntau ymgynhyrfu. Darllennai hanesyddiaeth eglwysig. Siaradai â'i gyfeillion, yr ychydig o rai mynwesol oedd ganddo. Pregethai. Ac o'r diwedd penderfynodd gyhoeddi y Traethodau bythgofiadwy, wedi eu hysgrifennu ganddo ef ei hun ac ereill, ond o dan ei olygiad ef, y rhai a ddaethant i ddiwedd mor swta gyda Thraethodyn Rhif xc. Ei amcan mawr oedd deffro ei gydwladwyr, ac yn enwedig ei gyd-eglwyswyr, i'r peryglon yr oedd crefydd a phob daioni ynddynt trwy ymddangosiad ysbryd penrydd a lledaeniad egwyddorion llac a diawdurdod. Trwy gymhorth dychymyg cryf, galluoedd disglaer a thanbaid, a chariad angerddol ati, desgrifiai yr eglwys yn ei gogoniant mawr, fel colofn a sylfaen y gwirionedd, mammaeth saint a phroffwydi, cartref trefn ac awdurdod, a'r unig arch ddiogel i drigo ynddi ynghanol y diluw o aflywodraeth oedd yn awr yn bygwth pob peth. Cymerai olwg eang ar yr eglwys dros yr holl fyd, ac edrychai ar Eglwys Loegr fel ffurf leol a neillduol o'r Eglwys Gatholig ac Apostolig. Os nad oedd hi felly, nid oedd hi ddim. Rhaid addef fod llawer o'r hyn a ellir ei alw yn briodol yn Rhamantyddiaeth, h.y. dychymyg bywiog yn gwneud y tro yn lle rheswm clir, a ffug yn lle ffaith, yn y desgrifiadau hyn; ond yr oedd yr amcan yn ddigon amlwg.

* Apologia, 10.

O'r diwedd, modd bynnag, disgynna'r un ysbryd penrydd arno yntau. Yn lle bod yn ysbryd ffydd, try yn awr yn ysbryd amheuaeth am ddilysrwydd Eglwys Loegr fel rhan o'r wir Eglwys. Ar ol blynyddoedd o bryder ac amheuon, daeth ef, a lliaws o'r rhai a gydymdeimlent âg ef, i'r farn nas gallent edrych mwyach ar Eglwys Loegr fel rhan o'r Eglwys Lân Gatholig. Nis gallai benderfynu pa beth oedd wirionedd, na'i amddiffyn ar ol ei benderfynu. Oherwydd hyn, ac am nas gallent gredu yn y posibilrwydd o gadwedigaeth y tu allan i arch y wir ffydd, er pob manteision a rhagorfreintiau, gadawsant hi, ac aethant drosodd am eu bywyd i Eglwys Rhufain. Wedi cyrhaedd yno teimlai Newman ei fod o'r diwedd yn y porthladd. Y mae ei gyffro yn tawelu, a theimla ei fod yn y diogelwch. Ymddarostyngodd yn ddi-rwgnach i'r holl bethau a ddysgai Rhufain, pa mor wrthwynebus bynnag y gallai deimlo iddynt o'r blaen. "Dywed pobl," meddai, "fod athrawiaeth traws-sylweddiad yn anhawdd ei chredu. Nid oeddwn innau yn credu yr athrawiaeth hyd nes daethum yn Gatholig. Mor fuan ag y credais mai Eglwys Gatholig Rhufain oedd oracl Duw, ac iddi ddatgan fod yr athrawiaeth hon yn rhan o'r gwirionedd gwreiddiol, nid oedd dim anhawster i mi ei chredu. Y mae yn anhawdd, yn amhosibl, ei dychymygu, yr wyf yn cydnabod,—ond pa fodd y mae yn anhawdd ei chredu? Am danaf fy hun, nis gallaf yn wir ei phrofi, nis gallaf ddywedyd *pa fodd* y mae; ond, yr wyf yn dywedyd, Paham nad all fod? Pa beth sydd yn rhwystro? Pa beth a wn i am ddefnydd neu sylwedd? . . . . Y mae yr athrawiaeth Gatholig yn gadael ymddangosiadau yn llonydd. Nid yw yn dweyd fod ymddangosiadau yn darfod; ar y llaw arall dywed eu bod yn aros; ac nid yw yn dweyd fod yr un ymddangosiadau mewn amrywiol fannau ar unwaith. Y mae yn ymwneud â pheth na ŵyr neb ar y ddaear ddim byd am dano, sef y sylweddau materol eu hunain. Ac felly, yr un modd, am yr erthygl fawreddog yn y Credo Anglicanaidd yr un modd ag yn yr un Catholig—athrawiaeth y Drindod mewn Undod. Beth wn i am sylwedd y Bôd Dwyfol? Gwn fod fy syniad am dri yn hollol anghydweddol â fy syniad am un; ond pan y deuaf at y ffaith gyfansawdd, nid oes gennyf yr un ffordd i brofi nad oes ystyr yn yr hon y gellir dywedyd fod un yn dri pan briodolir hynny i'r Duw Anghyfranogol." Felly hefyd am yr athrawiaethau ereill, ac am benderfyniadau yr Eglwys, megys Y Beichiogiad Dihalog ac Anffaeledigrwydd. Iddo ef, digon oedd fod yr eglwys wedi datgan eu bod yn bethau i'w credu, iddo ef eu derbyn yn eu cyfanrwydd. "Ac yn awr," meddai, "ar ol ei osod allan yn y modd hwn (sef Anffaeledigrwydd), yr wyf yn datgan fy ymddarostyngiad hollol i'w hawliau. Yr wyf yn credu yr holl athrawiaeth fel y dysgwyd hi gan yr Apostolion, fel y traddodwyd hi gan yr Apostolion i'r eglwys, ac fel yr hysbyswyd hi gan yr eglwys i mi. Yr wyf yn ei derbyn hi fel y mae yn cael ei deongli yn anffaeledig gan yr awdurdod i'r hon y cafodd ei thraddodi yn y modd hwn, ac (yn rhinweddol) fel y caiff, yn yr un modd, ei deongli ymhellach gan yr un awdurdod hyd ddiwedd amser. Heblaw hynny, yr wyf yn ymddarostwng hefyd i draddodiadau yr eglwys a dderbynnir yn gyffredinol, yn y rhai y gorwedd defnydd y deffiniadau newyddion o athrawiaeth, y rhai a wneir o bryd i bryd, a pha rai drwy

yr holl oesoedd ydynt wisg ac addurn yr athrawiaeth Gatholig fel y mae wedi ei phenderfynu eisoes. Ac yr wyf yn ymddarostwng hefyd i benderfyniadau ereill yr Esgobaeth Sanctaidd, duwinyddol neu beidio, y rhai a roddwyd trwy y cyfryngau ereill o'i phenodiad ei hun, pa rai, gan roddi heibio y cwestiwn o'u hanffaeledigrwydd, ydynt, ar y tir isaf, yn dyfod ataf gyda hawl i gael eu derbyn ac ufuddhau iddynt. Hefyd, yr wyf yn ystyried, yn raddol ac ynghwrs yr oesoedd, fod ymchwiliadau Catholig wedi cymeryd ffurfiau penodol neillduol, ac wedi ymfwrw i ffurf gwyddor, gyda dull a geiryddiaeth o'i heiddo ei hun, dan arweiniad deallol dynion mawr, megys St. Awstin, St. Athanasius, a St. Thomas; ac nid wyf yn teimlo unrhyw demtasiwn o gwbl i ddryllio y dreftadaeth fawr hon o feddwl a drosglwyddwyd i ni gogyfer â'r dyddiau diweddaf hyn."*

A gadael heibio yr unig gwestiwn o uwchafiaeth y Pab, yr hyn a dderbynnir yn ddibetrus hefyd gan liaws o honynt, dyna mewn gwirionedd olygiadau lliaws mawr o'r Defodwyr yn Eglwys Loegr. Aeth Newman, a lliaws o'i ddisgyblion, drosodd i Eglwys Rhufain. Gadawyd ereill ar ol. Y mae y rhai hynny, mewn gwirionedd, yr un mor barod i ymuno â Rhufain, ond iddynt gael gwneuthur hynny yn y cyfangorff, ac nid ymddarostwng iddi bob yn un ac un Yn ei nerth a'i noethder gellir symio i fyny y syniad Pabaidd fel hyn: Fod Duw, o'i ras, wedi trysori gwirionedd yr efengyl yn yr eglwys, fod yr eglwys honno, fel "colofn a sylfaen y gwirionedd," wedi ei gadw, ei amddiffyn, ei ddadblygu, a'i ffurfio yn gyfundrefn anffaeledig; fod yr holl wirionedd datguddiedig er iachawdwriaeth dynion yn cael ei drosglwyddo i lawr drwy yr holl oesoedd drwy gredöau, sacramentau, seremonïau, a gweinidogaeth yr eglwys; ac mai mewn undeb â hi, a hi yn unig, y mae yn rhaid i ddyn fod yn gadwedig. Ac y mae yn gwneuthur hyn oll, yn ol syniad y rhai sydd yn ei gredu, yn rhinwedd ei Chatholigrwydd neu Gyffredinolrwydd. Y cwestiwn, gan hynny, a ofynnir ydyw, A ydyw Catholiciaeth Eglwys Rhufain a'r Eglwys Anglicanaidd yn wir Gatholigrwydd?

Gofynna teitl y gyfrol am air o eglurhad. Addefa pawb mai un o nodau pennaf ac amlycaf y wir eglwys ydyw Catholigrwydd neu Gyffredinolrwydd.

> Mae Eglwys Dduw trwy ddae'r a'r nef yn un,
> Y meirw a'r byw a'u cydsain yn gytun:
> "Teilwng yw'r Oen," medd seintiau yn y nef;
> "Teilwng yw'r Oen," yw'n llafar ni a'n llef.

Ynghanol pob amrywiaeth a gwahaniaeth, cytuna pawb i ddywedyd, "Credaf yn yr Ysbryd Glân, yr Eglwys Lân Gatholig" Ond pan ofynnir pa peth yw ystyr yr ymadrodd, daw cryn wahaniaeth barn i'r golwg. Yn ystyr gyffredin y gair Catholig golyga yr eglwys fel y mae yn wasgaredig ymhob man mewn cyferbyniad iddi fel y mae yn ymgynulledig mewn un lle. Felly y defnyddir y gair yn y Testament Newydd, ac felly hefyd y defnyddid ef yn y canrifoedd cyntaf o hanes yr eglwys. Yn yr ymraniad mawr a gymerodd le yn yr wythfed ganrif ymfoddlonodd yr adran Ddwyreiniol, neu, fel y gelwir hi yn awr,

* Apologia, 250.

Eglwys Groeg, i alw ei hun yr Eglwys Uniongred, tra y dewisodd yr adran Orllewinol, neu Eglwys Rhufain, alw ei hun yr Eglwys Gatholig. Yn y Diwygiad Protestanaidd, drachefn, pan dorrodd Eglwys Loegr ei chysylltiad â Rhufain, daliodd hithau ei gafael yn yr enw Catholig, gan barhau i edrych arni ei hun o hyd fel rhan o'r eglwys fawr. Nid yn yr un o'r ystyriaethau hyn yr arferir y gair gan Dr. Fairbairn. "Nid yw *scope* y llyfr," meddai, "mor fawr ag yr awgryma ei deitl. Nid yw Catholigrwydd, hyd yn oed pan yn cael ei gysylltu â Rhufain, yn golygu Eglwys Rhufain. Pe buasai, buasai y gwaith yn dra gwahanol i'r hyn ydyw, yn gystal o ran defnydd ag o ran ffurf. Yr hyn a olygir ydyw y Catholigrwydd hwnnw a dyfodd o'r Adfywiad Anglicanaidd—y symudiad, gyda'i syniadau a'i gysylltiadau Rhufeinig, a ddechreuwyd yn Rhydychen, ac sydd wedi dylanwadu mor fawr ar ysbryd ac ymarferiadau Eglwys Loegr a'i phobl." Ni ddefnyddir y gair, gan hynny, gyda golwg ar le, na chyda golwg ar eglwys, ond yn bennaf gyda golwg ar syniad. A'r gofyniad yw, Pa mor bell y mae y symudiad Anglicanaidd, neu fel y gelwir ef Catholig, yn gydweddol â'r syniad am Eglwys Gyffredinol neu Gatholig.

### CATHOLIGRWYDD AC AMDDIFFYNIAD Y FFYDD.

Yr un un ydyw y wir ffydd ymhob oes ac o dan bob goruchwyliaeth. Nis gall fod ail osod ar egwyddorion digyfnewid, gan eu bod yn parhau byth. Nis gall fod ychwaith ail osod ar egwyddorion mawrion gwir grefydd. "Sylfaen arall nis gall neb ei gosod." Nid gan ddyn y gosodwyd hwy, ac nid ar law dyn y mae eu symud na'u newid. Er hynny dichon iddynt hwy, fel y Gwaredwr ei hun, ymddangos mewn gwedd arall o oes i oes, nid er mwyn ymddangos, ond mewn trefn i gyfateb yn well i'r cyfnewidiadau beunyddiol a diorffwys sydd yn cymeryd lle yn yr amgylchiadau o'u cwmpas. Gwaith pennaf yr eglwys ydyw deongli y wir athrawiaeth yn y fath fodd fel ag i sicrhau y derbyniad a'r sylweddoliad mwyaf llwyddiannus o honi yn y byd. Os felly, y mae yn dyfod yn gwestiwn o'r pwysigrwydd mwyaf: A oes unrhyw un o'r lliaws cyrff sydd yn hawlio yr enw eglwys wedi profi ei hun yn rhagori mewn effeithiolrwydd i egluro ac amddiffyn y ffydd? Dichon fod amrywiaeth barn ar hyn; ond un peth sydd sicr: O'r holl eglwysi Cristionogol, Eglwys Rhufain, ymhob peth a berthyn i'r ffydd, sydd wedi dangos ei hunan yn fwyaf ymwybodol o'i heffeithiolrwydd. Y mae wedi ei gyhoeddi ar bennau tai, wedi datgan ei hun yn anffaeledig, ac yn ymdroi ymysg yr eglwysi ereill mor benuchel fel pe na ba'i yr un o honynt yn haeddu ei chystadlu â hi. Y cwestiwn ydyw, I ba raddau y mae y symudiad Catholig yn y deyrnas hon wedi cynorthwyo dynion i feddu syniadau uwch a mwy dyrchafedig am grefydd nag y gellid ei gael y tu allan neu ar wahan iddi? Addefir ar bob llaw fod ysbryd yr oes yn anffafriol i grefydd. Y mae hen afael yr eglwys ar y bobl wedi colli. Y mae gweriniaeth gref yn anesmwyth i dra-arglwyddiaeth. Maluria gwyddoniaeth hen syniadau y cyn-oesoedd; a theifl beirniadaeth amheuaeth ar hen lyfrau a chredöau. Ym meddyliau dynion sydd yn dal gafael drwyadl yn y gwirionedd nid oes y cysgod lleiaf o amheuaeth am ei allu i wrthsefyll pob ymosodiad, ac i brofi ei

hun yn fuddugoliaethus. Y cwestiwn ydyw, A ydyw Catholiciaeth yn Rhufain a Lloegr, nid yn unig yn ceisio amddiffyn y ffydd, ond a ydynt yn ddwyn yr amddiffyniad ymlaen yn y modd sydd yn debyg o fod yn effeithiol. Perthyna i bob oes ei dull ei hun o feddwl. Creda mewn rhyw egwyddorion cyffredinol, rhyw ddulliau neillduol o ymchwiliad a phrawf, a modd arbennig o gymeryd gafael mewn cwestiynau, ac effeithia hyn ar bopeth a berthyn i'w barn a'i chredo. Cyfarfod â'r ysbryd hwn, ac nid dwyn rhesymau neillduol i brofi mater neillduol, ydyw amddiffyniad mwyaf effeithiol y ffydd. Hyn wnaeth cyhoeddiad *De Civitate Dei* Awstin, y gwaith mwyaf, feallai, o amddiffyniadau Cristionogaeth. Rhufain, y pryd hwnnw, oedd dinas benna'r byd. Hi oedd meistres yr holl ddaear. Hi oedd canolbwynt cred. Yr oedd dydd ei dinystr wedi dyfod. Y cenhedloedd paganaidd yn rhuthro ar ei gwarthaf, a'i dymchweliad yn anocheladwy. Yr oedd meddyliau dynion wedi eu llenwi â'r ing a'r cyfyng-gynghor mwyaf ofnadwy, a'r Cristionogion yn y perygl mwyaf i syrthio i ddigalondid ac anobaith. Er nad yn Rhufeiniwr, y mae Awstin yn ymgymeryd ag ysgrifennu ei Ddinas Duw; ac y mae y ddinas honno yn rhagori cymaint hyd yn oed ar Rufain ag ydoedd y nef newydd a'r ddaear newydd yn rhagori ar y nef gyntaf a'r ddaear gyntaf. Er nad yn uniongyrchol yn amddiffyniad i athrawiaethau Cristionogaeth, yr oedd yr amddiffyniad cryfaf i Gristionogaeth ei hun yn gymaint a'i fod yn sefydlu dynion ar bethau ysbrydol a thragwyddol pan oedd pethau daearol yn diflannu. Yr un modd am *Gyfatebiaeth* Butler. Yr hyn oedd *De Civitate Dei* i grefydd yn nyddiau Awstin oedd yr *Analogy* yn nyddiau Butler. Yr oedd yn llyfr arbennig i'w oes, er ei fod wedi parhau yn un o'r ymresymiadau cryfaf dros wir grefydd drwy yr holl oesoedd. Y mae yr eglwysi yn awr wyneb yn wyneb â'r cwestiynau mwyaf difrifol sydd wedi wynebu Cristionogaeth o'r dechreuad, cwestiynau sydd yn myned at sylfaen a hanfod Crefydd. Y cwestiwn ydyw, I ba raddau y mae Eglwys Rhufain a'r symudiad Anglicanaidd yn eu cyfarfod yn effeithiol? Rhaid addef ei bod yn adeg bwysig, ac yn gyfle ardderchog, o'i iawn-ddefnyddio, i wneuthur y gwasanaeth uchaf i'r ffydd. Pa fodd y mae Rhufain yn ei gyfarfod? Nid trwy ymosod o ddifrif i wneuthur ymchwiliad i achos neu achosion yr anesmwythid; nid trwy fyfyrio yn ddwysach a deall yn rhagorach wirioneddau mawrion yr efengyl; nid trwy lawenychu yn y deffroad mawr oedd ar feddyliau dynion, a'r ymofyniad mwy pryderus am oleuni. Cyferfydd âg anesthmwythyd ac amheuaeth yr oes, a'r daeargrynfäau mewn mannau, trwy orseddu gwendid a chyhoeddi ei hun yn anffaeledig! Y canlyniad yw mai gwledydd Catholig ydyw y rhai sydd yn dangos y gwrthryfel mwyaf o eiddo y deall yn erbyn Crefydd, gwrthryfel, nid yn erbyn un pwynt, ond yn erbyn pob un. Yn Belgium y mae yr ymdrech yn myned ymlaen dan ein llygaid, gwladol ar y wyneb, ond crefyddol odditanodd. Yn Itali, lle y mae y meddwl yn fwyaf gweithgar, trinir hawliau ac athrawiaethau yr eglwys gyda'r rhyddid mwyaf. Hyd yn oed yn Ysbaen, cysylltir dyheadau politicaidd â gwadiadau ar bethau eglwysig. Nid oes yr un wlad lle y mae anghrediniaeth mor gryf ac mor ddialgar â Ffrainc, lle y mae cymaint o elyniaeth, os nid yn erbyn crefydd, eto yn erbyn yr eglwys sydd yn hawlio mai hi ydyw ei chynnrychiolydd a'i deonglydd mwyaf

awdurdodedig. Yn lle ceisio arwain y dyfroedd oeddynt yn ymddyrchafu yn Ewrob i redweliau uwch a gwell, a'u gwneuthur yn ddefnyddiol i ddyfrhau llawer anialwch oedd hyd yn hyn yn anghyraeddadwy, adeiladodd Rhufain forglawdd ar draws yr afon, nes peri iddi dorri dros ei cheulannau ymhob cyfeiriad. Pa beth a wnaeth yr un ysbryd Catholig yn Lloegr? Addefir ar unwaith—ac y mae hyn yn llawer iawn—ddarfod iddo gynyddu yn ddirfawr yr ysbryd crefyddol yn Eglwys Loegr. I'r neb sydd yn alluog i'w chymharu hi yn awr wrth yr hyn ydoedd ddeugain mlynedd yn ol, y mae y gwahaniaeth yn anghredadwy. Ac i bob dyn duwiol y mae hyn mewn gwirionedd yn destyn diolch. Ac nid yn Eglwys Loegr yn unig y mae y gwahaniaeth i'w weled. Mae effeithiau yr adfywiad Anglicanaidd wedi tyneru caledwch a moelni hyd yn oed Henaduriaethwyr Scotland, a dilynwyr John Knox. Addefir ei bod yn caru Rhufain yn well, ac yn edrych yn fwy cilwgus ar Ymneillduaeth: ond er y cyfan y mae y cyfnewidiad yn newid er gwell. Y cwestiwn ydyw, A yw y wedd Anglicanaidd ar yr ysgogiad Catholig wedi gwneuthur Cristionogaeth yn haws ei chredu, ac yn fwy cydweddol âg angen cymdeithas. Cafodd Newman a'i gydlafurwyr bob mantais i wneuthur gwaith mawr. Yr oeddynt, lïaws o honynt—Newman, Keble, Pusey—yn ddynion o alluoedd cryfion, wedi eu haddysgu yn drwyadl, yn meddu safle ardderchog yn Rhydychen, ynghanol y gwŷr ieuainc oeddynt i fod yn arweinyddion a dysgawdwyr eu gwlad a'u cenedl. Yr oedd hen auaf difaterwch yn araf gilio, iâ oesol yn ymddadmer, a'r awel dyner a'r bywyd newydd yn rhagarwyddo fod gwanwyn gwell ar gymdeithas ac ar y genedl yn dechreu gwawrio. Dyma dymp yr adenedigaeth. Beth fydd y bachgenyn hwn? a pha beth a wneir iddo? Curodd yr ysbryd newydd wrth ddrws yr Eglwys. Yr oedd Newman, ac ereill, yn ddiamheu ar ddihûn. Clywsant ei gri, ond nis gwyddent am ddim byd gwell i'w wneud âg ef na galw hen ysbryd eglwysig gorthrymus y canol-oesoedd, wedi ymwisgo yn arfau y bedwaredd ganrif ar bymtheg, i'w wrthwynebu. Yn yr ystyr a rydd Newman i Ryddid, addefwn ar unwaith ei fod i'w ofni a'i wrthwynebu. Pen-rhyddid ydyw. Gwrthwynebu gwir Ryddid sydd bob amser yn esgor ar Benrhyddid. Pe buasai Newman a'i gyd-lafurwyr wedi adnabod y gwir lais, wedi cyd-ymdeimlo â dyheadau cyfreithlawn dynion am ryddid a chydraddoldeb, ac wedi ei gymeryd erbyn ei law i'w arwain at yr hyn oedd eisieu ei gyflawni, y fath gymwynaswyr fuasent i'w cyd-wladwyr ac i grefydd. Yng ngeiriau Dr. Fairbairn: "Gallasai y 'Rhyddid' hwn, i dyrch-lygaid hawl a braint, feddu golwg fygythiol; ond dylasai y llygad ysbrydol ddarllen ei galon, gweled y tebygolrwydd o berygl, ond y posibilrwydd anfeidrol o dda—ei gasineb o'r cam a'i gariad at yr iawn, ei awyddfryd am arferion mwynach, purach deddfau, a'i fwriad i greu gwladwriaeth gyfoethocach, ddedwyddach a mwy rhydd. A gallasai ysbryd fuasai yn gweled felly gynorthwyo i ddwyn Crefydd i'r Rhyddfrydedd a gwneuthur Rhyddfrydedd yn grefyddol. Ond ni chanfu John Henry Newman ddim o'r brwdfrydedd dros gyfiawnder a dynoliaeth oedd yn ei galon; dim ond ei wrthwynebiadau arwynebol i anghyfiawnder gwladwriaethol, i ragorfreintiau eglwysig, ac annefnyddioldeb henafol ond drygionus yr Eglwys a'r Wladwriaeth, am ei fod wedi ei waddoli

yn dda; ac oherwydd hynny wynebodd arno fel pe mai efe fuasai wir ellyll chwildroad, drychioliaeth dwyllodrus Atheistiaeth ac annuwioldeb. I'w wrthweithio ni ddarfu iddo syrthio yn ol ar Gristionogaeth Crist—yr oedd honno yn dal cysylltiad rhy agos â'r hyn yr oedd yn ei gasau; ond ceisiodd alw yn ol hen syniad cyfrgolledig am Eglwys awdurdodol, dysgawdwr, deonglydd, ac ymgorfforiaeth Crefydd. Ei wrthglawdd yn erbyn 'Rhydid' oedd awdurdod; gwrthryddfrydigrwydd ymgorfforedig sefydliad crefyddol. Galwyd i fyny ysbryd Eglwys y Canoloesoedd er mwyn bwrw allan ysbryd adgyfodedig Crist yn y dyn." Dewisiad trychinebus oedd hwn, colled am gyfleusdra euraidd i gyflawni y gwasanaeth uchaf. Dyma hanes Newman, a dyma nodwedd y symudiad mawr sydd yn dal cysylltiad mor agos â'i enw. Yn lle bod yn foddion i Gristioneiddio yr ysbryd nas gallai ei roddi i lawr, gosododd ei hun i fod yn wrthwynebydd anghymodlawn Rhyddid mewn byd ac Eglwys. "Llwyddodd i wneuthur Pabyddion o Brotestaniaid; ond methodd yn y peth hwnnw sydd yn argyhoeddi y digred, ac yn bedyddio ysbryd rhesymol a chwildroadol yr oes i ffydd Crist."

## CATHOLIGRWYDD A RHESWM.

"Hysbys y dengys y dyn
O ba radd y bo'i wreiddyn."

Felly hefyd am bob cred a sefydliad, rhaid iddo o anghenrheidrwydd drwy bob cyfnewidiad, ddwyn delw ei darddiad. Gwrthryfel y deall oedd y Diwygiad a'r Chwildroad yn erbyn gorones Awdurdod a Thraddodiadau. Gellir addef yn rhwydd, mor bell o leiaf ag yr oedd a fynno Newman â'r peth, fod ei wrthwynebiad i'r pethau hyn yn tarddu o'r ysbryd goreu. Yr oedd rhyddid yn rhy fynych, yn lle cadw o fewn ei derfynau ei hun, wedi arwain i benrhyddid. Yr oedd yr hawl i ddarllen ac astudio Gair Duw wedi esgor ar ysbryd beirniadol oedd yn arwain i amheuaeth o'i ddilysrwydd a'i awdurdod. Ac yr oedd yr ysbryd aflonydd oedd yn torri ar heddwch teyrnasoedd wedi dymchwelyd gorseddau a diddymu pob awdurdod. Mor bell â hyn yr oedd yn ddiameu i'w gondemnio, a phe buasai Newman yn foddlawn i gollfarnu diffygion rheswm, gallesid yn rhwydd ei gyfiawnhau. Yn lle hynny aeth mor bell a gwadu awdurdod a gallu rheswm o gwbl yn nhiriogaethau crefydd. Pethau oeddynt uwchlaw ei gyrraedd, a thuhwnt i'w allu. Nis gallai eu darganfod, na'u hadnabod ar ol eu darganfod. Ac oherwydd hyn nid oedd dim yn rhy afresymol ganddo i'w gredu. Ymorchestai yn ei ymddarostyngiad deallol i'r pethau mwyaf annealladwy. Dengys hyn, os oedd Catholigrwydd Newman yn ddigon eang i gymeryd i mewn yr holl fyd, ei fod hefyd yn rhy gyfyng i gymeryd i mewn y cyfan o gymaint ag un dyn. Ond caniatäer fod hyn yn wir am Newman fel un, beth sydd a fynno hynny a'r Eglwys Gatholig yn gyffredinol? Y mae hi yn fwy na phob duwinydd, yn fwy na phob aelod o honi. A dyma ydyw ystyr ei Hanffaeledigrwydd. Crêd pob Protestant ydyw fod y gwirionedd i'w dderbyn i'r meddwl fel y byddo yn cael ei ddirnad a'i ddeall gan y deall trwy oleuni ysbryd Duw—ysbryd Duw yn y dyn yn ei dywys yn anffaeledig i bob gwirionedd datguddiedig gan Ysbryd Duw yn y Gair—ac mai hynny sydd yn

cyfansoddi ei awdurdod ar y meddwl. Nis gall gwirionedd feddu awdurdod ond i'r graddau y byddo yn cael ei gredu, ac nid yw credin-iaeth yn bosibl ond i'r graddau y byddo y meddwl wedi ei argyhoeddi a'i foddloni. Gwirionedd ydyw crefydd, ac fel gwirionedd nid oes ganddi ddim i'w ofni oddiwrth yr ymarferiad cyfreithlawn o reswm. Ar y llaw arall, gofynna Eglwys Rhufain i ni gredu athrawiaethau crefydd, nid oherwydd fod rheswm dyn yn eu cymeradwyo, ond am ei bod hi, fel dysgawdwr anffaeledig, yn eu gorchymyn. Oherwydd hynny sylfaena ei Chatholigrwydd nid ar yr oll o'r dyn, ond ar ran o hono; ac os nad oes ganddi ond rhan o bob dyn, y mae yn amhosibl iddi feddu cyfanrwydd yn y cwbl.

## A ELLIR SYNIAD AM YR EGLWYS GATHOLIG FEL DADBLYGIAD O GREFYDD CRIST?

Fel y mae yn hysbys i bob dyn a ddarllenno y Testament Newydd nid oes dim yn hanes yr Arglwydd Iesu sydd yn rhoddi y sail leiaf i neb dybied ei fod yn bwriadu cymeryd iddo ei hun nac offeiriadaeth ddaearol na brenhiniaeth ddaearol; ond yn hollol i'r gwrthwyneb. Ac eto ceir y ddau yn Eglwys Rhufain, a chymeradwyir un o honynt, o leiaf, os nid y ddau, gan Ddefodwyr Eglwys Loegr. Yng ngeiriau Dr. Fairbairn: "Yr oedd ei Sylfaenydd (sef y Grefydd Gristionogol), yr hwn, yr ydym yn ail-adrodd, na alwodd mo hono ei hun erioed yn offeiriad, yn sefyll mewn gwrthwynebiad hollol i offeiriadaeth ei wlad a'i ddyddiau; a gofala yr ysgrifenwyr hynny, y rhai a briodolant iddo yr enw Archoffeiriad, wrthod unrhyw enw cyffelyb i unrhyw ddosbarth o'i bobl, a gwrthodant gysylltu unrhyw syniad tebyg i unrhyw ran o wasanaeth eu haddoliad. Gellir edrych ar hyn fel nodwedd newydd a gwahaniaethol ei grefydd. Safai ymhlith yr hen grefyddau fel peth rhyfedd a neillduol iawn—crefydd hollol ddi-offeiriaid a di-ddefodau." Ac eto, yn y grefydd Babaidd, nid yn unig y mae offeiriaid, ond y mae offeiriadaeth yn hanfodol iddi. Heb yr offeiriadaeth nis gallai fod, ni fyddai ganddi ddim Gwaredwr presennol yn ei gwasanaeth, dim offeren, dim cyffesgell, a dim maddeuant. O ba le y daeth y syniad am offeir-iadaeth i Gristionogaeth? A ddarfu iddo ddadblygu oddi mewn neu gael ei osod arni oddi allan? Heb fyned i fanylu, gellir dweyd fod i'r syniad am offeiriadaeth ei hanes arbennig ei hun. Gellir cael allan ddyddiad ei ymddangosiad cyntaf yn hanes yr Eglwys, olrhain ei gyn-nydd a'i effeithiau ar sylwedd a threfn yr efengyl o oes i oes. Ni wyddai y Testament Newydd ddim am dano, ac yr oedd mor anadna-byddus yn yr ail ganrif ag ydoedd y ganrif gyntaf. Ond yr oedd y tueddiadau ato yn gryf, ac erbyn y drydedd ganrif yr oedd arwyddion y cyfnewidiad yn dechreu ymddangos, ac erbyn ei chanol yr oedd dwylaw Cyprian wedi gwisgo y gweinidogion newyddion yng ngwisg-oedd yr hen offeiriaid. Yn awr pa gyfrif sydd i'w roi i'r elfen offeir-iadol ymddangos mor sydyn a chynyddu mor gyflym? Yr ateb yw, fod y grefydd yn newydd, ond y natur ddynol yn yr hon yr oedd y grefydd honno i dyfu yn hen, a bod yn haws gan ddynion droi crefydd atynt eu hunain na throi eu hunain at grefydd. Nid dalennau gwynion o bapyr oedd eu meddyliau, ar ba rai y gellid ysgrifennu gwirioneddau y grefydd newydd yn eglur, ond dalennau ac arnynt yn ysgrifenedig

yn flaenorol hen arferion, cofion, a chredoau o'r hen oesoedd; ac nis gallai llinellau y newydd lai nag ymgymysgu yn fynych â'r hen ysgrifen. Yr oedd crefydd heb offeiriad yn beth nad oedd neb yn gwybod am dano; ac yr oedd mor angenrheidiol i addoliad gael urdd sanctaidd ar y ddaear ag oedd y duwiau yn y nef. Y deml oedd canolbwynt y wladwriaeth, ond yr oedd yn ddiwerth heb offeiriadaeth a'i horacl yn fud. Felly y daeth yr hen offeiriadaeth i gael ei himpio drachefn yn olewydden ddioffeiriaid y Testament Newydd.

Yr un modd am y Frenhiniaeth. Ceir fod Crist yn frenin. Er mwyn hyn y'i ganwyd, ac er mwyn hyn y daeth i'r byd. Ond ei dystiolaeth ddifloesgni ydoedd, "Fy mrenhiniaeth i nid yw o'r byd hwn." Gwaharddai unrhyw bennogaeth neu oruchafiaeth i'w ganlynwyr yn eu plith eu hunain. "Chwi oll brodyr ydych." Pa fodd, gan hynny, y daeth y syniad am frenhiniaeth ddaearol i gael lle yn yr eglwysi? a pha beth a feddylir am i eglwys sydd yn honni mai ynddi hi, ac ynddi hi yn unig, y mae "y gwirionedd fel y mae yn yr Iesu," symud nefoedd a daear er mwyn i'r hwn a ystyrir yn Ficer Crist ynddi gael bod yn frenhin daearol ar ddarn bychan o'r byd? Yng ngoleuni hanesyddiaeth y mae hyn eto yn hollol eglur. Fel etifedd yr hen ymherodraeth daeth y frenhiniaeth hefyd i ran Rufain, a chadwodd hi hyd nes yr aeth byddin Itali i mewn i Rufain, ac yr arhosodd y Pab yn ei balas fel carcharor y Vatican.

Fel hyn, cafodd Crefydd Crist, y cnewyllyn o honi—y syniad fel yr oedd ym meddwl yr Iesu—ei droi gan y pethau a'i hamgylchent i ddau gyfeiriad. Yn gyntaf, trwy yr hen Grefyddau, Iddewig a phaganaidd, derbyniodd y syniad am yr offeiriadaeth, gyda'r pethau perthynol iddi; a thrwy hynny daeth yn offeiriadol. Yn ail, oddiwrth yr Ymherodraeth Rufeinig derbyniodd y syniad am frenhiniaeth; ac felly daeth yn gatholig, pabaidd ac anffaeledig. Y cwestiwn yn awr yw, A ellir edrych ar hanes yr Eglwys Gatholig, fel yr hoffa Eglwys Rhufain alw ei hun, yn gyfystyr a hanes Cristionogaeth? Rhaid ateb y cwestiwn hwn yn ddibetrus yn nacäol. Na ellir: y mae yn llawer mwy a llawer llai. Y mae yn llawer mwy: oblegyd trwy lawer o'i syniadau a'i sefydliadau y mae yn parhau ac yn cynrychioli yr hen fyd a'r newydd o ran eu cred a'u haddoliad. Y mae yn llawer llai, oblegyd y mae llawer o waith goreu Cristionogaeth wedi cael ei gyflawni heb ei chynorthwy ac yng ngwyneb ei gwrthwynebiad. Nid oes dim yn llai hanesyddol gywir na'r syniad sydd yn edrych ar Gristionogaeth a Chatholiciaeth fel yr un, neu fod y diweddaf yn greadigaeth Iesu Grist, neu yn unig gyfrwng ei wirionedd. Y mae Catholiciaeth yr Eglwys Gatholig yn fawr, ond y mae Catholigrwydd sydd yn llawer iawn mwy —Catholigrwydd y Grefydd Gristionogol.

## Y DRYCHFEDDWL CYWIR AM GRISTIONOGAETH.

Gwaith mawr yr eglwys, fel colofn a sylfaen y gwirionedd, ydyw dal allan Gristionogaeth ger bron y byd. Yr Eglwys sydd yn cyflawni hyn oreu ydyw yr un fwyaf haeddol i'w galw yn Eglwys Lân Gatholig. Y cwestiwn, gan hyny, ydyw, Pa beth ydyw y drychfeddwl cywir am grefydd ac am Gristionogaeth? Ateb Dr. Fairbairn i'r cwestiwn mawr

ac anhawdd hwn ydyw hyn:—Crefydd, yn sylweddol, ydyw perthynas o gydgordiad bywiol âg ewyllys Duw; neu, yng ngeiriau yr "Hyfforddwr," cydymffurfiad ewyllysgar â holl ewyllys Duw. Y mae y dyn sydd yn sylweddoli yn ei enaid a'i fywyd y berthynas oruchel hon yn ddyn crefyddol, a'r gymdeithas sydd yn sylweddoli y berthynas hon yn gymdeithas grefyddol. A'i deall fel hyn, gellir edrych ar grefydd, ar y naill law, fel trefn neu ffordd Duw o weithio allan ei gymeriad a'i fwriadau tragwyddol trwy ddynion; ac, ar y llaw arall, fel dilyniad ewyllysgar dyn o'r ffordd honno, fel y gallo gyflawni amcanion Duw. Trwy grefydd y mae Duw yn cynyrchu trefn, yn peri cynnydd, ac yn effeithio daioni a dedwyddwch uchaf dynolryw; a'i offeryn, neu ei oruchwyliwr, yn y cwbl ydyw y dyn a'r gymdeithas grefyddol. Ar yr olwg yma y mae pob peth sydd a'i duedd at ddedwyddwch ac iachawdwriaeth dyn o natur grefyddol; tra y dichon unrhyw beth sydd yn ofni cynnydd dyn mewn rhyddid, mewn diwylliant, mewn gwyddoniaeth, ac ymhob peth a olygir wrth gynnydd a gwareiddiad, fod yn eglwysig, ond nid yn grefyddol.

Yn y dyn Crist Iesu y sylweddolwyd yn berffaith, ar ein daear ni, y syniad am grefydd, ac y daeth y drychfeddwl i fyw a bod yn sylweddol ger ein bron. Rhaid i ni, gan hyny, gasglu syniad Crist am grefydd trwy ei fywyd, yr hwn, ar y naill law, oedd yn rhyfeddol o syml, ac, ar y llaw arall, yn fwy rhyfeddol o awgrymiadol. Yn ei ddyddiau Ef yr oedd dau syniad traddodiadol am grefydd, sef eiddo yr offeiriad ac eiddo yr ysgrifennydd. Canolbwynt crefydd yr offeiriad oedd y deml, gyda'i gwasanaeth a'i hoffeiriadaeth. Yn y deml yr oedd Duw i'w gael. Y ffordd i'w bresenoldeb oedd trwy yr offeiriad. Y modd i ennill ei ffafr a'i faddeuant oedd trwy aberthu. Y dyn sanctaidd oedd y dyn a ddeuai yn fynych i'r deml, ac a wnai ddefnydd helaeth o'i hoffeiriaid, ei dodrefn, ei defodau a'i gwasanaeth. Yr oedd fod yr addoliad yn cael ei ddwyn ymlaen gan bersonau awdurdodedig, o fewn lle sanctaidd, ac yn y drefn osodedig yn hanfodol i grefydd; ac yr oedd yr offeiriaid eu hunain yn dystion pa mor llwyr yr oedd y gyfraith seremonïol wedi llyncu i fyny gyfraith foesol Duw. Yr oedd syniad yr ysgrifennydd yn wahanol iawn i hyn, ac eto yn garennydd agos. Gwneid ef i fyny o reolau manwl a thynion, yn cynnwys trefniadau gofalus pa fodd i drefnu holl amgylchiadau cyffredin bywyd. Cadwai ddyddiau, a misoedd, a blynyddoedd, ac yr oedd yn fawr mewn ymprydiau, ac elusenau a gweddïau. Gwelai deilyngdod uchel mewn phylacterau, ac yr oedd yn ddarllennwr manwl ar yr Ysgrythyrau. Yr oedd yn dra ymlyngar wrth y gyfraith anysgrifenedig, yr hon a wneid i fyny yn bennaf o draddodiadau, doethineb y Tadau, a phenderfyniadau y Sanhedrim. Gwybodaeth o'r gyfraith hon oedd Doethineb; a byddai yr hwn oedd yn ddigon dysgedig i ddeongli y gyfraith yn fynych ei hun yn gosod cyfraith trwy ei ddeongliadau. Ac felly ni byddai dyn duwiol o ysgrifennydd byth yn anghofio dydd sanctaidd nac awr sanctaidd, rhoddi elusenau, degymu cymaint oll ag a feddai, gweddïo yn ol llyfr, ac addoli wrth reol. Dynion rhagorol oedd yr ysgrifenyddion—gonest, manwl, ffyddlawn yn y lleiaf, ac heb fod yn anghofus mewn dim ond fod teyrnas Dduw a'i gyfiawnder ef yn anfeidrol eangach na'u mân reolau. Yma y daw carennydd syniadau yr offeiriad

a'r ysgrifennydd i'r golwg. Medrai'r ddau wneud dynion manwl, ond nis gallai'r ddau gyda'u gilydd wneuthur cymaint ag un dyn mawr. Yr oedd ganddynt hwythau eu cewri, merthyron i'r ddeddf a'r allor; ond nis gallent gynyrchu gwŷr llawn o'r Ysbryd Glân, yn llosgi mewn awyddfryd am ddyfodiad teyrnas Dduw. Mwy na hyn, dichon i'r zelotiaid cysegredig hyn amgylchu môr a thir i wnethur un proselyt; ond wrth ei wnethur y maent ar yr un pryd yn ei wneuthur fel hwy eu hunain, mor estronol a mab uffern ei hunan i ysbryd ac ysbrydoliaeth crefydd bur.

I brofi hyn ni raid i ni ond edrych am foment ar berthynas yr Iesu â'r offeiriaid a'r ysgrifenyddion hyn. Yr oedd yntau yn Iddew enwaededig, ac yn teimlo zel dros Dŷ ei Dad. Eto yr oedd ei syniad ef am grefydd mor wahanol i'r eiddynt hwy nes bod yn gwbl annealladwy iddynt. Edrychent arno ac ymddygent tuag ato fel gelyn perffaith. Yng ngolwg yr ysgrifennydd safai y tu allan i olyniaeth a chatholigrwydd y traddodiadau; yng ngolwg yr offeiriad yr oedd yn rhwygwr undeb ac yn ddrylliwr y drefn o addoliad a sefydlasid gan Dduw, a gysegrasid gan gyfraith ac arfer, ac a safasai o oes i oes fel arwydd o'r bywyd cenedlaethol a sefyllfa ddyrchafedig y wladwriaeth. Pan ymwelai â Jerusalem, testyn galar iddo ef oedd tegwch y deml, gwychder y gwisgoedd, a defodau y gwasanaeth. Ac am nas gallai yr ysgrifenyddion a'r Phariseaid ei amgyffred, nid oedd ganddynt ond ei gasau. Yn ei fywyd dyddiol a theuluaidd ni chanfyddent yr arwyddion adnabyddus o grefydd—ymprydiau, elusennau, phylacterau, ffurfiau ac amserau gweddi, glanhâd seremonïol, a chadwraeth fanwl o'r Saboth. I'r gwrthwyneb, cymdeithasai yn siriol â phublicanod a phechaduriaid, llefarai yn garedig wrth y cenhedloedd, goddefai i'w ddisgyblion dynnu'r twys a chyflawnai yntau ei wyrthiau ar y dydd Saboth, a honnai ei hawl i wneuthur y cwbl trwy wadu awdurdod y traddodiadau a haeru ei awdurdod ei hun. I'r dynion crefyddol manwl a defosiynol iawn, yr oedd hyn oll yn beth pruddaidd tu hwnt i eiriau, os nid hyd yn oed yn beth erchyll ac arswydlawn. Barnent ef yn ŵr halogedig, heb unrhyw amcan uwch na diystyru a distrywio y gyfraith a'r proffwydi, a'i farwolaeth, nid yn ffrwyth eu culni a'u hanwireddau hwy, ond fel un "wedi ei faeddu, ei darro gan Dduw, a'i gystuddio."

Ond i'w ddisgyblion, y rhai yr agorasid i ryw raddau eu llygaid, yr oedd y dirgelwch yn cael ei wneud yn amlwg. Iddynt hwy Mab y Duw byw ydoedd, a'i fywyd bob amser yn y cymundeb agosaf â Duw. Nid amharch ar addoliad oedd ei ddifaterwch am y deml; ond am y credai mai "Ysbryd yw Duw, a rhaid i'r rhai a'i haddolant ef ei addoli mewn ysbryd a gwirionedd." Nid annuwiaeth ei feddwl oedd yn ei wneuthur yn ddibris o'r gyfraith, ond am y dysgai ei ddisgyblion, wrth weddïo, i ddywedyd "Ein Tad, yr hwn wyt yn y nefoedd." Nis gallent gyfrif yn ddi-weddi, er ei ddiofalwch am yr amseroedd a'r prydiau, yr hwn oedd yn myned i fyny i'r mynydd "ar hyd nos i weddïo Duw." Ac nis meiddient edrych arno fel un yn diystyru yr aberthau, tra y dywedai wrthynt, "Fy mwyd i yw gwneuthur ewyllys yr hwn am danfonodd a gorffen ei waith Ef;" a'r hwn y daeth y cyfryw lef oddiwrth y mawr-ragorol ogoniant yn dywedyd, "Hwn yw fy anwyl Fab, yn yr Hwn y'm boddlonwyd." Ac fel yr oedd yn sefyll yn y berthynas

*

agosaf â Duw, yn ddrych o'r hyn y mae gwir grefydd yn dwyn dyn iddi, felly hefyd yr oedd yn ei berthynas â dyn yn dangos pa fath un ydyw Duw yn ei ddaioni iddo yntau. Wrth Dduw gallai ddywedyd, "Da gennyf wneuthur dy ewyllys di, O fy Nuw, a'th gyfraith sydd o fewn fy nghalon," Ac wrth ddyn gallai ddywedyd, "Yr hwn a'm gwelodd i a welodd y Tad." Trwyddo ef yr oedd dynion yn dyfod at Dduw; a thrwyddo ef yr oedd Duw yn dyfod at ddynion, yn agor ei fynwes drugarog yn llawn gras a gwirionedd, ac yn datguddio ei ogoniant iddynt. Ac yr oedd yr effeithiau yn annesgrifiadwy. Teimlai ei ganlynwyr, mewn gwirionedd, eu bod yn "dyfod at Dduw." Lle yr oedd cyfraith a defodau yr ysgrifenyddion a'r Phariseaid yn gwahanu dynion, ac, o dan rith crefydd, yn eu gwneuthur yn elynion anghymodlawn, yr oedd crefydd newydd ddihanes yr Arglwydd Iesu yn eu cymodi, yn eu huno, yn peri iddynt gasau pechod ac yn eu llanw ag awyddfryd angerddol am sancteiddrwydd—nid sancteiddrwydd rhagrithiol ac arwynebol yr offeiriad a'r ysgrifennydd, ond sancteiddrwydd gwirioneddol Ysbryd Duw.

Dyma'r wir grefydd. Dyma'r Ffydd Gatholig. Pwy sydd yn cyfateb iddi? Pwy sydd yn cyrchu tuag ati? Ni fynnwn ddweyd nad oes neb. Ac nis gallaf yn onest ddweyd fod pawb; neu o leiaf eu bod yn gwnethur hynny fel y dylent. Feallai y disgwylir i mi ddweyd fod yr Eglwysi Protestanaidd yn ei wneud. Wel, mi a garaswn yn fawr ei ddweyd. Ac yr wyf yn meiddio dweyd fod "pob un sydd yn caru yr Arglwydd Iesu Grist mewn purdeb," pa beth bynnag ydyw ei enw, ymha wlad bynnag y mae yn byw, pa liw bynnag sydd ar ei groen, ac i ba genedl bynnag y mae yn perthyn, "yn aelod o Grist, yn blentyn i Dduw, ac yn etifedd teyrnas nefoedd," deued a ddelo. Y mae sylwedd y gwirionedd ganddo, ac fe ddaw pob gwringell o wir grefydd o bob man ryw ddiwrnod at eu gilydd "fel y byddont un." Ond yng ngwyneb y weddi fawr—eiriolaeth yr Eiriolwr ar y ddaear—yn yr eilfed bennod a'r bymtheg o Ioan, dros y disgyblion, a "thros y rhai a gredant (meddai) ynof fi trwy eu hymadrodd hwynt, fel y byddont un; megys yr wyt ti, y Tad, ynof fi, a minnau ynot ti; fel y byddont hwythau yn un ynom ni: fel y credo y byd mai tydi a'm hanfonaist i. A'r gogoniant a roddaist i mi a roddais iddynt hwy; fel y byddont un megys yr ydym ni yn un: Myfi ynddynt hwy, a thithau ynof fi; fel y byddont un megys yr ydym ni yn un: Myfi ynddynt hwy, a thithau ynof fi; fel y byddont wedi eu perffeithio yn un, ac fel y gwypo y byd mai tydi am hanfonaist i, a charu o honot hwynt megys y ceraist fi." Yng ngwyneb yr hyn oll, meddaf, pa fodd y gallaf ddweyd o gydwybod fod yr holl fân enwadau Protestanaidd—"Cristioniaid yn croes-dynnu"—yn cyfateb i ddeisyfiad y Meistr yn ei weddi fawr? Bydd arnaf gywilydd meddwl am un mor grefyddol a Newman, yn ei drallod am y wir eglwys, yn gofyn ynghanol y tryblith enwadol, "At bwy yr af?" Byddaf yn ateb yn groew ddigon, mae'n wir, y gwnaethai yn annrhaethol well yn chwilio yn rhywle am eglwys y "dau neu dri," na'r man lle'r oedd yn Rhydychen a Littlemore, neu yn danfon am yr hen Dad Dominic, o Aston, gerllaw Stone, i'w dderbyn i Eglwys Rhufain. Wedi'r cwbl, nid yw ond gwir fod arnaf lawer o gywilydd fod gwisg ddiwnïad y Gwaredwr mor

dyllog yn ein mysg, ac y byddai yn ddymunol iawn, rywsut, ei chyfanu. Wel, meddai rhywun, os nad yw yr Eglwysi Protestanaidd yn cyfateb i'r wir ddelw, rhaid i chwi gydnabod fod Eglwys Rhufain, er ei holl ddiffygion, yn gwneud hynny. Rhaid ei bod hi yn cyfateb i'r weddi. Sut felly? A hithau yn dywedyd am reswm dyn, yr hwn a greodd Duw, ac a brynodd Crist, mai ysbryd aflan ydyw? Yr anffyddiaeth fwyaf ofnadwy mewn bod ydyw derbyn afresymoldeb oherwydd ei fod yn cael ei osod arnaf trwy awdurdod noeth oddiallan. Cyn bod yn ffyddlawn i grefydd Crist, rhaid i Eglwys Rhufain wneuthur lle priodol i reswm dyn. Sut felly? A hithau yn codi mur o hen draddodiadau bregus ar ffordd ysbryd yr oes, yr hwn hefyd ydyw Ysbryd Duw, a'c yn ceisio cadw dynion rhag myned o'r Aifft, trwy y môr a'r anialwch, i r Ganaan o ryddid a digonolrwydd y mynnai Duw iddynt eu mwynhau. Sut felly? A hithau wedi meiddio rhoddi at y pethau a osododd Duw yn ei eglwys offeiriadaeth a brenhiniaeth o eiddo dyn, a thynnu oddiwrthynt y symledd a'r frawdoliaeth a sefydlodd yr Iesu ymysg ei ganlynwyr? Na, er ein gofid, mae hi ymhellach o fod yn Gatholic hyd yn oed na'r enwadau.

Y mae yn llawen gennym fod Dr. Fairbairn wedi cael ei arwain i ysgrifennu ar y materion hyn. Y mae ei gyfrol yn llyfr i'r amseroedd. Dylai gael y darllenniad helaethaf. Ac i'r neb a feddianno ei chynnwys nis gall lai na rhoddi y boddlonrwydd mwyaf.

EVAN JONES.

*Caernarfon.*

---

## PLESERAU DARLLEN.

MAE pleserau darllen ymhlith y rhai mwyaf pur a diniwed yn hanes y ddynoliaeth, ac, feallai, o ran eu swm, yn gorbwyso, gydag eithrio crefydd, unrhyw ddosbarth arall o bleserau. Byddai pleidwyr Utilitariaeth yn arfer son llawer am ansawdd a mesuriad a swm y gwahanol bleserau, gyda'r amcan o benderfynu yr hyn a wnai i fyny y dedwyddwch uchaf neu fwyaf. Pe bai yn bosibl mesur a phwyso y pleserau a sylweddolir gan ddynion wrth ddarllen, ni gawsem fod eu hansawdd a'u swm yn mwynhau safle go urddasol yn llechres y pleserau.

Dywedir wrthym, bid sicr, gan y gŵr doeth, fod darllen llawer yn flinder i'r cnawd; a phe buasai Solomon yn byw yn ein plith ni yn awr, a gweled natur llawer o'r lenyddiaeth a ddarllennir gan ieuenctyd y wlad, buasai yn ychwanegu fod darllen llawer yn flinder i'r *ysbryd* yn ogystal ag i'r cnawd.

Mae "blinder i'r cnawd" yn codi, mae yn ddigon eglur, o ddarllen gormod. Dywed hen ddiareb: "Nid da gormod o ddim." Mae hyn yn wir am ddarllen fel am bopeth arall. Y mae pwynt yn bod ymhob

peth yn yr hwn y try y melus yn chwerw, y goleuni yn dywyllwch, a phleser yn flinder. Tu yma i'r pwynt hwnnw, y mae popeth yn dda; tu draw iddo, y mae popeth yn ddrwg. Y mae i ddarllen derfyngylch priodol, o ran swm y darllen ac ansawdd y darllen; ac os llwyddir i gadw o fewn terfynau y cylch hwnnw, y mae darllen yn bleser pur a digymysg.

Y mae pleserau darllen wedi dechreu gyda dechreuad llenyddiaeth. Pan nad oedd llenyddiaeth mewn bod o gwbl, neu os mewn bod, mewn stâd eiddil ac elfennol, yn ol ymhell yn ngwawr-ddydd gwareiddiad, ymbleserai yr hynafiaid mewn ffyrdd ereill. Pleserau y corff oedd eu pleserau hwy yn bennaf, am nad oedd yn eu meddiant y moddion a'r cyfleusderau hynny a dynnant allan ymarferiadau y cof, y deall a'r dychymyg.

Mae ein llinynnau ni wedi disgyn mewn oes a chenhedlaeth yn yr hon y mae darllen yn un o'i phleserau mwyaf swynol a chyffredinol. Perthyn i'r oes yr ydym yn byw ynddi lawer o nodweddion, ac un o'i phrif nodweddion yw ei gallu a'i hymroddiad i ddarllen. Mae etifeddiaeth deg a chyfoethog wedi disgyn i'n rhan ni o'r oesau o'r blaen mewn llenyddiaeth, llyfrau, llyfrgelloedd, a sefydliadau addysg. Trosglwyddwyd i'n dwylaw argraffwasg William Caxton, ynghyd a'r holl welliantau dilynol wnaed arni, o'i amser ef hyd yn awr; trosglwyddwyd hefyd adfywiad addysg yr unfed ganrif ar bymtheg—y *Renaissance*, o dan arweiniad Erasmus, yr hwn symudiad fu yn offerynol i ledaenu meddwl a llenyddiaeth oreu gwlad Groeg drwy Ewrob. Oddiar hynny hyd yn awr y mae llwybr addysg a gwybodaeth wedi bod fel y goleuni, yn llewyrchu fwyfwy hyd ganol dydd. Nid ydys eto wedi cyrraedd y *meridian*. Oddiar pan basiwyd yr *Education Act*, yn y flwyddyn 1870, mae ein gwlad ni wedi neidio a llamu yn ei gyrfa tuag ymlaen, fel erbyn hyn, mae ymron bawb yn medru darllen, ac yn wir y mae bron bawb *yn darllen* hefyd. A welwyd y fath fri ar lyfrau a phapurau erioed? A welwyd erioed y fath ysfa—y fath uchelgais—am ddarllen?

Beth a welir o'n cwmpas? Mae prif gyhoeddwyr y wlad mewn cystadleuaeth enbyd â'u gilydd ynghylch gwerthu y llyfrau goreu yn y ffurf oreu ac am y prisoedd rhataf. Gwneir ymdrechion egnïol ar bob llaw i boblogeiddio, ac i ddwyn i afael pawb, brif weithiau a chlasuron pob oes a chenedl.

'Does gan y darllennydd tlotaf ei amgylchiadau yr un esgusawd dros beidio cael yn ei feddiant ei hun y trysorau llenyddol mwyaf gwerthfawr yn y byd, hen a diweddar, mewn duwinyddiaeth, athroniaeth, barddoniaeth, neu chwedloniaeth. Fel cadarnhad o hyn, ennwn yn unig ddetholiad Sir John Lubbock o'r can' llyfr goreu, y rhai a werthir am brisiau rhad a phoblogaidd.

Eithr nid fy amcan yw ceisio profi fod yr oes hon yn nodweddiadol am ddarllen, nac, ychwaith, pa sut y daeth i fod felly, ond yn unig i nodi allan y pleserau a'r mwyniannau sydd o ddarllen. Priodol yw sylwi wrth fyned heibio fod gwahaniaeth rhwng pleser a phleser mewn darllen, "Y mae rhagor rhwng seren a seren mewn gogoniant." Edrychir ar bleser o unrhyw fath fel profiad yn gynwysedig o nifer i elfennau pendant. Dibynna natur y pleser ar natur yr elfennau a'u cyfansodda. Wrth geisio synio am y profiad hapus a sylweddolir

uwchben pryddest, neu draethawd, neu ffug-chwedl, dylid ystyried gwerth ac ansawdd llenyddol yr hyn a ddarllennir ynghyd a dysg, gallu a diwylliant y darllennydd. Tybier, er engraifft, am fwynhad y diweddar Mr. Gladstone tra yn darllen Homer, neu y diweddar Proff. Jowett, Plato, neu Tennyson, pan ar ei wely angau yn darllen Cymbeline Shakespeare. Yr ydym yn hawdd gredu fod pleser neu fwynhad personol y tri gŵr mawr a enwasom, tra yn efrydu eu meistriaid, o'r fath buraf a mwyaf diwylledig. Tybier eto am lanc ieuanc, bywiog, heb feddu ar ddiwylliant, yn darllen *novel* ddichwaeth, neu un o bapyrau *comic* y dydd; ni a gredwn fod yn ei fynwes yntau hefyd fwynhad mawr, ond nid mwynhad Tennyson uwchben Cymbeline. Amrywia pleserau darllen yn eu natur, fel yr amrywia cynhyrchion llenyddol yn eu gwerth a'u nodwedd, a darllenwyr yn eu diwylliant a'u chwaeth. Arall yw pleser y deall, arall yw pleser y dychymyg, arall yw pleser y synwyrau naturiol. Mŷn rhai bleser trwy ymarfer y deall, ereill y dychymyg, ac ereill y synwyrau naturiol. Chwilia yr athronydd am fwynhad i'r deall, a'r bardd i'r dychymyg, a'r dyn cyffredin a edrych iddo ei hun am fwyd i ddiwallu gofynnion y synwyrau arwynebol ac anifeilaidd.

Ysywaeth, ar gyfer anghenion meddyliol y werin bobl y mae digon o ddarpariaethau yn y lenyddiaeth anianol (*sensational*) a gyhoeddir wrth y tunelli bob wythnos o'r flwyddyn. Nid ydym am ameu nad oes mwynhad diderfyn yn deilliaw i gannoedd o filoedd o'r papyrau a'r cyfnodolion a'r llyfrau sydd o nodwedd arwynebol, ffraeth, di-enaid a di-aros, ond ofnwn ei fod yn fwynhad, yn rhy fynych, o natur isel a darostyngol. Gellir ei wneud yn osodiad pendant, a gwirionedd cadarn yn sail iddo, fel y bydd pobl yn cael eu goleuo a'u diwyllio, a'u dyrchafu yn eu syniadau am fywyd, byddant yn llai boddlawn ar bleserau is-raddol y synwyrau arwynebol, ac ymgeisiant am bleserau purach a mwy caboledig y dychymyg a'r deall. Dylai cyfeiriad efrydiaeth a darllen pob dyn gymeryd y llinell sydd yn rhedeg o'r anianol hyd at yr ysbrydol, o'r cyneddfau naturiol hyd at y cyneddfau moesol a deallol. Gwell darllen rhywbeth, wrth reswm, na pheidio darllen o gwbl. Y mae gobaith i'r neb a ddarllenno, ond ni ddylid ymfoddloni ar y cibau, heb dreio ymestyn at y gwin melus a'r llô pasgedig.

Eto ymhellach, wrth geisio sylwi ar bleserau darllen, dylem gofio fod rhai yn uniongyrchol ac ereill yn anuniongyrchol. Wrth bleserau uniongyrchol y golygwn y cyfryw a ddeilliant oddiwrth ddarllen fel y cyfryw—heb un amcan neu bwrpas gwrthrychol yn y golwg wrth wneud hynny. Yn y wedd hon, goddefydd yw y darllennydd yn hytrach na gweithredydd. Darllenna er mwyn y mwynhad o ddarllen yn unig. Gydag un o *ddramas* Shakespeare yn ei law, neu un o nofelau Scott neu Dickens, neu un o ganeuon Burns neu Shelley, ymgolla mewn math o berlewyg llesmeiriol.

Wrth bleserau anuniongyrchol, ar y llaw arall, y golygwn y cyfryw ag a brofir tra yn darllen ar gyfer arholiad neu dasg, neu er ennill gwybodaeth tuag at gyrraedd amcan penodedig ddigwyddo fod o flaen ein llygaid. Yn y wedd hon, gweithredydd yw y darllennydd yn hytrach na goddefydd. Dug ei ddarllen o dan deyrnged i amcan gwrthrychol. Perthyn gwerth mawr i'r mwynhad hwn yn ddiau, yn gymaint

ag y troir y darllen yn foddion defnyddiol, a mŷn rhai na ddylid darllen o gwbl ond fel y byddo o ddefnyddioldeb ymarferol. Y mae'r elfen o ddefnyddioldeb yn gwneud darllen yn bleser anuniongyrchol, ac yn ei wahaniaethu oddiwrth y pleser hwnnw sydd yn dylifo i galon y darllennydd hamddenol a breuddwydiol, heb ganddo yr un pwrpas yn y golwg ond i ddarllen yn unig er mwyn y mwynhad o ddarllen.

Nid ydym am benderfynu yma pa un sydd fwyaf dewisol, pa un ai y pleser uniongyrchol neu anuniongyrchol. *Every man according to his own humour.*

Braidd na ddywedwn, er hynny, ar dystiolaeth amryw o'r llenorion goreu, mai y pleserau uniongyrchol yw y rhai mwyaf hyfryd—y teimladau dedwydd hynny a brofir gan yr efrydydd aeddfed a'r llenor diwylliedig pan fyddo yn ymddyddan âg ysbrydion mawrion yr oesau drwy eu cynhyrchion athrylithgar, o Homer i lawr hyd at Tennyson.

Wel, pleserau darllen, beth ydynt? I'r darllennydd a'r efrydydd brwdfrydig, mae cael bod yn *nghwmni* llyfrau yn bleser mawr ynddo ei hun. Llyfrau yw ei gyfeillion; y llyfrgell yw ei orsedd. Mae llyfrau yn gyfeillion yn wir, a "gwŷr mawr" natur ydynt fel rheol. Mae Plato yn eu plith, a Seneca a Dante, Pascal, Shakespeare, Milton, Goethe, a Wordsworth. Meibion glewion ydyw y rhai'n, ac yn werth i ni wneud cyfeillion o honynt. Dilëant bob gorffennol, diddymant holl gyfnewidiadau amser. Yn eu cwmni mae y gorffennol a'r presennol yn un. Ewch atynt unrhyw awr, nid ydynt yn cysgu; nid ydynt o'u cof. Y maent bob amser yr un fath. Ni chelant ddim oddiwrthych, eithr dywedant i chwi eu cyfrinach; ni'ch gwawdiant, ac ni chwarddant am ben eich anwybodaeth. Boneddigaidd yw eu cyfeillgarwch, ac ni ddywedant enllib ac nis athrodant chwi.

Dywedai Macaulay fawr, "Pe'm gwneid y brenin mwyaf a fu fyw erioed, a chennyf balasau a gerddi a gwleddoedd; a rhoddid i mi winoedd a cherbydau, a gwisgoedd gwychion, ynghyd a chant o wasanaethddynion, a hynny ar yr amod fy mod yn peidio a darllen llyfrau, buaswn yn ymwrthod a bod yn frenin. Buasai yn well gennyf fod yn ddyn tlawd a digon o lyfrau, na bod yn frenin heb duedd o gwbl at ddarllen."

Mae y neb sydd ganddo nifer o lyfrau da yn feddiannol ar drysorau amhrisiadwy. Pa bryd y daw yr adeg pan fydd yn angenrheidrwydd ar ran bob pen-teulu, wrth ddodrefnu ei dŷ, i ofalu, fel un o'r pethau cyntaf a phwysicaf, am lyfrgell neu nifer o'r llyfrau goreu?

Ond y mae llyfrau o ran eu presenoldeb yn gweini pleser, os bydd defnydd yn cael ei wneud o honynt. Gwyddom am lawer sydd yn hoff o gasglu llyfrau at eu gilydd, heb wneud ond ychydig ddefnydd o honynt—megys llyfrau cywrain a phrinion, ac wedi eu rhwymo mewn modd costus a chelfydd. Gwyddom am ereill yn llawn brwdfrydedd yn crynhoi nifer fawr o lyfrau o bob math yn y byd, yn unig er mwyn arddangosiad. Syniad y rhai olaf hyn yw gwneud dodrefnyn neu *ornament* o'r llyfrgell, a dim awydd na chwaeth ynddynt i fyned i fewn i gynnwys y llyfrau.

Dywedai y ffraeth-bert Thomas Fuller mai gwagedd yw ceisio darbwyllo y byd fod gennym addysg lawer trwy bwrcasu llyfrgell eang.

Sylwai yr hen Biwritan i goegyn anwybodus, yr hwn feddai ar lyfrgell, fyned at ysgolhaig tlawd unwaith gan ei wawdio, "*How are you, teacher, without books?*" Trannoeth aeth yr ysgolhaig at y gŵr a'r llyfrgell, gan ddywedyd, "*How are you, books, without a teacher?*"

Yr ydym yn credu y buasai yn dda gan lawer i fachgen ieuanc, tlawd, ond awyddus am wybodaeth, gael gafael yn y cannoedd a'r miloedd llyfrau sydd yn fwyd i bryfed yn ystafelloedd pobl gyfoethog, ond diddarllen ein gwlad.

Heblaw Macaulay, fel y cyfeiriwyd ato uchod, y mae ereill o fri wedi tystio i'r teimladau hyfryd a phleserus a gynhyrchir gan ddarllen. Ië, hyd yn oed pobl oedd a phob mantais ganddynt i wybod am holl bleserau y byd, eu tystiolaeth yw nad oes yr un hapusrwydd mor bur a hyfryd a darllen y pethau goreu. Dywed Roger Ascham hanesyn toddedig am ei ymweliad diweddaf â'r Arglwyddes Jane Grey. F'ei cafodd hi yn eistedd yn ffenestr yr oriel, ac yn darllen desgrifiad Plato o farwolaeth Socrates. Yr oedd ei thad a'i mam tuallan ar y pryd, yn y Parc yn hela. Ymgollai hi mewn mwynhad anesboniadwy wrth ddarllen, tra y byddai cyfarthiadau yr helgwn, ac adsain y corn, a lleisiau yr helwyr yn cyrraedd ei chlustiau drwy y ffenestr agored.

Datganodd Ascham ei syndod na fuasai hi allan gyda'r helwyr. Atebodd hithau, "Mi wn nad yw eu holl bleser hwy yn y Parc ddim amgenach na chysgod o'r pleser yr ydwyf fi yn ei gael yn Plato."

Byddai'r hen Samuel Johnson yn arfer tosturio yn fawr wrth y neb na allai ddarllen llyfr da ar ddiwrnod gwlawog, oblegyd maint y pleser a gollai. Gallesid ychwanegu tystiolaethau ereill pe bai eisieu, megys eiddo Montaigne, Emerson, Hazlitt, Carlyle, Hamerton, Ruskin, a llu ereill o oreugwyr llen. Mae y neb sydd yn gynnefin a chynhyrchion yr awduron hyn yn gwybod yn bur dda beth yw eu barn am werth a phleser darllen. Nid oes sain anhynod o gwbl yn eu dysgeidiaeth ar hyn. Mae'r brwdfrydedd a'r sel a ddangosant ynglŷn â'r pwysigrwydd o ddarllen ymhlith y pethau mwyaf darllenadwy a swynol yn eu gweithiau, a gosodir allan yn ddigon eglur mai un o bleserau pennaf y meddwl a'r teimlad yw *plungio* i fewn i glasuron anfarwol y byd.

Da fyddai i ni, tra yn canmol ac yn cymeradwyo y pleserau o ddarllen, i benderfynu ar y meusydd goreu lle y maent i'w cael. Telir llawer o sylw y dyddiau hyn, a hynny yn eithaf priodol, i'r pwnc o ddethol y llyfrau goreu a mwyaf dewisol. "Nid oes dibon ar wneuthur llyfrau lawer." O blith y cyfrolau afrifed sydd wedi eu cyhoeddi o bryd i bryd, ac yn parhau i gael eu cyhoeddi, pa rai a ddylent fod wrth law bob amser? Pe bai hir hoedledd Methuselah gennym, nis gallasem ddarllen y filfed ran o'r llyfrau sydd ar gael ac yn dylifo o hyd allan o'r wasg. Hefyd, hyd yn oed pe gallem, annoeth fuasai darllen popeth. Dylid dewis llyfrau fel dewis gwisgoedd neu fwydydd. Cymharai y diweddar Proff. Blackie y dyn a ddarllennai bopeth yn ddiwahaniaeth i gi bychan, ffol, ar y morfa, yn snwffio yma ac yn snwffio draw, ac yn dal dim. Darllen o'r fath yma yw y "blinder i'r cnawd" y cyfeiria y Pregethwr ato. Priodol beth yw dethol nifer o lyfrau dewisol, yn ol yr hamdden a'r cyfleusdra a'r medr i ddarllen. Nid anhawsder bychan yw gwneud dewisiad doeth ar gyfer pob person sydd a thuedd at ddarllen. Ystyriaeth o'r anhaws-

der hwn barodd i Sir John Lubbock dynnu allan lechres o'r can' llyfr goreu, ac nis gellir mesur y daioni y mae cyhoeddiad y cyfrolau hyn wedi ei wneuthur. Y maent wedi dadebru ac ennyn awydd at ddarllen yn meddyliau lliaws o ieuenctyd ein gwlad.

O fewn cwmpas detholiad Lubbock ni gawn hufen llenyddiaeth yr oesau, yn athroniaeth, yn dduwinyddiaeth, yn ddrama, yn farddoniaeth, yn ffugchwedlaeth, ac yn feirniadaeth. Ceir yn eu plith brif weithiau y prif feistri—cynhyrchion pen a chalon yr anfarwolion. Ffurfia y can' llyfr yma lyfrgell ynddynt eu hunain, ac i'r neb fedr fforddio'r amser i fyned i fewn iddynt, y maent yn faes rhagorol a chyfoethog. Ond dichon fod y detholiad hwn yn rhy ëang i'r darllennydd cyffredin—ac o bosibl yn rhy chwaethus; ond y mae y dewisiad, er hynny, yn *guide* arddercbog.

Rhaid i ni wrth arweinydd i'n tywys i borfeydd gwelltog meusydd llenyddiaeth. O ffynhonnau y mynyddoedd uchel y tynnir y dyfroedd goreu; felly, o ddarllen y meistri goreu y mae i ni gael y pleserau goreu Gwell yw un llyfr da na llawer o lyfrau diwerth. Mae y Bibl a Shakespeare yn fwy o werth yn ngolwg Henry Irving na holl lyfrau ereill y byd gyda'u gilydd. Ymddengys fel pla yn hanes rhai pobl i fyned ar ol y newydd yn barhaus. Nid anhebyg ydynt i'r Atheniaid hynny gynt, y rhai "nid oeddynt yn cymeryd hamdden i ddim arall, ond i ddywedyd neu i glywed rhyw newydd." Rhodder eu lle i lyfrau newyddion, er mwyn pob rheswm, eithr gofaler na byddo i'r hen lyfrau, y rhai sydd wedi dal pwys a gwres y dydd, i gael eu gwthio allan o'u lle. Edrychwn ar lyfrau fel ar win, goreu i gyd po hynaf y bo'nt. Yr ydym yn meddwl mai Emerson sydd yn dweyd na ddylid prynu llyfr nes ei fod yn ddwy neu dair blwydd oed.

Rhai anghyffredin yw llyfrau i farw, os na fydd ynddynt deilyngdod i fyw. Mae Rhagluniaeth a'i gwyntyll yn ei llaw, mewn perthynas i lyfrau yn arbennig, yn gwahanu yr üs oddiwrth y gwenith, fel nas gall yr un llyfr fwynhau hir oes, os na fydd ynddo rywbeth gwerth i fyw. Dywed John Ruskin yn *Sesame and Lilies* nas gall dim ond y pur a'r dyrchafol fyw mewn llyfrau; fod pa beth bynnag sydd yn groes i hynny yn marw o hono ei hun.

O ganlyniad, y mae darllen hen lyfrau, neu hen awduron yn beth diogel iawn, ac yn gyfoethog o bleser a mwynhad. O, ïe, yr hen awduron i ni, taw beth! Yr oriau filoedd a dreuliasom yn eu cwmni, pa beth a gymerwn o gyfoeth, o urddas. o foethusrwydd y byd, yn gyfnewid am danynt! Wrth edrych yn ol ar hyd ein gyrfa, ymddengys yr adegau hynny fel ysmotiau disglaer ar draws y llwybr. Ystorfa yw llenyddiaeth yn cynnwys danteithion diderfyn i bob math o ddynion, a gall pob un ddewis a chyfranogi yn ol ei archwaeth ei hun. Nodwedd rhai yw y deall; ereill, dyfais; ereill, crebwyll; ereill, dychymyg—pob un yn ol ei ddawn ei hun. Ar gyfer y doniau amrywiol yma, y mae darpariaethau gan lenyddiaeth mewn helaethrwydd difesur.

Y neb sydd gryf o ddeall, neu feddwl, aed i gymdeithas Plato, Aristotle, Kant a Spencer; y neb sydd gryf o grebwyll a dychymyg, aed yn ddioed at Milton, Shelley, Burns a Tennyson. Os myn neb *wit* ac arabedd, brysied at Cervantes, Voltaire a Swift; os ewyllysia neb gael agoriad llygad i blygiadau, a throion, agweddion a chymhellion

cymeriad y natur ddynol, eadwed gwmni Shakespeare, Goethe a Scott.

Y cewri hyn yw y *caterers* i dorri a rhannu ar gyfer anghenion dyn yn ei wedd feddyliol a moesol; ac fel y mae yn fwynhad i gael ein diwallu o ran anghenion y corff—felly hefyd y mae yn fwynhad, ond o natur uwch, i gael ein diwallu o ran anghenion y meddwl a'r galon.

Wrth derfynu, anogwn yn ostyngedig ar i bobl ieuainc i ddeisyf am y doniau goreu, ac i ymddyrchafu o ran eu chwaeth, gan gofio yn wastadol fod y ffynhonnau puraf a grisialaf yn ffrydio o gopäau y bryniau anfarwol,—o eneuau meibion athrylith—a'r neb a yfo o honynt yn helaeth a gaiff ddeall i'w ben a mwyniant i'w galon.

JAMES EVANS.

*Pontardulais.*

## LLYFR HYMNAU NEWYDD Y METHODISTIAID.

DIAU ddarllen o bawb sy'n darllen y TRAETHODYDD erthygl ddoniol fy nghyfaill Dyfed yn rhifyn Gorffennaf. Y mae arnaf awydd gwneud ychydig sylwadau arni. Os bydd y rheiny gan mwyaf ar bethau nad yw'r Bardd a minnau'n cwbl gytuno arnynt, na synned neb; canys am y pynciau y cytunwn ni'n dau arnynt, y mae efe wedi eu traethu'n well lawer nag y gallaf fi obeithio'u dweud. Ac yr ydym yn cytuno ar bob peth sylfaenol, ac ar y rhan fwyaf o bethau yn yr oruwchadeiladaeth. Er siampl, ateb Dyfed i'r cwestiwn, paham y mae emynnau'n brinnach nag y buont, yw'r peth goreu a welais i ar y pwnc. Nid oes dim cnwd o emynnau newyddion ar hyn o bryd, am nad yw hi'n adeg o ddiwygiad ar grefydd. Gwir i ŵr, yr haeddai ei farn ei pharchu, ddywedyd yn y *Genedl*, dro yn ol, fod gan bob oes ei hemynnau fel y mae gan bob oes ei hagweddau neillduol ar wirionedd. Ni fynnem wadu nad oes gan bob oes ei hagweddau'i hunan ar wirionedd; ond fel rheol hi all draethu'r rhai hyn mewn iaith blaen ym mhell cyn eu bod yn ddigon addfed i'w canu mewn emyn. Yr addfedrwydd hwnnw a wna wirionedd yn fyw, a'r tân a'i gwna ef yn heintus, ydyw'r hyn a feddylir, mewn rhan beth bynnag, wrth ddiwygiad crefyddol.

Da gennyf gael, hefyd, fod Dyfed a minnau yr un farn i gryn raddau am y pethau y gelwais sylw atynt yn y Llyfr Hymnau newydd. Gwelaf erbyn hyn fy mod yn nês fyth i fod yr un farn a bardd arall, nad oeddwn wedi darllen ei ysgrifau rhagorol yn y *Llusern* pan ysgrifennais. Anthropos ydyw hwnnw. Ac ymddengys fod Mr. Daniel Davies wedi gwneud sylw ar un pwnc tua'r un adeg ag yr ysgrifennais innau, sy'n fy nghadarnhau yn fy marn ar y rhan honno o'r maes. Cysur mawr i greadur lled anfarddonol ydyw ei gael ei hun, heb yn wybod iddo, yn cerdded bron yr un llwybr a llenor a hanesydd

fel Mr. Davies, neu a beirdd fel Anthropos a Dyfed. Yn wir diogelach i mi farnu'n wahanol ar rai pynciau i'r diweddaf a enwyd, pe dim ond er mwyn cadw fy nhipyn anibyniaeth.

Goreu po gyntaf gennyf ddarfod âg un gwrthdystiad personol, a dim ond un. Dywed fy nghyfaill, yn NHRAETHODYDD Gorffennaf, fod fy sylwadau i, yn NHRAETHODYDD Mawrth, ar un o awduron yr hymnau, yn arogli o ragfarn bersonol. Mr. Levi ydyw'r awdwr hwnnw. Yn awr fe ŵyr pawb o'm cydnabod nad oes dim rhagfarn bersonol ynof at Mr. Levi. Ni fu dim erioed. I mi y mae Mr. Levi wedi ei ganoni gan odfa a gofir o hyd yn y Bala a'r amgylchoedd, fel un o odfaon mawr Sasiwn 1875 Yr oedd defod gan flaenoriaid y Bala, yn y blynyddoedd hynny, ofyn i bregethwr a ystyrient yn un neillduol iawn, bregethu deirgwaith mewn Saboth, yn lle dwy. Dyma'r bri mwyaf y tybiwn i'n blentyn fod modd i bregethwr ei gyrraedd; oblegyd nid pob pregethwr Sasiwn a fyddai yn ei gael. Fe ddarfu'r drefn honno, fel llawer peth da arall; byddai hyd yn oed Joseph Thomas, am flynyddoedd yn niwedd ei oes, yn pregethu ddwywaith fel dyn arall; ond tra y parhaodd y cyfnod hwnnw, bu Mr. Levi'n un o'r pregethwyr y rhoddid yr anrhydedd o bregethu deirgwaith iddynt. Nid oedd yn debyg y buasai ynnof ragfarn bersonol at ŵr fel efe.

Heblaw hynny, mi ddywedais fy marn am Mr. Levi fel emynnwr, yn NHRAETHODYDD Mawrth, yn rhy blaen, mi obeithiaf, i neb feddwl o ddifrif fod ynnof ragfarn bersonol. Dywedais fod rhai o emynnau Mr. Levi na fydd yr un casgliad o emynnau yn gyflawn hebddynt. Ond hwyrach mai rhwng difrif a chware yr oedd Dyfed yn taflu'r cyhuddiad hwn, ac na ddylaswn innau yn hyn o sylw ddim gwneud mater mor bwysig o honno. Ni wnaethwn i ddim chwaith, oni bai fod arnaf eisieu esgus i ddweud peth pellach. Pan ddaw'r adeg i ysgrifennu hanes y llyfr diweddaf yma o'r pellter, credaf y bydd i'r hanesydd llenyddol roi ar gôf a chadw air Mr. Levi ei hun, mai efe oedd yr unig un o Bwyllgor yr hen lyfr oedd ar Bwyllgor y newydd hefyd, ac ychwanegu o bosibl ryw sylw felly :—"Pe buasai chwaneg o'r hen Gyfeisteddfod yn fyw i weithredu'r tro yma, diau y buasai'r llyfr dan sylw yn llawer gwell."

Am y llyfr ei hun, y mae pob dadl rhwng Dyfed a minnau, pob un o bwys beth bynnag, yn troi o gylch y newid a fu ar emynnau ar gyfer y casgliad hwn.

Dywed fy nghyfaill fy mod yn codi gormod o helynt uwchben peth bychan iawn, peth nad oes ond ychydig o hono yn y llyfr. Fy mhrofiad i ydyw ei fod yn llawer iawn o beth, a bod llawer iawn o hono. Yr wyf yn dyfod o hyd i gyfnewidiadau newyddion bron bob wythnos, weithiau trwy sylwi fy hun, ond llawn cyn amled wrth i ereill alw fy sylw atynt; ac fel rheol am y cyfnewidiadau yr ydym yn ddyledus i'r casgliad hwn am danynt, yr emynnau goreu yn y llyfr, a'r llinellau goreu mewn emyn, sydd wedi ei chael hi waethaf Ond mewn difrif arwydd o wendid yn yr ymresymiad yw bychanu'r gŵyn. Tebyg ydyw i'r hysbysiad hwnnw am win, heb ond ail i ddim alcohol ynddo, gwin mor anhebyg i win fel y ceisid temtio dirwestwyr i'w brynnu. Ac o ran hynny fe gydnebydd Dyfed yn rhwydd ei fod yntau yn erbyn newid ar y cyfan, ond fy mod i wedi mynd yn eithafol. Os ydwyf,

nid oes dim tebycach o'm gyrru'n waeth fyth na darllen y llyfr yma.

Dywedir fod newid weithiau'n gymwynas, "Iachau'r cloff o'i enedigaeth." Mi wadwn innau'r cloffni mewn llawer amgylchiad; ac mewn aml i un arall mi wadwn yr iachad, oblegyd ychydig o fynd sydd arnynt wedi'r oruchwyliaeth. Y rhan ddoniolaf, a'r rhan gryaf hefyd, o'r prawf ar y pen yma, yw yr esiamplau a roddir gan yr adolygydd o hen gyfnewidiadau, sydd ar arfer cyn bod yr un o'r llyfrau sydd gan yr enwadau yn awr. Yn awr mi addefaf fod y rheiny'n beth gwell na'r rhai a wnaed yn y ddwy oes ddiweddaf. Ond profi fy mbwnc i y mae hynny; oblegyd os oedd eisieu newid o gwbl, ychydig o eisieu newid oedd; ac y mae'r ychydig oedd eisieu wedi wneud cyn ein geni ni, a gwell peidio newid bellach. Ond ni chaniatawn i ar un cyfrif fod yr oll a ddyfynnir gan Ddyfed yn welliantau. Y mae rhai o honynt felly'n ddiau, megys un o'r ddau gyfnewidiad, os nad y ddau, ym "Marchog, Iesu yn llwyddiannus," a "'Rwy'n penderfynu mynd. . ." yn lle "Ac 'rwy'n resolfo mynd. . ." Eithr ni phrofai'r ystyriaeth fod rhai cyfnewidiadau er gwell i'w cael ddim byd croes i'm golygiad innau.

Ni ddywedais fod pob cyfnewid yn gyfnewidiad er gwaeth. Nodais rai oedd i'm barn i yn welliannau. Fy nadl oedd, eu bod yn ychydig iawn; a pho fwyaf ystyrio dyn arnynt, hwy ant yn llai lai o hyd. Peth ydyw newid emyn y dylid bod yn gynnil o hono. Dylai pob cyfeisteddfod, yn y mater hwn, ei osod ei hun dan reolau tynion,—naill ai bod pob cyfnewidiad a dderbynnir i basio yn unllais, neu ynte fod pob cyfnewidiad i basio trwy fwyafrif mewn tri eisteddiad dyweder. Dylai fod trwydded gaeth ar arf mor beryglus. Ac yn sicr ni ddylid newid heb roi serennig, a nodiad ar waelod y ddalen i ddweud beth oedd y gwreiddiol. Ni fyddai hyn ond gonestrwydd noeth; ac heb hyn y mae'r llyfr yn gwbl ddiwerth fel awdurdod lenyddol ar drysorau yr iaith. Pe gwneid rheol fel y ddiweddaf yna, hi gadwai'r cyfeisteddfod o fewn terfynau. Fe ballai gofod i newid ond rhyw nifer bur gymhedrol. Nid yw fod rhai cyfnewidiadau'n dda ddim o angenrheidrwydd yn rheswm dros lïosogi cyfnewidiadau; ac nid yw fod rhai yn hen ddim yn rheswm dros wneud rhai newyddion.

Ond am amryw o esiamplau Mr. Rees y mae peth arall i'w ddweud. Y mae'r cyfnewidiad ym mhell o fod yn gymwynas, gan nad yw'r emyn yn werth y drafferth o'i wella, a bwrw mai ei wella a wnaed wrth ei newid. Nodaf un yn unig, er fod amryw ereill yn ei ysgrif.

"O deffro, tro fy enaid trist,
Gwel 'ffernol griw oddeutu'th Grist
Am ladd dy Brynwr pur.
A 'mofyn gang o dystion gau,
I Pilat i'w gondemnio'n glau,
O f' enaid, cofia'i gur."

Ai nid un o rigymau Williams ydyw hwn, rhigwm yn fwy nag emyn? Ac wrth roi "llu" yn lle "criw," a "thorf" yn lle "gang," yr ydys yn difetha'r gân fel rhigwm neu garol, heb lwyddo i wneud emyn o honi. O'm rhan i ni roiswn mo'r pennill mewn llyfr hymnau cynulleidfaol o gwbl, er däed fuasai gennyf ei gael mewn llyfr o garolau, fel esiampl o ryw ddull o ganu a fu gynt yn dra chymeradwy yn ein gwlad. Yr wyf yn

diolch i Ddyfed am ei godi o dir angof. Y mae ugeiniau o benillion tebyg y byddai'n dda'u cadw, a dethol rhai o'u mysg ar gyfer llyfrau plant. Eithr os cedwir hwy o gwbl, cadwer hwy ar bob cyfrif yn eu diwyg wreiddiol, a chlec y gynghanedd heb ei drysu; ac fel y dywedai un brawd craff wrthyf am y pennill yna, wrth son am y gang a'r criw, "Yr oedd *gang* yn ddi-fai enw arnyn' nhw." Heblaw hynny y mae'r newid hyd yn oed yma wedi gwyrdroi ystyr y pennill, boed wych boed wael, ac wedi ei yspeilio o hynny o ergyd oedd ynddo. Pair uffernol lu i ni feddwl am gythreuliaid, tra mai byddin yr Archoffeiriad y mynnai Williams i ni feddwl am dani, "Uffernol griw." Hefyd, nid "torf o dystion gau" oedd yno, ond "gang," pe bai fater am hynny. Prin yr oedd yno ddigon i wneud torf, er y dywedir fod yno lawer. Y mae ymresymiad Dyfed, bid siwr, yn troi ar ddau beth, fod y cyfnewidiad yn ddiwygiad, a bod yr emyn yn werth ei ddiwygio. Y pwnc yw hwn, a ydyw pob un y gellir addef iddo gael ei wella, yn werth ei wella?

Y mae eto drydydd dosbarth ymysg yr esiamplau a ddyfynna fy nghyfaill,—heblaw'r rhai yr addefir ddarfod eu diwygio, a'r rhai yr amheuir a oeddynt yn werth y drafferth o'u diwygio,—a dyna ydyw hwnnw, rhai na addefwn i ddim eu bod wedi eu diwygio. Rhaid i mi gael diolch eto yn y fan yma i Mr. Rees am roi gwybod i mi beth oedd y gwreiddiol mewn un llinell, oedd bob amser yn dramgwyddus dros ben i mi yn ei ffurf gyffredin. Hi fu'n ddigon o reswm gennyf am flynyddau dros beidio rhoi'r emyn i'w ganu byth pan fyddai penderfynu'r pwnc ar fy llaw i. Y mae'r emyn

"Mi feddyliais cawn fy Arglwydd,"

yn un rhagorol ond un byrdwn,

"Daeth Moriah
'Nawr yn ysgol gref i'r nef."

Da gennyf am unwaith fod wedi tynnu bardd yn fy mhen, er perycled ydyw hynny, er mwyn cael gwybod mai

"Daeth Moriah
'Nawr yn ysgol sownd i'r nef"

ydyw'r gwreiddiol. Ar ol darllen yr erthygl ni fyddaf byth yn canu'r llinellau heb feddwl am enw Dyfed, a gwynfydu na buasai rhywun wedi rhoi'r gwreiddiol i mewn yn ol, neu rywbeth yn lle'r gorffeniad gwaradwyddus sydd ymhob llyfr erbyn hyn. Beth sydd gasach i'w ddweyd a'i ganu nag "ysgol gref i'r nef;" ac eto dyma linell a ddyfynnir i ddangos gymaint gwell ydyw emynnau trwsiedig. Nid oedd dim bai ar "ysgol sownd," ond fod "sownd" yn air wedi dyfod o'r Saesneg; ac, yn ol ystyr y Deheudir i'r gair, yr oedd y llinell yn un gref, "Ysgol yn cyrraedd yn deg i'r nefoedd, yn myn'd yno bob cam."

Gadewch i ni bellach droi oddiwrth hen gyfnewidiadau at y rhai y mae y Pwyllgor yma'n gyfrifol am danynt. Ychydig o honynt y mae Dyfed ei hun yn eu hamddiffyn. Ond, a'u cymeryd hwy at eu gilydd, oedd eisieu newid yr ugeinfed ran o'r nifer a newidiwyd? oedd y

newid a wnawd yn welliant o gwbl? ac ai ni chollwyd mwy nag a enillwyd wrth newid?

Mi gredaf y cytunid ar bob llaw mai mantais yw peidio newid lle na bo dim byd amlwg yn galw am hynny, yn un peth rhag aflonyddu ar gynefindra'r cynulleidfaoedd a'r emynnau. Rhyw ddeufis sydd er pan glywais ganu

"Henffych i enw Iesu gwiw;"

ac er fod y llyfr newydd mewn arferiad er ys dwy flynedd, ac yn llaw pawb, yr oedd ugeiniau'n canu yn yr hen ddull,—

"Syrthied e'i flaen angylion Duw."

"Plygwch yn isel wrth ei draed,"

yn lle'r llinellau diyni,—

"O'i flaen ymgrymed engyl Duw,"

ac

"Yn isel plygwch wrth ei draed."

Nid mater o gofio'n unig ydyw hwn, ond mater o hwylusdod i ganu. Os byddwch chwi wedi cynefino a rhyw fel, y mae'n dra anhawdd dyfod o'r fel honno; heblaw fod y don Lledrod yn yr amgylchiad yma yn acennu'n well lawer wrth ganu'r llinellau yna fel yr oeddynt yn yr hen lyfr. Y mae'r don yr un fath yn y llyfr presennol; a gobeithio na newidir mo honi chwaith; ond i ba beth y gwnaed hi'n anaws ei chanu, trwy roi geiriau gwan, "o'i" ac "yn," ar gyfer y ddau guriad, yn lle'r silliau cryfion sydd yn "syrthied" a "phlygwch"? Dyna ynte engraifft o gyfnewidiad bychan gwaeth na bod heb ei eisieu, gan ei fod yn creu anhawster i bawb cynefin â'r hen ddull. Cwynid yn erbyn hyn pan wnawd y llyfr o'r blaen, dyrysu pethau oedd yn hen gynefin. Ond er mwyn myn'd yn ol at y gwreiddiol y gwnaethai'r hen Bwyllgor hyn, tra yr ydys wedi ei wneud yn awr oddiar awydd newid er mwyn newid, am a wn i. Y ffordd fwyaf dirwystr, yn y pen draw, at gael pawb o bob enwad i ganu'r un fath, fyddai i bawb fyn'd yn ol, oddigerth mewn rhyw ychydig iawn o amgylchiadau, at ffurf gynta'r emyn.

Os dywedir mai ychydig sydd o'r man newidiadau di-alw-am-danynt a grybwyllwyd, agorer y llyfr yma ac acw ar antur, ac nid anawdd fydd cynnull degau o honynt rhag blaen, tri neu bedwar weithiau mewn un emyn. Y maent yn neillduol o doreithiog, fel y gallesid disgwyl, yng nghymdogaeth y mesur salm.

Yn yr engreifftiau a ganlyn mi gyfyngaf fy hun i'r ddau lyfr yr ydym yn eu cyferbynnu, a gadael heibio'r cyfnewidiadau a wnelsid cyn y tro yma; oblegyd am y rhai a wnaethant hwy eu hunain yn unig y mae Pwyllgor y llyfr newydd yn gyfrifol.

| YR HEN LYFR. | Y LLYFR NEWYDD. |
| --- | --- |
| "Mae heibio'n myn'd bleserau penna'r byd." | "Myn'd heibio mae pleserau penna'r byd." |
| "Hwnnw ei hun y gwerthfawrocaf yw." | "Y gwerthfawrocaf oll o honynt yw." |

| | |
|---|---|
| "Hwnnw a gafodd ef ar Galfari." | "Yr un a gafodd ef ar Galfari." (66) |
| "Yna yr af at allor Duw" | "Ac yna'r af at allor Duw." (451) |
| "O Arglwydd ein Ior ni a'n nerth." | "O Arglwydd Dduw, ein Ior a'n nerth." (15) [18 |
| "Gobaith a nerth in yw Duw hael." | "Ein nerth a'n noddfa yw Duw hael." |
| "Daear a mynydd ant i'r môr." | "Ped ai'r mynyddoedd oll i'r môr." |
| "Yn help wrth raid o'r nefoedd." | "Gyr help wrth raid o'r nefoedd." (18) |
| "Er hynny pwy a ddringa'n hy?" | "Pwy yw yr hwn a ddringa'n hy'?" |
| "A bydd cyfiawnder i'r cyfryw." | "Ac iddo bydd cyfiawnder byw." |
| "Brenin o fri gogonol." | "O fawr fri gogoneddol." (448) |
| "Fy Arglwydd, gwna'n bur lân fyfi." | "Fy Ior, yn hollol lân gwna fi." |
| "Byddaf fi o'm golchi fel hyn." | "A byddaf trwy y golchi hyn." (566) |
| "A chynnal a'th ysbrydol ddawn fi i fyw'n uniawn hefyd." | "A chynnal fi a'th nefol ddawn i fyw yn uniawn hefyd." (567) |
| "Duw agor y min mau." | "Duw, agor di'r min mau." (567) |
| "Er fod fy muchedd yn ddi-rol." | "Er i mi wrthryfela'n ffol." |
| "Felly y deuaf at dy borth." | "Mi ddeuaf felly at dy borth." (543) |
| "Cymaint i'r rhai a'i hofnant ef." | "Run faint i'r rhai a'i hofnant ef." (535) [535 |
| "Felly cawn serch ein Tad o'r nef." | "Cawn ninnau serch ein Tad o'r nef" |
| "O bryd i bryd felly yr aeth." | "O bryd i bryd fel hyn yr aeth." [802 |
| "Duw o dragwyddol wyt cyn neb." | "Y Duw tragwyddol wyt cyn neb." |

Dyna fi wedi taro llaw heb drefn na chynllun ar ychydig esiamplau, lle nad oedd, yn fy marn i, eisieu newid. Ni ddywedaf fod pob un o'r rhain yn waeth o'u nhewid, er fod y rhan fwyaf o honynt felly, yn ddiau. Ond y mae'r newidiadau bychain i gyd yn ddiangenrhaid, ac nid oes dim un o honynt y gallaf fi ei ystyried yn welliant. Ces hyd i un gwelliant teg yn ymyl un o honynt nad oeddwn wedi craffu arno o'r blaen, fel y mae gobaith, ond i Ddyfed ysgrifennu, ac i mi ddal i ddarllen, y dof finnau i weled rhagoroldeb y newidiadau sydd yn y llyfr. Yr un hwnnw ydyw: "Na chymer byth dy Ysbryd Glân" yn lle "Ac na chymer dy Ysbryd Glân" yn yr emyn 567. Eto, ar y cyfan, fe'm gyrrir i'r fan lle'r oeddwn ddechreu'r flwyddyn. Fy argyhoeddiad i ar ol pob darllen hyd yma yw fod un o bob ugain yn ddigon o gyfrif i'w roi ar y troion y mae'r newid yn welliant; ac os nad oes welliant amlwg, gwell gadael pethau fel y maent, er mwyn tegwch llenyddol, ac er mwyn arbed aflonyddu ar gynefindra pobl a'r emyn yn ei hen ffurf.

Addefaf fod hwn yn fater o glust, ac na farn pob clust ddim yr un fath ar brydferthwch cymharol dwy linell; eithr rheitiaf yn y byd bod yn gynnil o newid lle y mae clust un bardd gwerth rhoi ei waith yn y llyfr wedi barnu mai fel y mae'r llinell y dylai hi fod. Y mae aml i un o'r cyfnewidiadau uchod yn rhai mor syml fel y mae'n anhawdd peidio meddwl iddynt eu cynnyg eu hunain i'r bardd a ganodd y pennill. Nid fy sylw i yw hwn yna. Bu cyfaill i mi'n ymddiddan a bardd y rhowd emyn o'i waith yn Llyfr Hymnau'r enwad y perthyn efe iddo. Pan ddaeth y llyfr allan, gwelodd yr awdwr ddarfod i'r casglwyr newid gair yn ei emyn ef. Tystiai fod y gair a roisent hwy wedi ei gynnyg ei hun iddo yntau, ac iddo ei wrthod o fwriad. Cyfnewidiad bychan yn emyn Williams ydyw—"Yn gostegu pob rhyw derfysg," yn lle "Yn gwastatu pob rhyw derfysg;" mor fychan fel mai digon posibl yw fod yr hen fardd ei hun wedi meddwl am dano, er mor rugl y byddai'n canu. Dichon iddo feddwl am "ostegu" a dewis "gwastatu." Ni fynnwn ddweyd fod y naill na gwell na gwaeth na

ydyw y llall. Y mae "Gostegu" yn fwy persain gair; ond "Gwastatu" sy' gywiraf fel mater o feddwl. Gostegu twrf yr ydys, ond gwastatu terfysg. Y mae eisieu galw sylw at fanion fel hyn, nid er mwyn bod yn goegfeirniadol,—yr wyf wedi pasio dwsin o bethau tebyg wrth baratoi'r tipyn ysgrif yma, heb yngan gair am danynt,—ond er mwyn dangos nad oedd emynwyr Cymru ddim yn rhy ddwl i weled pethau a gynygiant eu hunain ar unwaith i rai sydd a'u bryd ar drwsio. Ar air, y mae ymroi i newid llawer o hen hymnau, a gydnabyddir yn rhai da, yn awgrymu, naill ai fod ar y Pwyllgor well beirdd na'r emynwyr gwreiddiol, neu ynte fod y Pwyllgor gyda'u gilydd yn graffach na'r hen feirdd. Ond atolwg a ydyw dawn i brydyddu'n beth y gellir ei rannu rhwng amryw, a'i atgrynhoi trwy lais y mwyafrif? A ydyw ysbrydoliaeth yn beth mor hawdd ei ddal a hynny? Ni fydd fawr o raen ar gynyrchion digrif cwmpeini llawen, pawb a'i linell, neu bawb a'i bennill. Ac heb son am gynyrchion barddonol, cymerwch beth sychach lawer, cyn syched a chynnyg penderfyniad. Ni fu fawr ddaioni o drwsio gormod ar hwnnw. Pa sawl gwaith y gwelwyd amryw mewn cyfeisteddfod wedi rhoi darn at y cynnyg gwreiddiol, nes bod ei gystrawen yn anobeithiol, heb ei ailwneud o'i gwr? Ai tebyg yw, ynte, y cedwir y naws hwnnw sydd yn enaid emyn, pan elo chwech neu saith o feirniaid i brofi eu bwyill arno?

Er mwyn gweled y perygl, gwell i ni wrth reswm gymeryd rhai o'r esiamplau gwaethaf, ond cofio fod yr un peth yn wir i gryn fesur am esiamplau llai tramgwyddus.

"I fyny at fy Nuw
Fy enaid cod dy lef,
Heibio i'r euraidd lu,
I eithaf nef y nef."

Pwy heb ddwy-droedfedd yn ei law a wybuasai fod dim o'i le ar y pedair llinell godidog yna? Gwir fod "heibio" yn gam acen; ond y mae'n canu o'r goreu, a phrin y dargenfydd clust ef wrth ei ddarllen. Dyma a gawn ni, pa fodd bynnag, yn y Llyfr Newydd,—

"I fyny at fy Nuw
Fy enaid cod dy lef,
Uwchlaw yr euraidd lu,
I eithaf nef y nef."

Tybed mewn difrif i neb feddwl mai trwy weiddi'n uwch na llu'r gogoniant y mae'r eiddil gwan i beri clywed ei lef? ac eto dyna'r dehongliad mwyaf naturiol ar y geiriau.

Y gwir yw, nid oes dim posibl chwynnu yr holl gam-acenion o Lyfr Hymnau, ac er cymaint eu sel y mae'r Cyfeisteddfod hwn wedi methu; ac nid yw llwyddo i wastatu'r acen ambell dro ddim ond galw sylw at y lleoedd na allwyd gwneud hynny. Pan ewch chwi i ddechreu newid y mae'n anhawdd iawn newid digon. Dyna'r emyn a grybwyllwyd gyneu,

"Henffych i enw Iesu gwiw."

Y mae'r gorfan wallus yn aros yn y llinell gyntaf, ac yn rhoi rhyw ddawns hyfryd yng ngherddediad y gân, tra yr ydys wedi cloffi'r pennill,

trwy roi pob cam yr un hyd yn yr ail linell, fel nad yw hi mwyach yn cydwedlu o gwbl a'i chymhares. Yn yr emyn

"Mi af ymlaen yn nerth y Nef,"

dim ond un pennill i gyd. Yr ydys wedi newid

"Minnau wrandawa'r hyfryd swn,"
"Gwrandawaf finnau'r hyfryd sŵn,"

a gadael cymhares y llinell heb ei nehwid. Ni welwyd dim, debyg, fod yr un tor-corfan yn union yn y fraich arall ag sydd yn hon.

"*Minnau* wrandawa'r hyfryd swn;
*Llais* fy Anwylyd yw."

Fel yna y bydd pawb yn darllen, pwyso ar y gair "llais." Ni chlywais i neb yn pwyso ar y "fy." Gair gogwyddog, di-acen felly, ydyw "fy," a'i bwysau ar y gair nesaf ato; er hyn y mae'r pwysau ar y "fy" wrth ganu, os bydd y dôn yn canlyn acenion y geiriau,

"Llais *fy* Anwylyd yw."

Fe dorrir yr acen mor wirioneddol â gair di-acen ag â sill ddi-acen; a pha faint o ugeiniau o eiriau di-acen sydd, yn y llyfr manylaf, yn taflu'r gorfan o'i lle, pe byddai mesur yn beth i gadw ato'n gaeth?

"*Nef* yw i'm henaid ym mhob man,"
"*Rhois* fy holl obaith yn ei air,"
"Cof am y Cyfiawn Iesu,"

A dechreu pob pennill yn yr emyn

"Mil o rinweddau yn gytun,"
"Poen a llawenydd dan y loes."

Ni ddoech chwi byth i ben a newid, pe newidiech chwi bob gair sydd yn taflu'r acen o'i lle. Paham y dangosir cymaint gofal i osgoi hyn pan fyddo'n fater o sill, a gorfod ei adael yn fynych pan fo'n fater o air? Rhyw un a gefais i o'r math yma wedi ei newid,

"Ffordd newydd wnaed gan Iesu Grist,
I basio heibio uffern drist,
Wedi ei phalmantu ganddo ef
O ganol byd i ganol nef."

Pennill y byddai plant nid yn unig yn ei ddysgu, ond yn ei ddeall. Bellach y mae wedi cyffio ac anystwytho, a myned yn drwyadl anghymroaidd heb law hynny,

"Yr hon balmantwyd ganddo ef."

Ni ddysgwn i byth mo hono i blentyn fel y mae yn awr.

Y mae'r Cyfeisteddfod wedi myn'd i drafferth i wneud peth nas gellid byth ei gwmpasu'n llwyr; ac wrth geisio gwneud peth amhosibl y maent wedi creithio a hyllu rhai o'r emynnau goreu yn y llyfr. Dro yn ol yr oedd un o'r papurau yn ateb ymholiad rhyw ferch ieuanc, brydweddol mi dybiwn, ond fod un eithriad i'w phrydferthwch. Gofyn yr

oedd hi sut i dynnu dafad oddi ar wyneb, a'r ateb oedd fod digon o ffyrdd i wneud hynny, ond y byddai'r graith ar ol y ddafad yn aml llawn hyllach na'r ddafad ei hun. Ni fynnwn daeru fod ein hemynau yn ddifrychau; ond cynefino yr ydym â brychau emyn da, nes eu bod hwythau braidd yn gysegredig; ac er i ni gydnabod y brychau, mae'n fil gwell gennym y brycheuyn na'r graith a wnaed wrth ei rwbio i ffwrdd.

Caraswn fanylu ar bynciau ereill o wahaniaeth barn rhwng Dyfed a minnau, pynciau a godant yn ddamweiniol yn nghorff y feirniadaeth. Dywed y prif-fardd mai Pedr Fardd yw'r unig un a lwyddodd i roi cynghanedd mewn emyn. Beth am Edward Jones o Faes y Plwm?

"Clyw f'enaid tlawd, mae gennyt Dad,
Sy'n gwel'd dy fwriad gwan,
A Brawd yn eiriol yn y nef
Cyn codi'th lef i'r lân:
Cred nad diystyr gan dy Dad
Yw gwrando gwaedd dymuniad gwiw,
Pe byddai d'enau yn rhy fud
I'w ddwedyd ger bron Duw:"

Beth am James Hughes o Lundain?

"Crist ydyw'r arch a'r drugareddfa rad;
Yn enw hwn anturiwn at y Tad;
Fe wrendy gwyn pechadur heb ei ladd;
Fe gymer blaid yr enaid isel radd."

Beth am Dafydd Sion?

"Mae Seion wan yn griddfan dan y groes,
Yn disgwyl gwawr ar lawr dan lawer loes;
Bywha dy waith, ni phery nhaith yn hir;
'Rwy'n ofni'r bedd cyn gwel'd dy wedd yn wir."

Dywedai gŵr a gydnabyddir yn awdurdod fod Ann Griffiths mewn mannau yn feistres ar y gynghanedd; a nodai'r engraifft yma:—

"Dyma Frawd a anwyd inni
Erbyn c'ledi a phob clwy';
Ffyddlon ydyw, llawn tosturi;
Haeddai gael ei foli'n fwy:
Rhyddhawr caethion, Meddyg cleifion,
Ffordd i Seion union yw;
Ffynnon loew, bywyd meirw,
Arch i gadw dyn yw Duw."

Gelwir fi i gyfrif ym mhellach am gwyno oherwydd gwaith y Pwyllgor yn clytio hen emynnau a phenillion diweddar; a dywedir, i gyfiawnhau'r peth, mai clytwaith da ydyw rhai o'r emynnau goreu yn y llyfr. Enwir

"O! Ysbryd pur nefolaidd . . ."

yn esiampl. Gwir, ond clytwaith da cofier, a chlytwaith gan mwyaf o gynyrchion yr un awdwr. Ni chwynwn i ddim am glytio a gwaith awdwr diweddarach, lle y bo'r pennill newydd yn un da, a chydwedd ag arddull y gwreiddiol. Nis gwn a wybuasai rhywun mai newydd oedd pennill Peter Williams ar ddiwedd Salm lxviii.

*

"Ofnadwy ydwyt ti a'th arch,
Teilwng o barch y bobloedd;
Duw Israel rydd nerth wrth raid,
Bendigaid yn oes oesoedd."

Ac megys nad ydyw pob clytwaith yn y llyfr newydd yn dda, anaml y mae ei ddetholiad o benillion mewn emyn yn dda, lle y mae'n wahanol i'r detholiad oedd yn yr hen lyfr. Nid wyf yn gwadu o gwbl hawl casglwyr i dynnu ambell i bennill allan. Detholiad, nid casgliad cyflawn, ydyw'r llyfr i fod; ac y mae cyn hawdded hepgor pennill yn fynych a hepgor emyn. Mewn pennill neu ddau y cawn ni faich a gogoniant llawer emyn. Gwaith da a wnaeth ein Pwyllgor ni wrth adael heibio'r unig bennill sal yn emyn gwych Ellis Wynne, y pennill lle y daw'r dywediad di-ganu hwnnw,

"Medd Paul, O'r corff maent gyd ag ef."

Ond mewn nifer o fannau y penillion goreu sydd wedi eu bwrw allan. Feallai y caniateir i mi, gan mai prin a fum ar y pen yma y tro o'r blaen, ychwanegu rhai esiamplau yn awr o benillion gwir ragorol a geid yn y llyfr arall ac na cheir yma. Gwelais amryw byd yma ac acw; ond yn y Salmau Cân y gwelais fwyaf; a cheuaf fy hun i'r rheiny.

Yn yr emyn 15 o'r llyfr newydd gadewir allan y rhestr creaduriaid sy'n gorffen yr hyn y dechreusid ei ddweud yn y pennill o'r blaen.

"Defaid a gwartheg, holl dda maes,
A'r adar llaes eu hesgyll,
Ehediaid nef, a'r pysg o'r don
Sy'n tramwy'r eigion erchyll."

Pe rhoisid hwn, ac un arall cyn dlysed ag yntau i mewn, buasai'r Salm odidog gennym i gyd, un o'r emynnau perffeithiaf a ganwyd erioed.

Yn emyn 20 y mae un pennill gweddol wedi ei wrthod, a dau o rai di-guro. Dyma'r ddau.

"Er mwyn Caersalem adail deg,
Rhydd cedyrn anrheg iti;
Difethi dyrfa'r gwaewffyn,
A'r rhai a fyn ryfelu."

"Y pendefigion o'r Aipht draw
A ddaw, ac Ethiopia,
At Dduw yn brysur i roi rhodd
Ac aberth gwirfodd yma."

Eto a oedd atolwg rywbeth cystal yn emyn 536 a'r pennill a drowd heibio?

"Ac am yr Arglwydd gwylio y bydd
Fwy na gwyliedydd difri',
A edrych blygain, bob pen awr,
A welo'r wawr yn codi."

Os nad yw hyn,—ac y mae digonedd o'r un peth,—yn profi gymaint tlotach llyfr ydyw hwn na'r llall, nis gwn pa beth a gyfrifir yn brawf.

Mi gydnabyddais yn llawn y pethau a ystyriwn i'n rhagoriaethau yn y llyfr hwn; ac ni fynnwn dynnu dim oddiwrth hynny; eithr nid digon y rhai hyn i bwyso'r diffygion diesgus sydd ynddo. Y mae rhai o fân

ddiffygion yr hen lyfr yn aros heb eu diwygio yn hwn, wedi'r siarad i gyd. Nid yw ei orgraff na gwell na gwaeth am a wn i. Y mae'r gwall dybryd "Yn mhob" ym mhob un o'r ddau.

Hefyd ai nid yw'n bryd bellach sillebu barddoniaeth yr un fel ag y bwriedir ei chanu? ac fel y bo'r odl yn gofyn?

"Mae'r Oen fu ar Galfaria
 Wrth fy modd,
Efengyl a'i *thrysora*,
 Wrth fy modd."

"Y tir dymunol *peredd*,
Yr ardal hyfryd *euredd*,
 Ag oedd ym mhell yn sefyll draw,
A ddaeth ger llaw o'r diwedd."

"Yn y babell gyd a'r arch
 Boed fy nghartre';
Cadw yn fy enaid barch
 I dy *ddeddfe*."

Ond mater bychan yw cadw'r odl yn ymyl y llall a enwyd, sef argraffu'r geiriau fel y'u cenir, neu fel y dylid eu canu; oblegyd y mae ugeiniau o ddarllenwyr gofalus,—y rhai mwyaf gofalus sy waethaf yn hyn,—yn canu yr un fath a'r print, yn lle canlyn y cyfarwyddyd rhagorol sydd yn nechreu'r llyfr. Onid gwell fyddai argraffu'r sill hanner mud, yn fud lle y bo raid ei chanu felly, ac yn llafar pan y bo eisieu llefariad ynddi i wneud y llinell yn gyflawn?

"Gwna deml sancteiddiol fawr."

"A'r frwydr a wnaeth yn ddarnau."

"Llwybyr cwbwl groes i natur."

"Byth na 'mad oddi wrth dy bobol."

"Yn ei demel dan fy mron."

Yr oedd llyfr newydd yn gyfle ardderchog i wella rhyw fanion o'r fath yna; ond nis gwnawd; tra y treuliwyd peth anhygoel o yni ac o ddawn i wneud cyfnewidiadau di-alw am danynt.

Nid heb iasau o ofn yr ysgrifennais fel y gwnes am waith gwŷr y mae gennyf y parch dyfnaf iddynt, ie, iddynt hwy yn bersonol, nid i'w safle yn eu henwad yn unig. Y mae y rhan fwyaf o honynt wedi dal hir brawf, ac wedi gwneuthur gwaith di-fefl, bron na ddywedwn i difrychau, mewn llawer cylch. Buasid yn proffwydo ym mlaen llaw, y gwneid hwn yn ddifrychau; ac nid diffyg cymhwysder yn y Cyfeisteddfod a barodd fod brychau yma. Yr wyf mewn pembleth pan elwyf i ddyfeisio pa beth. Gresyn na fai rhyddid i ni ddefnyddio llwybr y Pabyddion hynny, a gawsant fod raid cael argraffiad newydd, rhag cywilydd, o'r *Vulgate*, er bod ei gael yn sarhad ar goffadwriaeth y Pab Sixtus oedd wedi gwneud yr un o'r blaen yn frith o wallau. Y ffordd y daethant hwy o'r dyryswch oedd dweud yn eu rhagymadrodd fod gwallau wedi llithro i argraffiad ei Sancteiddrwydd trwy ddiofalwch yr argraffydd, neu os nad felly, trwy ddiofalwch rhywun. Gwyn fyd na chawn innau ddiogelu anffaeledigrwydd y Pwyllgor yr un ffordd. Ond bid rhyngddynt hwy a'r argraffydd, ac a rhywun, am y gwaith a wnaed,

nid ydyw y gwaith ei hun, beth bynnag, uwchlaw beirniadaeth. Y mae'r gwaith, er ei ddiffygion, eisoes wedi gwneud dirfawr les; ac ni fyddai'n deg i minnau dewi heb ddatgan fy niolchgarwch diffuant am y llyfr ac am erthygl Dyfed arno; oblegyd er na ches yn y naill na'r llall fy argyhoeddi, y mae llawer bendith, y tu yma i hynny, y gall dyn ei chael; a rhaid i mi gydnabod ddarfod i'r erthygl yn gystal a'r llyfr ychwanegu cryn lawer at fy ngwybodaeth. Nid oes achos i ddyn rwymo'i gredo ar bob pwnc wrth farn rhai a gyfrifir ganddo yn awdurdodau hanesyddol, ac o fewn ychydig i fod yn ddi-feth.

J. Puleston Jones.

---

## YSGOLION CANOLRADDOL CYMRU YN EU PERTHYNAS A PHLANT GALLUOG.

Eleni, am y waith gyntaf yn hanes ysgolion canolraddol Cymru, y cyflwynir tyst-ysgrifau gan y Bwrdd Canolog ar waith yr arholiad blynyddol, ac nid amhriodol felly ydyw cymeryd i ystyriaeth rai agweddau ar waith yr ysgolion hyn. Maent yn amrywio llawer yn nodwedd ac yng nghylch yr addysg a gyfranant, fel y maent yn wahanol iawn i'w gilydd o ran maintioli, ac, oherwydd yr amrywiaeth a nodwyd, nis gellir gwneuthur tegwch â'r gyfundrefn yn ei chyfanrwydd drwy unrhyw sylwadau cyffredinol mewn ysgrif fel hon. Ar yr un pryd teimlaf fod rhai ystyriaethau ynglŷn â'n cyfundrefn o addysg ganolraddol na ddylid colli golwg am foment arnynt, ac yn eu plith credaf fod yr hyn a nodir ym mhenawd yr ysgrif hon yn un o'r ystyriaethau pwysicaf. Mae yn berffaith sicr mai un o'r anogaethau cryfaf ym meddyliau a chalonnau sylfaenwyr y gyfundrefn ganolraddol yng Nghymru oedd yr awydd am gynorthwyo bechgyn a genethod o alluoedd uwch na'r cyffredin i wneud y goreu o'u talentau, a dringo i'r safle a haeddent ar hyd graddfa addysg. Teimlid na ddylai plentyn gwir alluog gael ei rwystro i gyrraedd yr addysg oreu oherwydd amgylchiadau ei rieni. Ceisid torri llwybr dringadwy i blant tlodion o'r ysgolion elfennol i'r Prifysgolion. Nid oedd addysg yn Rhydychain neu Gaergrawnt neu unrhyw Brifysgol arall, ac yn eu plith, bellach, ein Prifysgol ein hunain, i fod allan o gyrraedd plentyn gwir alluog oherwydd prinder arian. I'r amcan hwnnw trefnwyd i gynnyg ysgoloriaethau i'r ysgolion canolraddol, ac ysgoloriaethau hefyd allan o honynt, i sefydliadau lle y cyfrennid addysg uwchraddol.

Ar yr un pryd ni esgeuluswyd plant o gyrhaeddiadau cyffredin. Trefnwyd yn yr ysgolion canolraddol i roddi addysg i blant mewn cyfeiriadau neillduol yn ychwanegol at yr hyn a gawsant yn yr ysgolion elfennol neu unrhyw ysgolion rhagbarotoawl ereill. Er hynny ni

fwriadwyd i'r plant hyn o alluoedd cyffredin gael eu haddysgu ar draul esgeuluso y plant gwir alluog, y rhai a allent fanteisio ar addysg ganolraddol yng ngwir ystyr y gair. Bwriadwyd yr ysgolion hyn yn bennaf ar gyfer yr ychydig, y rhai a ddysgent i gofio, nid ar gyfer y llawer y rhai a ddysgent i anghofio.

Y perygl y mae llawer o honom ynddo wrth feirniadu yr ysgolion canolraddol ydyw disgwyl iddynt roddi mwy o amser nag a ddylent i blant y mae yn rhaid eu gorfodi i ddysgu, a rhy ychydig o amser i blant sydd yn hoffach o ddysgu na pheidio. Gwaith mawr yr ysgolion canolraddol drwy Gymru fydd cyfrannu yr addysg oreu i rai yn sychedu am wybodaeth. Am y sawl nad ydynt yn sychedu am wybodaeth, gwell ydyw iddynt hwy aros yn yr ysgolion elfennol, a dysgu yn drwyadl y wybodaeth fuddiol a gwerthfawr a gyfrennir iddynt yno.

Pan y byddo plentyn yn meddu ar allu i ddysgu, ynghydag awydd am wybodaeth, dylai ef a'i rieni gofio nad oes ganddynt ddim amser i'w golli. Goreu po gyntaf y gosodir i lawr sylfaen dda o addysg elfennol; ac os bwriedir i'r plentyn fyned i Brifysgol, ni ddylai oedi dechreu dysgu yr ieithoedd Groeg a Lladin. Nis gellir disgwyl meistroli yr ieithoedd hyn fel ag i'w darllen a'u hysgrifennu yn rhwydd, fel y gwna rhai o fechgyn galluocaf ysgolion Lloegr, heb ddechreu arnynt yn bur foreu. Yr un modd eto gydag Euclid ac Algebra, nid ydynt ddim anhaws i blant na Rhifyddeg, os cyfrennir yr addysg ynddynt yn y ffordd iawn o'r dechreu. Un o beryglon plant Cymru ydyw myned yn rhy hen cyn dechreu dysgu Groeg a Lladin, ac egwyddorion Rhif a Mesur. Yn aml, ni ddarganfyddir y camsyniad nes y bydd yn rhy ddiweddar. Hyderaf y cymer rhieni a chyfarwyddwyr plant gwir alluog sydd âg awydd ynddynt am ddysgu hyn at eu hystyriaeth.

Os bydd bachgen galluog a'i olwg ar un o'r Prifysgolion, mae yn dra phwysig iddo ef a'i rieni ystyried yn fanwl ymha le y caiff y paratoad priodol i'w alluogi i fanteisio hyd yr eithaf ar ei addysg athrofaol. Mae hyn yn bwysig i'r plentyn cyfoethog, ond y mae yn bwysicach fyth i'r plentyn tlawd. Cyn y gall ef fyned i un o golegau Rhydychain neu Gaergrawnt, er engraifft, bydd yn rhaid iddo ennill ysgoloriaeth, ac fe ŵyr pob dyn profiadol yn y materion hyn gymaint o ymdrech sydd yn ofynnol i ennill ysgoloriaeth yno yn y dyddiau hyn, pan y mae bechgyn gwir alluog o bob rhan o'r byd yn cystadlu am danynt. Nid pob ysgol nac athraw a all baratoi bachgen am ysgoloriaeth yn Rhydychain neu Gaergrawnt, ac y mae o'r pwys mwyaf i fachgen o amgylchiadau cyffredin fyned i ysgol lle y caiff ei baratoi yn ofalus ac yn drwyadl gogyfer âg ysgoloriaeth o'r fath. Gall ysgol ganolraddol wneuthur gwaith rhagorol a gwerthfawr iawn yn ei ffordd, drwy gyfrannu addysg i blant o gyrhaeddiadau cyffredin, ond, ar yr un pryd, fod yn hollol analluog i addysgu plentyn gogyfer ag arholiad am un o'r ysgoloriaethau a nodwyd. Neu fe all ddigwydd fod ysgol neillduol yn gallu paratoi plentyn ar gyfer ysgoloriaeth mewn rhyw un pwnc ond nid yr un pwnc ag y bydd y plentyn yn bwriadu ymgeisio ynddo. Felly, pan yn anfon bachgen i ysgol ganolraddol, dylid holi yn fanwl a dyfal ymha gyfeiriadau y mae nerth athrawon y gwahanol ysgolion fydd yn y cyrraedd. Gall rhieni wneud cam dirfawr â'u plant drwy eu hanfon i ysgolion

hollol anghymwys i ddadblygu eu talentau naturiol, a thrwy beri iddynt wastraffu rhai o flynyddoedd goreu eu heinioes wrth gael eu dysgu yn amherffaith.

Yn hyn o beth, amlwg ydyw fod gan y cyfoethog fantais fawr ar y tlawd yn sefyllfa bresennol addysg Cymru. Os na fydd ysgol dda yn agos, gall y cyfoethog anfon ei blentyn oddicartef i ysgol well, ond rhaid i'r tlawd dderbyn (os gall ei hennill) ysgoloriaeth i'r ysgol agosaf ato, pa mor anaddas bynnag fo hono, neu fethu myned yn ei flaen. Gresyn na buasai rhai ysgoloriaethau agored (digonol i gynnal plentyn yn gystal a'i addysgu) ynglŷn â rhai o'n hysgolion canolraddol goreu. Fel y bydd ein cyfundrefn yn dadblygu daw yr angen am y rhai hyn i gael ei deimlo yn fwy yn barhaus, am y daw rhieni a chyfarwyddwyr plant galluog i weled mai cam â'r plant fydd eu gadael mewn ysgolion anghymwys i gyfarfod â siomiant perffaith pan elont i gystadlu am ysgoloriaethau yn y Prifysgolion. Nis gallwn lai na chredu fod angen dyfeisio rhyw foddion i gynorthwyo plant tlodion gwir alluog i fyned i'r ysgolion goreu yn ein gwlad. Ar eu cyfer hwy y bwriadwyd y gyfundrefn yn bennaf, ac ni ddylai caredigion addysg orffwys nes y cânt fanteisio hyd yr eithaf arni.

Yn niffyg cyfleusderau i fyned i ysgol ganolraddol neu ramadegol dda, nis gellir rhoddi gwell cynghor i fachgen tlawd o allu diamheuol nag iddo ddysgu y cyfan a all yn yr ysgol fyddo o fewn ei gyrraedd, a chynnyg am ysgoloriaeth yn un o Golegau Cenedlaethol Cymru. Ond rhaid cyfaddef fod y rhai hyn bellach, oherwydd nifer ymgeiswyr galluog, yn myned yn bur anhawdd eu cael. Mantais fawr i blentyn fyddo yn cystadlu am un o'r rhai hyn, neu am un o'r Ysgoloriaethau Sirol, ydyw bod dan addysg athrawon da. Ar yr un pryd gall llawer o ysgolion canolraddol baratoi yn llwyddiannus ymgeiswyr am ysgoloriaethau yn y Colegau Cenedlaethol nas gallent byth ddisgwyl llwyddo mewn arholiadau cyffelyb yng ngholegau Rhydychain neu Gaergrawnt. Os bydd bachgen tlawd a'i fryd ar fyned i un o Brifysgolion enwocaf Ewrob, ac yn methu cael y paratoad angenrheidiol yn yr ysgol ganolraddol y mae ynddi, y peth goreu fydd iddo geisio ennill ysgoloriaeth yn un o'r Colegau Cenedlaethol Cymreig pan yn un ar bymtheg, a gweithio am ryw dair blynedd yno tuag at radd y Brifysgol i Gymru yn hoff bynciau ei efrydiaeth. Os bydd iddo iawn ddefnyddio ei amser, gall raddio yn anrhydeddus yn y Brifysgol Gymreig, ac fe fydd yn bur debyg o allu llwyddo i fyned wedi hynny, os bydd yn dewis, i Brifysgol arall.

Pan y bo bachgen galluog mewn ysgol gyda phlant llawer llai eu gallu, ei berygl mawr ydyw ymchwyddo ac ymfalchïo, yn lle ymdrechu ymgyrraedd at nôd uchel. Gwell o lawer ydyw i blant galluog gael ymgystadlu gyda phlant galluog ereill, a chael eu symbylu felly i fwy o waith ac i fwy o ymdrech. Gall plant talentog, hefyd, ddysgu llawer iawn oddiwrth eu gilydd, ac nid yn unig symbylu eu gilydd, ond eu hathrawon yn ogystal. Drwy ymgymysgu y naill â'r llall deuant i allu ymresymu gyda mwy o hyder yn eu galluoedd rhesymegol, ac i edrych ar bethau o wahanol gyfeiriadau. Nid oes dim sydd yn fwy digalon i blentyn galluog na bod yn gweithio wrtho'i hunan, heb neb o gyffelyb ymgais i ymddiddan âg ef, a neb o gyffelyb allu i rodio yr un llwybr.

Hawdd iawn, hefyd, ydyw i lawer o chwŷn dyfu ym meddwl plentyn, os na chedwir ef ar ei lawn waith. Yn lle tyfu yn feddwl clir, bywiog a miniog, gall ymgolli mewn breuddwydion disail a diwerth: dyfod yn feddwl goddefol yn lle yn feddwl gweithredol. Nis gellir peidio teimlo graddau o bryder wrth weled un bachgen galluog mewn ysgol gyda nifer o b ant o gyrhaeddiadau cyffredin. Y perygl ydyw na chaiff ddigon o waith ar gyfer ei alluoedd. Gwell fuasai iddo fod yn ei lawn egni yn ymdrechu am y goreu gyda bechgyn gwir alluog ereill, ac yr ydym yn dra awyddus i'r fantais hon fod yng nghyrraedd y bachgen tlawd yn gystal a'r bachgen cyfoethog.

Os gwelir talent neillduol gan blentyn mewn unrhyw gyfeiriad a fydd yn fantais iddo yng ngyrfa bywyd, dylid ei annog i wneud ei oreu yn y cyfeiriad hwnnw yn yr ysgol a thuallan i'r ysgol. Gall plentyn cyflym wneuthur cryn lawer o gynnydd yn aml heb lawer o ymdrech, ond fe ddaw adeg hyd yn oed yn efrydiaeth ei hoff bwnc pan y bydd yn rhaid iddo wneud ymdrech galed. Dyna'r pryd y dylid ei annog i ymdrechu hyd eithaf ei allu, a meddu ar ddigon o ddewrder i beidio osgoi anhawsderau. Y mae lle i ofni ar brydiau fod tuedd mewn rhai o'n hysgolion i arswydo rhag rhoddi dim anhawdd o flaen plentyn. Mewn gwirionedd, trwy ymgodymu âg anhawsderau meddyliol a'u gorchfygu y bydd meddwl yn cryfhau. Hyn, i raddau pell iawn, ydyw gwerth addysgol y fath ganghenau ag Euclid a'r ieithoedd Groeg a Lladin i feddwl plentyn. Ni faga Cymru byth gewri meddyliol os ar fwyd llwy y meithrinir ei phlant yn ei hysgolion.

Gwelwn, felly, ei bod yn bwysig i blant galluog Cymru, os am lwyddo, ddysgu yn ddiwyd ac yn ddi-flino o'r cychwyn, ac nid dysgu rhywbeth, ychwaith, ond dysgu pethau anhawdd. Gall un a chof da ei lenwi yn bur fuan â llawer o wybodaeth o ryw fath, ond heb gryfhau nemawr ar y deall. Fel y dywedwyd eisoes, yr hyn sydd yn bwysig ydyw gwneuthur y meddwl yn weithredol, nid yn oddefol, wrth gasglu gwybodaeth. Un fantais o astudio Groeg a Lladin ydyw nas gellir cyfieithu o honynt heb fod y meddwl wedi gorfod ymdrechu, llawer llai y gellir cyfieithu iddynt Yr un modd, eto, gyda Rhif a Mesur, rhaid i'r meddwl fod yn effro a bywiog, ac yn llawn ymdrech, os ydys am fod yn llwyddiannus. Yr un modd, eto, gydag astudiaeth drwyadl o wyddoniaeth, nid casglu ffeithiau yn unig a wneir, ond deall hefyd eu cysylltiadau, ac nis gellir gwneuthur nemawr o gynnydd yn amryw o'r gwyddorau heb ryw gymaint o wybodaeth o egwyddorion Rhif a Mesur. Mantais fawr i blentyn fyddo'n astudio pynciau llawn o anhawsderau ydyw cael athraw sydd wedi gorchfygu yr anhawsderau hyn ei hunan, ac o'r tu arall, un o'r anfanteision mwyaf i blentyn ydyw bod dan athraw nas gall estyn cynorthwy i fachgen galluog pan y byddo angen.

Nis gellir cymeryd yn ganiataol bob amser mai yr ysgolion canolraddol mwyaf fydd y rhai goreu; ac wrth roddi y cynghorion a roddwyd gennym, nid ydys mewn un modd yn cynghori plant mewn ysgolion canolraddol bychain i'w gadael am ysgolion mwy. Mae y cyfan yn dibynnu ar alluoedd yr athrawon a'r amser a roddant i gynorthwyo plant galluog. Gall yn hawdd ddigwydd mai doeth fyddai i blentyn adael ysgol fawr am ysgol lai. Hyn, fodd bynnag, sydd sicr, y dylai rhieni a chyfarwyddwyr plant ofalu am wybod beth ydyw

cymhwysderau arbennig yr athrawon a'r athrawesau y bo eu plant dan eu gofal. Yr un modd, eto, dylai y rhai fyddo yn penodi athrawon fod yn dra gofalus i sicrhau fod y sawl a benodir yn meddu ar wybodaeth ddigonol i gynorthwyo y plant galluocaf yn eu hanhawsderau. Mae yn dra phwysig i athrawon ein hysgolion canolraddol fod yn ddynion o wybodaeth wirioneddol gywir ac eang yn eu gwahanol bynciau.

Nid ydys wedi son yn yr ysgrif hon am addysg yr ysgolion canolraddol fel paratoad i gyfreithwyr, i feddygon, i bregethwyr, i fasnachwyr, i amaethwyr, etc., at eu gwahanol alwedigaethau. Ni ymdrinir yma ond âg addysg y rhai fyddont yn meddu ar ddigon o alluoedd ac uchelgais i fedru gobeithio dringo, gydag ymdrech a bendith, i rengoedd blaenaf y gwahanol alwedigaethau hyn. Ni ddywedwn fod angen am ddiwylliant meddyliol uchel i wneud arian, am fod digon o engreifftiau i'r gwrthwyneb; ond, am y rhan fwyaf o alwedigaethau a gyfrifir yn gyffredin yn anrhydeddus, gellir dweyd am danynt fod mwy a mwy o ddisgyblaeth a diwylliant meddyliol yn angenrheidiol cyn y gellir llwyddo ynddynt, ac anhawdd iawn ydyw disgyblu'r meddwl yn briodol os na ddechreuir ar y gwaith yn ieuanc.

Cymhorth mawr i ddiwylliant gwirioneddol ydyw ymgydnabyddu â llyfrau da ym mlynyddoedd mebyd. Prinder llyfrau yw un o rwystrau mawr bechgyn tlodion Cymru. Dylai pob ysgol ganolraddol feddu lyfrgell dda, yn cynnwys rhai o'r llyfrau goreu yn y pynciau a astudir yn yr ysgol. Er engraifft, ni ddylai fod heb argraffiadau o rai o'r prif glasuron Groeg a Lladin, er mwyn i fachgen tlawd, os bydd yn dewis, allu darllen mwy o honynt na'i gydysgolheigion arafach. Yr un modd, eto, ynglŷn â llyfrau gwyddonol a'r cyffelyb. Byddai gweled nifer o gyfrolau trwchus yn y gwahanol ganghenau yn gymhorth i adgofio hyd yn oed y plentyn galluog o fychander ei wybodaeth ei hun, ac i'w symbylu i geisio mwy o wybodaeth yn barhaus. Gellid enwi hefyd nifer o bynciau ereill y byddai yn dda i lyfrgell yr ysgol gynnwys llyfrau arnynt. Nid ydys yn meddwl am foment y defnyddid llawer o lyfrau o'r fath yma gan fwyafrif plant yr ysgol, ond, ar gyfer yr ychydig blant gwir alluog, ni fyddai yr un ddarpariaeth well.

Bydd darllen llawer ym mlynyddoedd mebyd yn gynorthwy mawr i'r plentyn ddarllen yn rhwydd. Ychydig o blant, y mae lle i ofni, sydd yn gallu dysgu darllen heb flino yn bur fuan. Yr un modd, eto, gydag ysgrifennu. Mae llawer iawn o blant, a phobl mewn oed hefyd, yn hollol analluog i ysgrifennu mwy nag ychydig iawn o dudalenau heb flino. Mae rhyw bedair neu bum tudalen yn ymddangos iddynt hwy yn llawer iawn. Dylai plant galluog Cymru ymgynefino âg ysgrifennu a chyfansoddi o'u hieuenctid, rhag i hynny fod yn faich llethol arnynt pan y tyfont i fyny. Bydd yn fantais amhrisiadwy iddynt gael eu dysgu ym moreu eu hoes i gyfansoddi yn Gymraeg ac yn Saesneg yn gywir. Nid cyfundrefn i greu graddedigion diffrwyth a digynnyrch, ni a hyderwn, a fydd cyfundrefn addysg Cymru, ond cyfundrefn i beri i feddyliau ffrwytho er lles a budd y genedl a'r byd. Mae o'r pwys mwyaf i blant Cymru ddysgu cyfansoddi yn ieuainc, onide, er ceisio casglu gwybodaeth, byddant yn methu a chyfleu y wybodaeth honno pan y gelwir am hynny. Nis gall y plant byth lwyddo i osod allan eu

meddyliau ar ddydd yr arholiad os na byddant wedi cael ymarferiad cyson a chyfarwyddyd yn hyn o orchwyl trwy gydol y flwyddyn.

Er y dylai plant galluog gael digon o awyr iach, eto, wrth edrych ar yr ymgystadlu diflino a geir ym mhob cyfeiriad, rhaid dweyd nad oes ganddynt lawer o amser i'w golli ym moreu oes mewn chwareuon neu unrhyw bethau y tu allan i'w gwersi. Gresyn, ar ryw olwg, na chawsai plant fwy o hamdden, ond gallaf sicrhau, yn ol yr hyn a wn am yr amgylchiadau, nad oes gan blentyn fyddo yn dymuno ennill ysgoloriaethau yn y Prifysgolion a'r cyffelyb *ddim* amser i'w golli na'i wastraffu ar bethau amherthynasol. Pan y byddo ef yn gorphwys bydd ereill yn gweithio, a'r diwyd yn unig a all ennill y dorch. Byd caled, o angenrheidrwydd, fydd byd plentyn diwyd a'i uchelgais yn y cyfeiriadau hyn. Nis gall orphwys cyn cyrraedd y nod, rhag peryglu ei lwyddiant a'i arwain i siomedigaeth. Gofaler na chaiff cyfundrefn addysg ein gwlad ychwanegu at ei rwystrau a'i anhawsderau.

Wrth weled dynion o allu yn llwyddo nid yw yn anhebyg y gwelwn ereill heb lawer o allu yn ceisio dringo'r rhiwiau serth. Ceisia y rhai hyn wneud cynnydd gydag addysg ganolraddol heb allu llwyddo i gasglu rhyw lawer o wybodaeth elfennol. Nid oes dim sydd well i'r dosbarth hwn na'u cadw gyda gwaith elfennol nes y byddont wedi ei ddysgu yn drwyadl. Torcalonus iawn ydyw gweled rhai drwy ryw fath o uchelgais yn meddwl am gynnyg mewn ymdrechfeydd sydd ym mhell tu hwnt i'w galluoedd. Nid ydynt erioed wedi dirnad nas gallant byth ddisgwyl llwyddo. Nis gall ymdrech a phenderfyniad wneud ysgolhaig ar wahan i allu Heb gôf cryf, er engraifft, ofer ydyw disgwyl meistroli ieithoedd; heb ddeall treiddgar a chyflym nis gellir amgyffred egwyddorion gwyddoniaeth neu athroniaeth. Rhaid i addysgwyr ein gwlad fod yn dra gwyliadwrus, felly, i symbylu uchelgais y galluog a gostwng uchelgais yr analluog, hyd nes y byddo sylfeini ei wybodaeth yn gedyrn. Disgwylir llawer oddiwrth ein cyfundrefn addysg yng Nghymru. Mae eisoes yn gwneuthur ei hol ar y wlad, ac nid oes gennym ond gobeithio y bydd yn gynorthwy i lawer un o feibion Cymru i ddringo i anrhydedd, ac i arwain ei wlad, nid yn unig mewn gwybodaeth, ond, yr hyn sydd yn llawer pwysicach, mewn cymeriad hefyd.

E. ANWYL.

*Aberystwyth.*

## LLYFR ROWNTREE A SHERWELL.

Y MAE anghymedroldeb a meddwdod yn ffynnu yn arswydus, ac y mae masnach y ddiod, sydd yn ddibris o bopeth ond yr enillion a sicrhâ iddi ei hun, yn crynhoi ei hymadferthoedd i'r ymdrech o gael gan y bobl yfed ychwaneg, ac felly i drymhau y trueni a ddygant arnynt eu hunain ac ar eu teuluoedd. A rhyfedd y difrawder â pha un yr edrychir ar hyn oll. Pe buasai berygl i anhwyldeb corfforol ddyfod arnom, neu i haint ddyfod ar ein hanifeiliaid, fe fuasai pawb yn gwbl fyw, ac fe wnelsid pob ymdrech i gadw y drygau draw. Ac eto dyma ymyfed yn peri i ni drychineb annhraethol fwy, a hynny yn barhaus; ond er y cwbl yr ydym yn dawel a difraw. Yn wir pe byddai ambell un, yma a thraw, yn arswydo ac yn teimlo "ei air Ef yn ei galon yn llosgi fel tân, wedi ei gau o fewn ei esgyrn, yn blino yn ymatal," ac yn ei lefaru, deg i un nad y farn a roddid arno, a chan rai ag y gallesid disgwyl oddiwrthynt bethau gwell, fyddai ei fod yn "dangos gor-sêl," ac yn "myned i eithafion." Hyd yn oed pe mewn dirfawr bellder oddiwrth ynfydrwydd Esgob Ely, yr hwn a ddywedai y dydd o'r blaen fod cwrw i'r deyrnas yma yn "rhodd Duw i lawenhau calon dyn," eto fe deimlid rhyw ledneisrwydd rhyfedd at y ddiod ag y mae cynifer mor hoff o honi, er ei fod

Mor ole â'r haul ar hanner dydd

fod ei hyfed, o hyd ac o hyd, yn llanw ein gwlad "â galar, a griddfan, a gwae." Da gennym weled fod y llyfr hwn—*The Temperance Problem and Social Reform*, cyfrol drwchus o dros chwe chant o dudalennau, 6s.,—wedi ennill cryn lawer o sylw, ac felly yn ddiameu wedi gwneud llawer o les trwy ddwyn pobl i feddwl am hyn, ac i geisio edrych y drwg yn ei wyneb. Mae y copi sydd o'n blaen o'r pedwerydd argraffiad, a llawenhawn o ddeall fod yr alwad am dano yn parhau. Gwyn fyd na cheid hefyd yn Gymraeg lyfr sylweddol a ymdrinai yn llawn â'r holl fater, ac a ddeffroai ein gwlad i feddwl ac ymdrech na orffwysont nes estyn i ni fel pobl ymwared llawn oddiwrth y felldith ag y mae ein hymwneud â'r ddiod feddwol yn ddwyn arnom. Mae y llyfr yma yn galw sylw mewn ffordd deg a rhesymol at faint y niwed a achosir trwy ddiota a meddwdod yn y deyrnas hon. Y mae hefyd yn bwrw golwg ar y cynhygion a wneir mewn gwahanol wledydd i gael ymwared oddiwrth y drygau a achosir trwy anghymedroldeb. Ac yn hyn, fel gyda phopeth arall y cyfeirir ato, fe geir llawer iawn o wybodaeth fuddiol wedi ei chasglu ynghyd, er nad ydym bob amser mor sicr am y casgliadau a dynnir am weithrediad rhai o'r cynlluniau y rhoed prawf arnynt er ceisio atal anghymedroldeb, nac ychwaith am y cynllun a osodir o'n blaen yma fel yr un ag y dylem oll gytuno arno fel y peth goreu y gellid meddwl am dano i'r wlad hon. Mae darllenwyr y TRAETHODYDD, ni a hyderwn, "a'u gwraidd yn erbyn Amalec," yn elynion calon i'r ddiod, ac i'r fasnach sydd yn ei chadw yn barhaus yn gymaint hudoliaeth i'n cydwladwyr; ac fel rhai ag sydd yn cymeryd rhan flaen-

llaw yn y rhyfel, diameu y byddai yn ddyddorol ganddynt gael syniad am yr olwg a geir yma ar fawredd y drwg, a'r gwahanol gynlluniau a ddefnyddir i'w wrthwynebu; fe fyddai hefyd o fawr werth i ni gael dealltwriaeth clir am yr hyn a fyddai oreu i ni grynhoi ein hymdrechion arno yn y wlad hon fel ymwared effeithiol rhag drwg sydd yn peri cymaint trueni.

## I.

Mae yr olwg a geir yma ar Ffyniant Anghymedroldeb yn y deyrnas, a'r Drygau o bob natur sydd yn dilyn hynny, yn sicr yn ddigon i'n llanw â gofid a dychryn.

Y mae ymdrechion mawrion ymhob ffordd wedi eu gwneud o blaid sobrwydd, ac y mae niferi mawrion trwy hynny wedi eu diogelu rhag temtasiynau y ddiod. Er hynny, er 1840, pan oedd y Diwygiad Dirwestol yn codi i'w rym, y mae y nifer o alwyni o alcohol, *proof spirit*, erbyn 1898, wedi codi o 3·89 y pen o'r boblogaeth, i 4·30. Neu i osod y peth feallai yn fwy clir, y mae y £2 18s. 10c. y pen a werrid am ddiodydd meddwol yn 1840, wedi codi erbyn 1898, i £3 16s. 10½c. A chymeryd nifer y llwyrymwrthodwyr yn ddim ond tair miliwn, a'r rhai dan 15 mlwydd oed, nad ydynt yn yfed, yn bedair miliwn ar ddeg, fe geid nad ydyw nifer y rhai sydd yn yfed ond rhyw dair miliwn ar hugain. Pa mor fawr ynte y rhaid bod yfed y rheiny! Yr oedd yr arian a wariwyd gennym am ddiodydd meddwol yn 1898 yn £154,480,934. Yr oedd hynny yn unwaith a hanner cymaint a holl gyllid y deyrnas; yn gymaint a rhenti holl dai a holl diroedd y deyrnas i gyd; ac yn fwy o £2,199,211 nag ydoedd y swm a wariwyd ar ddiodydd meddwol yn 1897. Yr oedd yr arian hynny, tra yn £3 16s. 10½c. y pen, yn dyfod ar gyfer pob teulu o bump, i'r swm anferth o £19 4s. 4½c. Ni roddai Mr. Mundella, pan yn Is-Lywydd Cyngor Addysg, ond un drem ar y trueni yna pan ddywedai am adran o Ddwyrain Llundain: "Dyma 1082 o deuluoedd a 2153 o blant o oedran mynd i'r ysgol (5 i 13). Mae yn yr adran 3 ysgol, 2 eglwys, 3 chapel, 3 ystafell genhadol, a 41 o dafarnau. Beth a olyga? 1,082 o deuluoedd isel, truenus, tlodion, yn cynnal 41 o dafarnau; tafarn i bob 25 o deuluoedd! Ystyriwch gymaint a gymer i'w cynnal, ac fe fydd achos mawr y trueni yn amlwg. Dywed un o fy Arolygwyr: 'Mewn un filltir ysgwâr o Ddwyrain Llundain, traul addysg ydyw ceiniog i bob teulu yn yr wythnos, *a 4s. 3c. i bob teulu am ddiod.*' Neu 4s. y flwyddyn am addysg, ac £11 am ddiod." Mae y fath anferth yfed yn peri dirfawr dlodi, ac yn trymhau ymhob cyfeiriad drueni y boblogaeth. Mae y tollau ar y ddiod yn dwyn rhyw £36,000,000 y flwyddyn i gyllid y deyrnas, ac fe ofynnir weithiau pa fodd y ceid y cyfryw gyllid oni bai am yr yfed. Y mae dadleu dros elw i'r wladwriaeth ar draul cymaint o drueni i'r bobl, ar y wyneb, yn dra gwrthun. Ond mae yn amlwg y byddai yr ysgafnhad ar y beichiau cyhoeddus pe peidid â'r ddiod, trwy leihau anferth draul ein brawdlysoedd, ein carcharau, ein tlotai, ein gwallgofdai, heblaw y cyllid a ychwanegid ar nwyddau fyddent yng nghyrraedd y bobl nad allant yn awr eu cael o gwbl, yn troi y golled honno yn ddirfawr ennill. Pan yn annerch dirprwyaeth o ddarllawyr a geisient ddweyd y byddai i'r hyn a gynhygiai wneuthur gyda thollau

y brâg, effeithio yn fawr ar gyllid y deyrnas, dywedai Mr. Gladstone: "Foneddigion, ni raid i chwi drafferthu dim am y cyllid. Rhaid i'r cwestiwn o gyllid beidio byth a sefyll yn ffordd diwygiadau angenrheidiol. Heblaw hynny, gyda phoblogaeth sobr, heb fod yn gwastraffu eu henillion, mi a wn ple i gael cyllid." Yn gyffelyb Syr Stafford Northcote, pan yn Ganghellydd y Trysorlys yn 1897; dywedai, "Pe byddai lleihad yn y cyllid oddiwrth wirodydd yn codi o gyfnewidiad yn arferion y bobl a'u hymataliad oddiwrth wirodydd poethion, *yr anturiai ddweyd y byddai i'r cyfoeth a ddygai y fath gyfnewidiad i'r genedl daflu yn gwbl i'r cysgod y swm o gyllid a geid y pryd hynny oddiwrth y doll ar wirodydd.*" A beth am yr afiechydon a ochelid? Dyfynnir yma o Syr Andrew Clark:—"Nid oes arnaf eisieu gwneud achos cryf; mae arnaf eisieu gwneud achos *cywir.* Yr wyf yn siarad yn ddifrifol a gofalus ym mhresenoldeb gwirionedd, ac yr wyf yn dweyd wrthych fy mod o fewn terfynau pan yn dweyd, wrth i mi fyned trwy *wards* fy Ysbyty heddyw, fod *saith o bob deg* yno, *a'u hafiechyd yn ddyledus i alcohol.* Yn awr beth a olyga hynny? Allan o bob cant o gleifion sydd dan fy ngofal yn Ysbyty Llundain, fod 70 a'u hafiechyd yn uniongyrchol yn ddyledus i alcohol—i'r camddefnydd? Nid wyf yn dweyd fod y 70 yma yn feddwon, ond yn yfed i ormodedd. . . Nid wyf yn dweyd, ni allaf ddweyd, beth mewn bywyd dynol yn gyffredin ydyw cyfartaledd y rhai y cymer alcohol afael arnynt fel ei ysglyfaeth. Nid wyf yn gwybod, nid oes gennyf fodd i ddyfod yn fanwl i'r casgliad; ond yr wyf yn gwybod hyn, fod nid yn unig gyfartaledd mawr o'r fath afiechydon a enwais, ond llawer iawn—yn sicr fwy na thair rhan o bedair o'r anhwylderau yn yr hyn a alwn yn fywyd ffasiynol—yn codi o'r defnydd o'r drwyth am yr hon yr wyf yn siarad." Y mae y cnwd o droseddau sydd yn codi yn barhaus o'r ymarfer â'r ddiod feddwol yn y wlad hon yn alaethus. Mor bell yn ol a 1834 cawn Bwyllgor Detholedig o Dŷ y Cyffredin yn nodi fel peth oedd yn amlwg yn codi oddiwrth fasnach y ddiod, "Ledaeniad troseddau o bob math, trwy yr hyn y llenwid y carcharau a'r lleoedd alltudio; ac yr oedd anferth nifer, y rhai dan arferion sobr a hyfforddiant moesol a fuasent yn gyfoeth a nerth i'r wlad, yn cael eu trawsffurfio, trwy effeithiau uniongyrchol ac anuniongyrchol diodydd meddwol, i'r fath lygredigaeth a gwendid fel ag yr oedd yn rhaid eu torri ymaith er atal llwyr ymlygriad yr holl gorff cymdeithasol." Bymtheng mlynedd yn ddiweddarach, caed Pwyllgor cyffelyb, yn gwneud adroddiad o'r un natur; ac un arall yn 1854, yr hwn a ddywedai "Fod y tystiolaethau a gawsai, ac oeddent o fawr bwys, yn dangos fod unrhyw duedd neillduol i drosedd, gydag ychydig iawn o eithriadau, yn cael ei chynhyrfu i weithrediad gan anghymedroldeb." Am dystiolaethau Ceidwaid a Chaplaniaid carcharau, a Barnwyr, y maent o hynny hyd yn awr wedi bod yn dra chryfion, ac yn dangos, oni bai am y ddiod, y byddai eu gwasanaeth hwy bron yn ddi-alw-am-dano. Fel engraifft o liaws mawr o dystiolaethau cyffelyb â pha rai y gallesid llwytho ein tudalennau, dyfynnwn eiddo yr Arglwydd Brif Farnwr Coleridge a geir yn y llyfr yma, yr hwn a ddywedai yn Birmingham yn 1891: "Ychydig o bobl sydd yn meddu y cyfleusterau yr wyf fi yn eu cael i weled yr effeithiau brawychus a gynhyrchir gan anghymedroldeb. Wrth reswm, y mae achosion

sydd yn sefyll yn gwbl ar wahân oddiwrth ddylanwad y dafarn —troseddau megis tyngu anudon, ffugysgrifiaeth, gau honiadau, ac ereill—y rhai a ofynnant gymorth addysg. Ond meddwdod yn neillduol yw achos y mathau cyffredin o drosedd, a phe gallai y deyrnas hon fod yn sobr, fe ellid cau tair rhan o bedair o'i charcharau." A gallesid cymeryd geiriau diweddarach a llawer mwy cryfion o eiddo yr un gŵr urddasol. Dywedai yn Liverpool yn 1892: "Yr wyf yn meddwl ei fod o fewn cylch fy nyledswydd i ddweyd, yn fy mhrofiad fel Barnwr, ac wedi byw cryn lawer o amser ymysg Barnwyr ereill, a Barnwyr o brofiad llawer helaethach na mi fy hun, ei fod yn sicr yn wir, pe gallem wneud Lloegr yn sobr, y gallem gau naw o bob deg o'r carcharau. . . A chymeryd cyfrif cymhedrol, y mae rhywbeth fel 19 o bob 20 o'r troseddau sydd i'w profi yn y llysoedd yn dyfod oddiwrth y ddiod." Ac heblaw y gwallgofrwydd ar y pryd ag y mae y ddiod yn gyrru dynion iddo nes cyflawni y troseddau o greulondeb a chynddaredd sydd yn gymaint gwarth i ni fel pobl, fe ŵyr pawb fod peth anferth o'r *insanity*, neu y gwallgofrwydd parhaus ag y mae cynifer o'n cyd-ddeiliaid yn cael eu darostwng iddo, yn cael ei achosi gan y ddiod feddwol. Fe geir yma fod Adroddiadau Blynyddol y *Commissioners in Lunacy* yn dangos, o'r oll a dderbyniwyd i wallgofdai yn Lloegr a Chymru yn ystod yr ugain mlynedd diweddaf, nad oedd dim llai nag 20 y cant o wrywod, a 7 y cant o fenywod wedi eu dwyn i'r ystâd honno trwy y ddiod. A beth am y lliaws yn ychwaneg nad ydynt yn cael eu danfon i'r gwallgofdai cyffredin, ond i ofal meddygon mewn sefydliadau uwch, ond ydynt, yn feibion ac yn ferched, yr un modd wedi eu gwneud yn wallgofiaid gan y ddiod? Y mae llawer o rai felly yn cael eu geni i'r byd a'r felldith yma yn eu gwaed, fel y mae plant yn derbyn cynifer o felldithion ereill oddiwrth anghymhedroldeb eu rhieni; ac y maent hwythau yn trosglwyddo yr un melldithion i'w plant hwythau, fel yn fynych y mae *cenedlaethau* yn gorfod dwyn y farn drom yma, yr hon a drosglwyddir iddynt gan y rhai a ddylasent eu caru yn fwyaf o bawb. "Yn yr olwg ar yr holl dystiolaethau hyn," fe ddywed ein hawdwyr, "mae'n amhosibl ameu nad ydyw y bumed neu y bedwaredd ran o holl wallgofrwydd y deyrnas yn ddyledus, yn uniongyrchol neu yn anuniongyrchol, i anghymhedroldeb mewn yfed. Mae y gwir gyfartaledd, mae'n debyg, yn fwy na hyn; y mae yn amhosibl meddwl ei fod yn llai." Mae yn debyg mai y ffurf fwyaf brawychus ar wallgofrwydd ydyw *delirium tremens*, haint y meddwon; a cheir fod y nifer a ddychwelwyd o rai wedi marw o hynny yn 1896, yn 413; a chyffelyb yw y nifer bob blwyddyn er 1877, heblaw fod yn sicr fod llawer iawn yn ychwaneg wedi marw o'r un anhwyldeb arswydus heb i unrhyw gofnod o hynny gyrraedd y cyfrifon cyhoeddus. Yr un modd nid ydyw y 1,775 a roddir am 1896 fel y nifer a fu farw o alcoholiaeth parhaus, *chronic alcoholism*, ond y rhai y caed cyfrif am danynt. Mae yn sicr fod llawer iawn yn ychwaneg wedi marw yn debyg, ond heb i hynny gyrraedd y cyfrifon. Ac y mae yn ofnadwy mewn gwirionedd i feddwl fod gwŷr o wybodaeth a barn a chraffder,—fel y diweddar Syr Benjamin Ward Richardson,—yn gorfod penderfynu nad all fod lladdedigion ymyfed yn y deyrnas hon, yn uniongyrchol ac yn anuniongyrchol, yn ddim llai bob blwyddyn na *chant a hanner o filoedd!*

Ac eto fe geir fod y Fasnach sydd yn delio yn y diodydd meddwol, yn eu gosod ynghyraedd y bobl, ac ymhob ffordd yn eu temtio i'w hyfed, fel y mae y fwyaf cyfoethog, felly hefyd y fwyaf ei rhwysg a'i hyfder o holl fasnachau y deyrnas. Dyfynnir yma o Mr. James Whyte, Ysgrifennydd yr *Alliance*, Fod o £250,000,000 i £300,000,000 wedi eu gosod ym masnach y ddiod yn y wlad hon. Erbyn hyn y mae y darllawdai mawrion wedi eu gosod yn nwylaw cwmnïau lliosog a chryfion y rhai na faliant ond am wneud arian iddynt eu hunain, doed a ddel o bawb a phopeth. Gwelwn fod y cyfran-ddalwyr mewn pump o'r cwmnïau hyn, heb gyfrif rhai yn dal *debentures*, yn 16,604, ac fod eu *capital* yn £15,820,000; a thebyg y cwmnïau ereill. Mae pobl o'r safleoedd parchusaf yn y cwmnïau hyn, ac yn llawenhau yn yr anferth elw a ddygant iddynt, heb feddwl am funud ei fod yn werth cymaint o "waed," ac wedi cynhyrchu y fath drueni a gwae. Mae y *Times* yn edrych yn garedig ar bobl y ddiod fel ei gymdeithion politicaidd, ond ar funud glir fe all yntau weled pethau yn debyg fel y maent; a dyma fel y dywedai mewn erthygl arweiniol yn 1891: "Tuedd naturiol darllawr ydyw gwthio ymlaen werthiant ei gwrw. Os bydd y drwydded heb ei fforffedu, nid yw y dull neillduol ymha un y cerir y fasnach ymlaen yn beth y malia efe am dano. *Ei ddymuniad mawr ydyw fod y gymdogaeth yn yfed cymaint ag sydd yn bosibl.*" A thrwy drefn y Tai Rhwym, y *Tied House System*, y mae peth anferth o'r tafarnau yn awr wedi dyfod yn eiddo y darllawyr a'r cwmnïau darllawol, a'r rhai sydd danynt yn edrych ar eu hôl heb ofalu am ddim ond sicrhau yr ennill a ddaw iddynt wrth werthu *cymaint ag a fyddo yn ddichonadwy* o'r ddiod. Pan, fel y mae yn naturiol iddynt yn eu hymdrech wyllt i yrru eu masnach ymlaen yn ddigon chwyrn, y syrthiant i ddwylaw y gyfraith ac y condemnir hwynt am anhrefn ac afreolaeth, teflir hwynt o'r neilldu, a gosodir rhai newydd, ac o gymeriad glân, bid siwr, yn eu lle, a golygir fod hynny yn ddigon o foddlonrwydd i gyfraith a threfn. Gyda dibristod llawn o bopeth arall, y mae yr anferth allu sydd gan bobl y fasnach yn cael ei grynhoi yn gwbl i'r amcan o ddiogelu eu *Trade* a sicrhau eu henillion. Dynodir fel amcanion y *National Trade Defence Fund*, "I wylio bob amser fuddion cyffredinol yr holl Fasnach, yn, a thu allan i'r Senedd; sicrhau trwy bob moddion cyfreithlon, heb ofalu am wleidyddiaeth plaid, ddychweliad i Dŷ y Cyffredin ac i gyrff etholedig ereill, ymgeiswyr fyddont ffyddlon i fuddion y Fasnach; cyfuno mewn cynghreiriad gymdeithasau ereill; ac yn gyffredinol i wneud pob peth a farno y Pwyllgor a fyddo er mantais y Fasnach." Ac felly lawer o gymdeithasau ereill. Ysgrifennai Mr. Charles Walker, cadeirydd y *Licensed Victuallers' Central Protection Society*, yn y *Fortnightly Review* yn 1893, am dano ei hun a'i frodyr: "Pan yn cael ymosod arnynt o bob cyfeiriad gyda chynhygion a bygythion oedd yn taro yn erbyn eu bodolaeth, cymerasant i fyny yr arwyddair, 'Ein Masnach yw ein Gwleidyddiaeth;' a ffyddlon y cariasant allan yr amcan a olygai yr arwyddair hwnnw." Ac mewn erthygl yn y *Brewers' Almanack* am 1894, wedi ei harwyddnodi gan weinyddwr y *National Trade Defence Fund*, darllennwn: "Wedi tymor o anweithgarwch alaethus, darfu i'r Fasnach deimlo yr angenrheidrwydd o osod ei hunan mewn trefn i weitho i ddibenion etholiadol; ac am yr ychydig

flynyddoedd diweddaf y mae wedi bod yn egnïol ar waith yn ei ffurfio ei hun i fod yn gorff an-wleidyddol cryf a chrynno, at y mwyaf ymarferol o bob amcanion, hunan-amddiffyniad" Mae nifer y tai lle y gwerthir y diodydd hyn dros gant a hanner o filoedd. Y nifer yn 1896 oedd 156,102. Mae ein hysgolion dyddiol yn werthfawr i ni; ond am bob ysgol ddyddiol o dan arolygiaeth a feddwn, y mae gennym dros *chwech* o dai wedi eu trwyddedu i werthu diodydd meddwol. Y mae gweinidogion yr Efengyl yn gwneud i'n gwlad wasanaeth o anfesurol werth; ond am bob gweinidog yr Efengyl sydd gennym—yn yr Eglwys Sefydledig, yr Eglwys Babaidd, a'u holl Gyrff Crefyddol—y mae mwy na *thri* o leoedd wedi eu trwyddedu i werthu diod feddwol. A thra y mae dros *gant a hanner o filiynau o bunnau* yn cael eu gwario bob blwyddyn am y diodydd hyn, pwy all amgyffred maint y tlodi a'r trueni, y gwallgofrwydd a'r dinystr y mae hynny yn ei achosi? Yr oedd Mr. Charles Buxton, darllawr cyfoethog, dros ddeugain mlynedd yn ol, yn ysgrifennu yn y *North British Review*, ac yn dweyd: "Os dodwn ynghyd yr holl drueni a gynhyrchir yn ein hamser gan ryfel, haint, a newyn, tair fflangell fawr dynolryw, mae yr hyn sydd yn codi oddiar yr un drwg o anghymedroldeb yn fwy." Fe gymerir cryn gysur weithiau wrth weled nad yw meddwdod eithafol mor amlwg yn awr ag y bu ymysg y rhai sydd yn y dosbarthiadau uchaf mewn cymdeithas. Mae y dyddiau wedi hen fynd heibio y sonia Syr George O. Trevelyan am danynt yn ei *Early History of Charles James Fox*, "Pan nad oedd gan Rigby, oedd yn *paymaster* i'r milwyr, ond un teilyngdod, ei fod yn yfed yn dêg. Defnyddiai efe frandi fel y defnyddiai y gweddill o'r byd ddiod fain. Yr oedd gan Lord Weymouth, ŵyr Lord Cartaret, fwy nag ymadferth ei daid ar gymeryd diod, a rhan weddol o'i alluoedd. Fe yfai yn barhaus hyd doriad y dydd, hyd yn oed pan yn Ysgrifennydd y Wladwriaeth. . . Byddai dau o gyfeillion Philip Francis, heb deimlo o gwbl eu bod yn gwneud dim byd eithriadol, yn gorffen rhyngddynt alwyn a hanner o champagne a burgundy." Dywedai Esgob Llanelwy yng Nghorwen, "Os darllennent lenyddiaeth dechreu y ganrif y gwelent nad oedd meddwdod yn y dosbarthiadau uchaf a phroffeswriaethol yn cael edrych arno fel gwaradwydd mawr iawn; ond yn awr yr edrychid arno gyda llawer mwy o gondemniad, a bod gwellhad tra mawr wedi cymeryd lle ymhob dosbarth." Mae yn ddiameu fod y teimlad o blaid sobrwydd a gododd ymhlith y werin, ac a faethwyd mor ddyfal gan "amddiffynwyr eithafol Dirwest" ag y mae ei Wir Barchedigaeth, fel lliaws o'i frodyr, yn edrych arnynt gyda chymaint o ddirmyg, wedi dwyn y fath oleuni ar y mater yma fel ag y teimla y mawrion, yn llên a lleyg, fod yn rhaid iddynt, rhag myned yn warth i'r holl wlad, fod dipyn yn fwy ar eu gwyliadwriaeth. Ond a ydym i feddwl fod pethau mor dda ag y dychmyga yr Esgob eu bod? Y mae yr arian a werrir yn y deyrnas am ddiodydd meddwol yn awr, yn tynnu at fod yn *ddwbl* yr hyn a werrid pan oedd Charles Buxton yn datgan fod y trueni a achosid trwy anghymedroldeb yn fwy nag a gynhyrchid trwy y tair fflangell fawr, y rhyfel, yr haint, a'r newyn. A gallwn fod yn berffaith sicr nad ydyw y cynnydd anferth y mae hynny yn olygu yn ein hymyfed, yn ffaelu â chynhyrchu y drygau sydd ymhob man a

phob amser yn anocheladwy yn dilyn yr ymwneud â'r ddiod feddwol. Os nad oes cymaint o dorri allan mewn meddwdod cyhoeddus, y mae y socio parhaus mewn ymyfed cyson,—ac a olygir, bid siwr, o fewn terfynau gweddeidd-dra,—yn anfesurol fwy, ac yn anocheladwy yn cynhyrchu ei effeithiau Mae y meddwi cyhoeddus, o angenrheidrwydd, yn fawr, pan, yn ol yr Arglwydd prif Farnwr Coleridge, y mae pedwar ar bymtheg o bob ugain o'r troseddau a ddygir o flaen ein brawdlysoedd yn codi oddiwrth y ddiod. Ac ni a gawn ein meddygon pennaf yn tystiolaethu yn groew fod yr ymyfed parhaus, trwy holl gylchoedd cymdeithas, yn dwyn gydag ef ganlyniadau llawer mwy andwyol na'r meddwi cyhoeddus achlysurol, ag y mae pawb yn gondemnio. Y mae pob lle i feddwl, heb son am gynnydd y boblogaeth fel yn cyfrif am gynnydd ymyfed, fod y swm a yfir gan y rhai sydd *yn* yfed, *yn gymaint arall* ag ydoedd hanner cant neu drigain mlynedd yn ol. Ac heb son am bob trueni arall a achosir trwy hynny, onid yw y cynnydd aruthrol yn y marwolaethau a achosir, y naill ffordd a'r llall, trwy ymyfed, a hynny nes codi y rhif bellach, ac ym marn y dynion mwyaf craff a galluog *i gant a hanner o filoedd bob blwyddyn*, yn dangos mor ofnadwy ydyw y felldith ag y mae y ddiod feddwol yn barhaus yn ei ddwyn arnom? Ac eto y gwyn fawr sydd gan y rhai sydd yn ei masnach,—ac o ran cyfoeth, lawer o honynt, yn werth eu miliynau,—ydyw ein bod, a hynny er diogelwch cymdeithas ac atal rhywfaint ar y dinystr a achosir trwy y meddwdod a'r gwallgofrwydd a gynhyrchir gan y ddiod a werthant, yn galw am fod *rhywfaint* o ofal yn cael ei gymeryd i weinyddu y cyfreithiau a basiwyd gennym fel teyrnas i'n hamddiffyn rhag trychineb mor fawr. Pan oedd tafarnwr o Golwyn dro yn ol yn cael ei brofi am werthu diod i ddyn oedd eisoes yn feddw, cydnabyddai ei wraig, Mrs. Bennett, fod y dyn wedi cael chwart o gwrw a chwart o borter, a phan ofynnai un o'r ynadon iddi, A oedd hi yn meddwl fod hynny yn ddigon?—ei hateb oedd, "Nid wyf fi yn meddwl ei fod yn ormod, onidê ni wn i sut y mae pobl i ddyfod ymlaen mewn tafarn." Ië! Beth bynnag a amcano y ddeddfwriaeth ato fel amddiffyn rhag peryglon y fasnach, pwnc y rhai sydd ynddi, chwedl y *Times*, ydyw gwerthu digon o'u trwyth, a gwneud elw, doed a ddêl o'r "ffyliaid"—chwedl y tafarnwr y soniai Arthur Jones am dano—sydd mor hael ar luchio eu harian iddynt. Ac y mae fod pobl yn elwa mor ddifesur ar ddarostyngiad a dinystr eu cyd-ddynion, yn sicr, yn beth ag y dylid goddef i'r bobl eu hunain, o apelio atynt pan "yn sobr," os byddant yn dewis felly, osod terfyn arno. Ac yn neillduol os soniwn am wneud y deddfau y mae a fynnont a'r fasnach sydd mor lïosog, ac o hyd yn profi mor aneffeithiol, yn dipyn cryfach, fe godir crochlef arswydus yn ein herbyn, ac fe ymuna y nerthoedd mawrion yn fyddin anorchfygol; a'r oll i'r diben o amddiffyn eu hawl i gario eu masnach ymlaen fel y mynnont, ac felly i wneud y felldith a'r dinystr a achosa yn fwy fyth.

Dyma y sefyllfa. Y mae gennym ddiodydd na fyn natur eu harddel ac y mae yn protestio yn eu herbyn, ac na all fod i Awdwr natur na rhan na chyfran yn eu gwneuthuriad; diodydd sydd a'u neillduolrwydd yn yr alcohol a gynhwysant; ac y mae yr alcohol hwnnw yn wenwyn, *toxicon*, ac am hynny y maent hwythau yn wenwynnig, *intoxicating*, ac wedi i ddyn

trwy wneud trais ar ei natur gymeryd y gwenwyn, y mae yn creu hoffder o hono, ac yn peri i'r hoffder hwnnw gynneu yn fflam aniffoddadwy o chwant, yr hwn "a lysg hyd uffern isod." A dyma wneuthur a gweithio y diodydd sydd yn cynnwys y gwenwyn hwnnw—"y peth mwyaf dinystriol," chwedl Syr William Gull, "ag y gwyddom am dano yn y wlad hon,"—wedi dyfod yr alwedigaeth a'r fasnach gyfoethocaf yn yr holl deyrnas,—*The Trade*, *Y Fasnach*, mewn cymhariaeth i ba un na dybir fod dim arall yn werth ei enwi! A phan ydym, ac mewn dychryn wrth weled y melldithion mawrion a lliosog a ddwg ar ein gwlad, yn amlygu ein dymuniad am gael ychydig ataliad ar ei gallu ofnadwy i ddinystrio, dyma a gawn,—Y bobl sydd ynddi yn codi eu baner i fyny i ddatgan, OUR TRADE IS OUR POLITICS, ac yn crynhoi eu holl ddirfawr nerth i'r ymdrech o fynnu iddi ei llawn rwysg, yn gwbl ddibris o'r holl drueni a'r dinystr y mae ymhob ffordd yn achosi, ac heb falio am ddim ond yr elw—yr elw ysblennydd—y mae yn ddwyn iddynt hwy. Dyma y trueni ag y mae awdwyr y llyfr hwn yn ceisio ei wynebu.

## II.

A pheth yw yr Ymwared sydd ganddynt i'w gynnyg yng ngwyneb y fath ddrwg a'r fath berygl?

Wrth reswm yr ydym oll yn deall, o beidio yfed y ddiod sydd yn meddwi, y byddai meddwdod i ni, ar unwaith ac am byth yn amhosibl. Ac y mae yn hyfryd meddwl gynifer, dros y byd i gyd, sydd wedi cael y synwyr i ymaflyd yn yr ymwared hwn; ïe, fod miliynau o honom wedi ein geni a'n magu yn y diogelwch yma, ac nad all holl hudoliaeth y ddiod, sydd i lawer o'r fath anorchfygol nerth, feddu mwy o allu arnom na phe byddai yn un o'r sêr sefydlog. Nid rhyfedd fod cynifer wedi ymroddi gyda'r fath sêl a ffyddlondeb i bregethu llwyr-ymwrthodiad, ac wedi ennill cymaint o gariad a pharch oddiar law y rhai y buont yn foddion i'w gwaredu. Cynheued Duw y tân hwn mewn miloedd o galonnau o'r newydd, gan eu gwneud yn fwyfwy o nerth i "wared y rhai a lusgir i angeu." Ond nid oes ond ychydig iawn o le yn cael ei roddi i hyn yn y llyfr yma. Yn wir y mae yn ddiffyg hanfodol ynddo fod y ddiod yn cael edrych arni fel peth na allwn ddisgwyl i ddynolryw geisio byw hebddi, tra y mae profiad y byd a goleuni y wyddoniaeth uchaf yn dangos yn fwyfwy amlwg y gallwn, hebddi, wneud yn anfesurol well. Y diogelwch a'r daioni pennaf, gyda golwg ar y ddiod, ydyw llwyrymwrthod â hi. Ond y mae yn dra angenrheidiol meddwl am bethau ereill; ac yn neillduol y mae eisieu cyfyngu mewn rhyw ffordd neu gilydd ar y fasnach, yr hyn na ellid wneud ond trwy fesurau deddfwriaethol; ac y mae yn dra angenrheidiol meddwl am amddiffyn ac ymgeledd i'r rhai sydd trwy eu hymwneud â'r ddiod wedi eu darostwng i'r fath iselder, ac o hyd yn agored i'r fath berygl. Dyma yr amcanion y mae y llyfr hwn wedi ei ysgrifennu er eu mwyn. A'i ddau bwynt mawr ydyw dangos, yn gyntaf, Na wna Ataliad ar y fasnach y tro; ac, yn ail, Mai yr hyn a wna y tro ydyw rhoddi Terfyn arni yn ei ffurf bresennol, a'i chario ymlaen gan Gyrff Llywodraethol ein trefi a'n hardaloedd, neu gan

Gwmnïau fo'n gyfrifol i'n Cyrff Llywodraethol; a hynny, wrth reswm, mewn ffordd a ochelo bob afreolaeth, gan ddefnyddio yr holl gyllid a enillid er estyn difyrrwch i'r bobl, a cheisio eu dyrchafu.

Y mae yr awdwyr yn dra gwrthwynebol i Ataliad. Ni fynnwn eu cyhuddo o anhegwch; ond y mae y gwrthwynebiad a ddanghosant i Ataliad, ymhob ffordd, yn ymddangos fel pe wedi eu meddiannu. Ni allant weled bron ddim o blaid hynny, tra y gwelant bethau yn ei erbyn mewn mannau na welai ereill ddim o'r fath; ïe, lle y gwelent brofion pur amlwg o'i blaid, ac y gwelant werin fawr a goleuedig, wedi blynyddoedd o brofiad arno, yn dangos yn y modd mwyaf penderfynol na fynnant gael eu hamddifadu o hono. Mae yn wybyddus fod cyfeillion cryfaf sobrwydd yn y wlad hon yn teimlo yn ddwfn y dylai y bobl gael llais yn llywodraethiad masnach ag sydd yn profi iddynt yn gymaint perygl, a hynny i'r fath raddau, pan fo y mwyafrif yn y dref neu y rhanbarth yn ddwy ran o dair o'u nifer, fel ag i roddi iddynt allu i'w hatal yn gwbl. Ond y mae y bobl barchus a rhesymol sydd yn talu y fath warogaeth i fasnach gyfoethog ac i arferion cymdeithasol a anrhydeddir yn gymaint, yn edrych ar rai sydd yn meddwl ac yn teimlo felly fel "pobl eithafol," ac yn ystyried mai y peth doeth ydyw edrych arnynt gyda diystyrwch, a chyfyngu eu hunain gyda phob pwyll at yr hyn sydd "ymarferol" a "phosibl." A chan mai o'r America y caed y syniad yma o Ataliad, fel y caed hefyd ar y dechreu y syniadau o Gymedroldeb a Dirwest, y mae yn hoff waith gan y bobl barchus y cyfeiriasom atynt geisio dangos *nad* yw Ataliad yn America yn atal, ond fod pob ymgais at hynny wedi gyrru pethau gymaint yn waeth fel mai ein doethineb ni yma ydyw ymgroesi rhag meddwl o gwbl am y fath beth ag Ataliad. Mae yn ymddangos yn bur amlwg mai dyma ar olwg a gymerrir gan awdwyr y llyfr hwn. Rhoddant ar hyn bennod faith o gant a haner o du-dalennau, ymha un y maent yn lladd y lladdedigion lawer gwaith drosodd mewn ffordd o ddangos yr ynfydrwydd o feddwl am atal y fasnach yn y diodydd hyn. Dywedant eu bod yn amcanu trin y mater yn ddi-duedd; hefyd, fod y wybodaeth sydd o fewn eu cyrraedd, tra yn helaeth iawn, eto yn dra chymysglyd; ar yr un pryd ni welant ond un ochr i bethau, ac o'r cymysg mawr sydd, ar y wyneb, mor annilys, y maent yn pentyrru pethau a osodir ger bron fel profion sicr, nid yn unig nad yw Ataliad yn gwneud dim lles, ond ei fod yn cynhyrchu pob drwg. Danghosant nad ydyw Ataliad yn atal, ond bod yr yfed yn fwy; ac fod cynifer o droseddwyr yn Nhalaethau Ataliol America, a mwy o dlodion a gwallgofiaid a meddwon, mewn cymhariaeth i'r boblogaeth, nag yn y Talaethau An-ataliol, ac felly fod Ataliad yn fethiant diamheuol. Fe gydnabyddir drachefn a thrachefn fod ystadegau y Talaethau, o ran y dull y maent yn cael eu cymeryd, a'r dirfawr diofalwch a ddanghosir gyda hwynt, i ni yn gwbl ddi-werth; eto fe rygnir arnynt yn ddiddiwedd yr un dôn farw i ddangos gymaint gwaeth yw pethau lle y mae Ataliad nag yn y mannau lle nad ydyw. Y mae y ffynhonnell o ba un y cymerrir hwynt, yr un modd, yn hollol wrthwynebol i Ataliad,—Adroddiad y *Canadian Commission*, a ymddanghosodd yn 1895. Fe apwyntiwyd y Ddirprwyaeth honno gan Lywodraeth oedd yn wrthwynebol; a'r cwestiwn a roisid i'w benderfynu oedd, nid Ataliad trwy Ddewisiad Lleol, yr hyn oedd *eisoes* yn agored

i'r holl wlad, ond Gwaharddiad i'r oll o Ganada trwy ddeddf Seneddol. Yr oedd pedwar o'r pump oedd ar y *Commission* yn elyniaethus i hynny. Ac nid oedd eu hadroddiad ond a ddisgwylid. Eto o hwnnw y tynnir yn y fath helaethrwydd y profion a osodir ger bron yma yn erbyn Ataliad. Danghosodd Mr. Whittaker yn berffaith glir: "1. Fod ystadegau cymdeithasol y gwahanol Dalaethau yn gwahaniaethu yn gymaint ac mor ryfeddol—o herwydd eu gwahanol amodau a'u dulliau—fel ag i'w gwneud, i amcanion cymhariaethol, yn ddi-werth. 2. Fod yr amrywiaethau o'r fath natur fel ag i'w wneud yn rhyfeddol o hawdd i unrhyw un wneud detholiadau o honynt, y rhai, i'r anhyfforddd, a ymddanghosent yn rhesymau terfynol o blaid neu yn erbyn bron unrhyw beth gyda golwg ar fasnach y ddiod. 3. Pe buasai ystadegau Americanaidd mor ddefnyddiol ag y cydnebydd pob awdurdodau cymwys eu bod yn ddi-werth i amcanion cymhariaethol, o'u defnyddio i ddangos gwerth ac effaith gwahanol ddulliau o ddelio â masnach y ddiod yn y gwahanol dalaethau a dinasoedd, y byddai yn gwbl ofer a chamarweiniol i edrych ar Waharddiad Talaethol mewn rhai o drefi America fel yn dangos o gwbl beth a gymerai le yma dan Ddewisiad Lleol." Mae y profion a roddir o wirionedd y gosodiadau hyn yn derfynol a diamheuol. Un engraifft: Danghosir fod y cymeryd i fyny am feddwdod yn 1883—93, mewn naw dinas berthynol i Dalaethau Ataliol, yn 21·53 y fil; ond yn Llundain ddim ond 5·09 y fil. Er mwyn i hyn fod o unrhyw werth, dylesid gallu dangos fod y cymeryd i fyny yn y Talaethau ac yn Llundain am yr *un mesur* o feddwdod. Fe atebasai ryw ddiben i gymharu y dinasoedd hynny â dinas fel Boston yn America, lle y gallesid meddwl fod y cymeryd i fyny yn gyffelyb; ond pe gwnelsid hynny fe gawsid, tra nad oedd y cymeryd i fyny yn y dinasoedd Ataliol ond 21·53 y fil, ei fod yn Boston, lle nad oedd Ataliad, yn 61·83 y fil; neu yn fwy o yn agos i dair gwaith. Ac os gwneid cymhariaeth rhwng y dinasoedd hyn a Llundain, pam na wnelsid yr un gymhariaeth â threfi Scandinavia, lle, tra yn y naw dinas yn America yr oedd y cymeryd i fyny yn 21·53 y fil, y ceid ei fod mewn tair o drefi Scandinavia yn 41 y fil. Os yw cymhariaeth o'r fath o unrhyw werth, fe ddanghosai fod Ataliad, ïe i'r lle yr haerir ei fod yn fethiant, yn welliant mawr iawn ar drefn Gothenburg, lle y mynnir ei bod wedi bod yn gymaint llwyddiant. Ond tra yn addef eu hunain fod yr ystadegau hyn mor ddi-werth i amcanion cymharu, y mae yn dra anffodus eu bod drachefn a thrachefn yn cael eu defnyddio gan yr awdwyr, a hynny i ddangos dim ond un ochr, sef methiant Ataliad, pan y buasai yn dra hawdd tynnu o honynt bethau llawer cryfach i ddangos ei lwyddiant. Fe gâ Mr. Whittaker fod profiad America yn hyn o beth o werth tra mawr fel arweiniad i ni, a dengys ei fod i'w gael, "Nid mewn cymharu a chywrain gyfleu ystadegau, y rhai y cydnabyddir eu bod yn ddi-werth i amcanion cymharu, ond mewn cymeryd golwg ehangach, a chael allan pa benderfyniad ymarferol y mae pobl America eu hunain wedi dyfod iddo ar ol y profiad a gawsant. Pan wneir hynny, fe geir mai y ffaith fawr sydd yn sefyll allan yn amlwg iawn yw, fod Dewisiad Lleol yn raddol wedi ymledu bron dros yr holl Undeb, a'i fod yn awr ers llawer o flynyddoedd wedi cael dyfal lynu wrtho gan y Talaethau sydd wedi ei

fabwysiadu. Allan o 46 o Dalaethau, y mae 5 yn Dalaethau Gwaharddol; 37 o dan Ddewisiad Lleol (yn cynnwys y gallu i wahardd) mewn rhyw ffurf neu gilydd; ac nad oes ond 4 dan ddeddf drwyddedol nad yw yn rhoddi gallu i wahardd. Am y canlyniadau, rhaid i ni gymeryd yn ganiataol fod pobl America yn meddu y gyfran arferol o synwyr cyffredin. Mae yr awgrymiad, fod Talaeth ar ol Talaeth, ar ol llawer o arbrofion dros yr holl Undeb, wedi pasio yn ddeddf, ac ar ol gwneud hynny wedi dal yn benderfynol ati, er ei bod yn ddeddf a droseddir yn fwy rhydd, ac sydd ymhob ffordd yn llai effeithiol a boddhaol nag y bu neu y mae unrhyw ddeddfau ereill mewn perthynas i'r ddiod,—y mae y fath beth, mae yn amlwg, yn ddi-reswm."

Mae yr holl bennod y cyfeiriwn ati yn delio â Gwaharddiad, *Prohibiticn.* Ond nid oes *neb* yn y wlad hon yn dadleu dros Waharddiad o gwbl, ond dros Ddewisiad Lleol. Mae llawer iawn o bobl America yn dra di-ddeddf; a lle y pesir Gwaharddiad gan eu Seneddau, nid ydyw yn rhyfedd fod lliaws o'r bobl yn dra gwrthwynebol i hynny, ac er popeth yn mynnu y ddiod. Ac y mae gymaint yn haws iddynt wneud felly yno am fod gweinyddiad eu cyfreithiau lawer yn fwy llac nag ydyw yn y wlad hon. Ond lle y maent yn cario *Dewisiad Lleol,* er gyda dim ond *mwyafrif* o'r pleidleisiau, fe ellir disgwyl yn rhesymol fod y bobl yn llawer parotach i gydymffurfio â threfniant ag y maent hwy eu hunain wedi cymeryd rhan mor flaenllaw yn ei ddygiad oddiamgylch. Nid ydym er hynny i synnu os ydyw dynion barus, a dynion sydd â'u hanian yn erbyn pob rheol a threfn, yn mynnu y ddiod er gwaethaf y Dewisiad Lleol. Ond er hynny, ni a gawn gyflawnder o'r profion cryfaf mai eithriadau yw yr achosion hynny, ac fod Ataliad yn America yn atal yn y fath fodd fel y mae llwyddiant a dedwyddwch y mannau sydd dan drefniad o'r fath yn anfesurol fwy nag y byddent hebddynt. Yn y wlad hon, sut bynnag, fel na feddylir ond am *Ddewisiad Lleol,* nac am hynny ond trwy fwyafrif o *ddwy ran o dair,* fe ellid disgwyl yn sicr y byddai i'r bobl, wedi cario i weithrediad drefniad o'r fath gyda phleidlais mor gref, gydymffurfio â hynny yn ffyddlon a pharod. Nid ydym i anghofio ychwaith y golygir fod ein deddfau ni i'w *cario allan,* ac fod y gofal a gymerir am eu bod yn cael eu gweinyddu yn briodol yn cynhyddu yn barhaus. A phe byddai i rai fynnu yfed er pasio ataliad trwy Ddewisiad Lleol mewn ardal,—fel y dywedir "Na wnaed deddf erioed ym Mhrydain nad âi darw rhuthrog trwyddi,"—wel, ni raid wrth nemawr ddoethineb i weled y byddai pethau, hyd yn oed felly, yn anfesurol well nag y maent yn awr. Ac yr wyf fi yn berffaith foddlawn i adael y mater yma o gario allan a chydymffurfio â Dewisiad Lleol, wedi i hynny gael ei wneud yn ddeddf, i farn boneddigion y Fasnach eu hunain, y rhai, yn sicr, sydd yn adnabod eu pobl yn well na neb arall. Ac fe ŵyr pawb am y grochlef arswydus y maent hwy yn godi yn ein hetholiadau ymhob man, os gwelant fod neb yn son am Ddewisiad Lleol. Maent hwy yn teimlo mor sicr am y defnydd a wnelai y bobl o honi fel y dolefant am y trychineb a ddeuai ar wragedd a phlant y rhai y mae a fynnant â'r fasnach, ac y proffwydant gyda mawr ddyhewyd a hyawdledd am y trueni a ddeuai ar y wlad pan ysbeilid y gŵr tlawd o'i gwrw. Beth bynnag a geisia awdwyr y llyfr hwn daeru am fethiant Ataliad, a beth

bynnag a ddadleua llawer o'r bobl ddeallus a rhesymol mewn ffordd o sicrhau na wneid byth unrhyw ddefnydd o Ddewisiad Lleol pe byddai iddo gael ei basio yn ddeddf, y mae y *dychryn* a deimla pobl y ddiod wrth feddwl am y fath beth, i mi y prawf goreu o'i werth, fel y mae hefyd yn sicrwydd diamheuol na adewid ef gan y bobl, wedi ei basio, yn llythyren farw.

Ond wedi dangos gwrthwynebiad penderfynol i Ataliad, yr Ymwared mawr a bregetha y boneddigion hyn, ac yn yr hwn yr ymddengys eu bod yn teimlo llawn ymddiried, ydyw Rhoddi terfyn ar y Fasnach yn ei ffurf bresennol, a'i Chario Ymlaen gan Gyrff Llywodraethol Lleol, neu Gwmnïau fo'n gyfrifol i'r cyfryw Gyrff; gan ddefnyddio ei henillion i ddarpar difyrwch, neu i geisio dwyn oddiamgylch ddyrchafiad y werin. Golygant fod cael y ddiod i'r bobl yn anhepgorol, ac na ellid, yn neillduol yn y trefi a'r ardaloedd poblog, ddim meddwl am wneud hebddi. Wedi y dynoethiad a wnaed ar eu casgliadau oddiwrth ffigyrau Dirprwyaeth Canada yn y bennod ar Waharddiad, tröent o'r naill du, gan roddi dirfawr bwys ar y crybwyllion a wnaethent i ddangos mor ddi-werth oedd y cyfryw ystadegau, er eu bod wedi cymeryd *cymaint* o drafferth i brofi oddiwrthynt *mor ddiamheuol* oedd methiant Ataliad Yna, fel pe *na* buasai holl seiliau ymresymiad eu pennod fawr i ddibynnu arnynt o gwbl, gwahoddent sylw at dystiolaethau a roddasid o flaen y Ddirprwyaeth honno, a ddanghosent mor bell oedd Ataliad yn y Talaethau o ateb y diben. Hawdd iawn oedd gwneud hynny. Fe ŵyr pawb fod digon o bobl i'w cael ag y byddai yn hyfrydwch o'r mwyaf ganddynt ddangos a cheisio profi nad yw Ataliad wedi profi yn ddim ond methiant; a hawdd iawn, yr un ffunud, oedd codi geiriau rhai oeddent wedi ymdrechu fwyaf dros hynny, ond wrth weled yr annhrefn a'r aflywodraeth a ffynnent, yn cwyno yn dost, ac yn defnyddio ymadroddion cryfion. Y mae gelynion yr Efengyl ei hun yn hyawdl ar ei chondemnio; ac yn wir ei chyfeillion pennaf yw y rhai sydd yn achwyn fwyaf oblegid pechodau y rhai ag y mae yn barhaus yn cael ei phregethu iddynt. Ond a ydyw hynny i'w gymeryd am darawiad amrant fel prawf o *fethiant* yr Efengyl, a'i bod yn llawn bryd ymofyn am ryw iachawdwriaeth arall? Yr un modd, nid ydyw yr oll a ddywed gelynion Ataliad neu a gydnebydd ei gyfeillion am ei fethiant, o ddim pwys i ni pan welwn y fath gyflawnder o brofion o'i lwyddiant, a phan welwn yn neillduol yr oll o America,—*oddieithr pedair Talaeth,*—wedi prawf blynyddoedd lawer, naill ai yn y ffurf o Ataliad neu Ddewisiad Lleol, yn ei gymeryd i fyny ac yn ei weithio allan. Ond er popeth, fe deimla y gwŷr da hyn nad oes yr un ymwared yn bosibl ond yr un a gyhoeddant hwy; ac anhawdd ydyw iddynt beidio ei gymeryd yn brawf o ddirfawr gulni fod neb yn petruso am funud i syrthio i mewn â'u cynllun, a gwneud a allont i'w gario i weithrediad.

Yn sicr yr ydym mewn dirfawr bellter oddiwrth edrych yn oer ar unrhyw amcan gonest er ceisio atal y trueni a achosir gan y ddiod feddwol. Ac y mae llawer yn y cynllun a osodir yma ger bron nad allwn lai na'i gymeradwyo. Gosodir pwys mawr ar gael rhyw ddaioni pendant—*constructive*—i'r bobl, yn gystal a cheisio eu cael i ymwrthod â'r hyn sydd yn eu niweidio. Nid oes ond eisieu crybwyll y dirfawr

dlodi sydd yn ffynnu; yr anghyfleustra a'r perygl a brofir o fod cynifer o deuluoedd yn gorlanw aneddau bychain; goramledd y boblogaeth mewn llawer o rannau o'n trefi mawrion, ynghyd a'r anferth gynnydd sydd wedi bod ar boblogaeth llawer o honynt; y diffyg galwad am lafur, a'r teleran celyd ar ba rai yn fynych y câ pobl ddim byd i'w wneud; y diffyg mawr am leoedd y gall y werin droi iddynt er ychydig o adloniant a hoender; yr afiechydon a'r marwolaethau anamserol sydd i'w cael yn y fath helaethrwydd,—nid all neb edrych ar y pethau hyn heb wynfydu na ellid gwneud rhywbeth er eu symud ymaith, ac estyn i gynifer o'u cyd-ddynion sydd yn y fath iselder ychydig heulwen a daioni. Fe wneir llawer gan bersonau haelfrydig a chan gymdeithasau da; ond fe geir fod pob cymorth o'r fath yn gwbl annigonol i gyfarfod â'r drwg. Beth pe gellid disgyn ar ryw gynllun a atebai ar unwaith y ddau ddiben mawr o ddiogelu y bobl rhag anghymedroldeb, a sicrhau cyflawnder o gyllid a threfniadaeth effeithiol i'w ddefnyddio, er lleddfu i fesur helaeth y trueni a ddioddefir oddiwrth y drygau a grybwyllwyd, a'u cyffelyb? Ac wele, εὕρηκα, y mae wedi ei gael! Cwyn fawr Esgob Caer ydyw, "fod y cynhygion cyffredin i ddwyn oddiamgylch ddiwygiad yn ffordd sobrwydd yn ffaelu ar yr ochr gadarnhaol. Eu hamcan ydyw cyfyngu ar, neu hyd yn oed atal, gwerthiant diodydd alcoholaidd. Nid ydynt yn golygu darparu o'r ochr arall y fath dai o gysur ag a allo yn ddiogel gyfarfod, ac wrth gyfarfod diwyllio a choethi anghenion a chwaeth y bobl." A dyma y waredigaeth:—Wedi ysbaid, dyweder o bum mlynedd, fod terfyn ar roddiad trwyddedau i bersonau neillduol, a bod y Corff Llywodraethol Lleol, neu Gwmni a fo'n gyfrifol iddo,—gan leihau y tafarnau i un ar gyfer pob 600 yn y wlad, ac un ar gyfer pob 1000 yn y trefi,—yn eu cario ymlaen; ond gan drefnu na bo dim elw oddiwrth a werthir yn dyfod i'r rhai sy'n gofalu am danynt; a'u bod i weled fod pob trefn yn cael ei chadw; na bo unrhyw gefnogaeth yn cael ei rhoddi i yfed er mwyn yfed; ac wrth reswm na bo meddwdod o gwbl yn cael ei ganiatau; hefyd na bo ddim difyrwch neu adloniant yn cael eu goddef, fel y trefnai Esgob Caer yn ei gynllun ef, ynglŷn â'r un o'r tai lle y gwerthir diod feddwl

Ac fe ellid trefnu yn helaeth at hyn oll. Gwelir fod y swm a wariwyd am ddiodydd meddwol y flwyddyn ddiweddaf yn £154,480,934. Yr oedd £16,454,981 o'r swm yna yn cael ei dalu am win, a chan nad oes ond ychydig win yn cael ei werthu yn y tafarnau, tynnir y swm hwnnw allan, a cheir wedyn yn aros £138,025,958. Golygir fod dwy ran o dair o'r swm yna, neu £92,000,000 wedi eu gwario yn y tafarnau. O hynny, fe ellid meddwl, ar y lleiaf, fod yr ennill clir yn 20 y cant. Byddai yr ennill felly yn £18,400,000 ar gwrw a gwirodydd, heb son am win a diodydd anfeddwol. A thybied ymhellach fod gostyngiad nifer y tafarnau i un am bob 600 yn y wlad ac un am bob 1000 yn y trefi yn lleihad ar y fasnach o *un ran o dair*, fe fyddai yr enillion oddiwrthynt yn dyfod i £12,266,666, neu chwe swllt y pen o'r holl boblogaeth. Ac fe fyddai y swm mawr yna at wasanaeth yr ardaloedd, ac i'w wario, nid mewn elusennau, neu i arbed y trethi, ond er difyrru a dyrchafu y bobl. A golygir ei fod i gael ei wario nid yn ol y swm a enillir yn y gwahanol fannau, ond mewn cyfartaledd i nifer y boblogaeth,—dyweder £1000 ar

gyfer pob 10,000 o'r boblogaeth. Deuai felly yn rhoddiad blynyddol, dyweder i Gaerdydd, o £13,000; i Bradford, £21,500; i Middlesborough o £7,500; i Preston, o £11,000; i Coventry, o £5,000; i Plymouth, o £8,000; i West Ham, o £20,000; ac i'r trefi mawrion yn llawer mwy: i Leeds, £36,000; i Birmingham, £48,000; i Manchester, £50,500; i Liverpool £52,000; ac i Lundain, *hanner miliwn o bunnau* bob blwyddyn. Golygir i'r arian yma fod er budd rhanbarthau y dewisid eu gosod dan Ataliad, yn gystal â'r rhai lle y cerrid y fasnach ymlaen dan y Corff Llywodraethol. Ac a thybied fod y drydedd ran o boblogaeth y deyrnas yn eu gosod eu hunain dan ataliad, yr hyn a olygid yn llawer, a bod y ddwy ran o dair ereill yn dewis y Drefn Lywodraethol ar y fasnach, fe adewid, er hynny, enillion o £8,177,777. Gallai hynny fforddio rhoddiadau at Balasau y Bobl, &c., mewn mannau lle y cerrid y fasnach ymlaen dan y *Controlling System*, dyweder o £2,667,000; a rhoddiadau at amcanion cyffelyb yn y rhanbarthau Ataliol, o £1,333,000; heblaw cyllid at amcanion y Llywodraeth o £4,000,000. Y fath ddirfawr ddaioni a ddelai o hyn oll i'r bobl mewn difyrion, mewn arddangosiadau celfyddol, mewn darlithiau a moddion addysgol, mewn clybiau a budd-gymdeithasau, mewn chwareufâu, mewn tai dirwestol, *cafes*, &c., a phob moddion arall a allo beri mwynhad a daioni i'r bobl! Yn wyneb hyn oll, onid y peth iawn i ymofyn am dano yw cael y gallu llywodraethol, y *controlling system* yma i'n hardaloedd, a dwyn i'r holl wlad y mawr ddaioni a osodir fel yma mor ddeniadol o'n blaen?

Dyma y drefn fawr y dadleuir mor gryf o'i phlaid. Ond wedi'r cwbl, y mae llawer o achos i ymbwyllo ac ystyried. Am y Fasnach yn y diodydd meddwol, y mae yn berffaith amlwg fod yn llawn bryd rhoddi ataliad effeithiol arni. Y mae fod dynion yn cael eu rhwysg i wneud eu miliynau, nid trwy roddi gwerth am werth mewn ffordd o fasnach, ond trwy gael trwydded gan y Llywodraeth i werthu am grocbris ddiodydd sydd yn darostwng y wlad i dlodi a dwfn drueni, a hynny heb i'r peth gostio iddynt ond y nesaf peth i ddim, tra y mae pob diwydrwydd a masnach arall yn gorfod talu trethi sydd mewn cymhariaeth i'w henillion yn dra thrymion, y mae hyn yn beth a welir gan bawb mor ddireswm fel na ellir ei oddef yn hwy. Am roddi ad-daliad wrth gyfyngu ar ei hanferth rwysg, y mae hynny allan o'r cwestiwn. Mae yn debyg y rhaid nodi nifer o flynyddoedd er cyfleustra i bobl y fasnach gyfarfod â'r dyfodol. Mae Arglwydd Peel a'i Leiafrif yn Adroddiad Dirprwyaeth Trwyddedu, yn nodi saith mlynedd. Mwy cyfiawn oedd y pum mlynedd a nodid ym mesur Syr William Harcourt. Ond pa un bynnag, yn y cyfamser fe ddylid cyfyngu ar rwysg y fasnach trwy weinyddiad llawer mwy ffyddlon o'r deddfau trwyddedol, a thrwy ymarfer llawer llawnach gan yr ynadon o'r rhyddid a'r farn a ymddiriedir iddynt er sicrhau fod y lle dyledus yn cael ei roddi yn ei llywodraethiad *i les a daioni y bobl*, er mwyn yr hyn y golygir eu bod yn hanfodi. Ond ar derfyn yr amser fo wedi ei benodi, mae yn amheus iawn gennyf fi ai doeth fyddai ceisio ei chario ymlaen gan Gyrff Llywodraethol, neu Gwmnïau o dan y cyfryw Gyrff. Golyga yr awdwyr hyn y byddai yn hawdd cael gan bobl barchus a charedigion sobrwydd yn ein hardaloedd ymgymeryd â gofalu am y fasnach hon, fel y maent yn awr yn cymeryd eu lle ar Fyrddau Ysgol, &c. Mae hynny yn dra amheus. Mae llawer

iawn o'n cydwladwyr yng Nghymru, er heb fod wedi cael nemawr o addysg eu hunain, wedi gwneud gwasanaeth o amhrisiadwy werth trwy eu hymdrechion canmoladwy fel aelodau o Fyrddau Ysgol i sicrhau yr addysg oreu i'n plant; ond mae yn sicr na allent feddwl am darawiad amrant am yr hyn yr edrychent arno bron yr un peth a gwneud eu hunain yn dafarnwyr, er boddio blys pobl am y ddiod feddwol. Tra y mae Gair yr Arglwydd, "yr hwn sydd yn aros yn dragywydd," yn dweyd, "Nac edrych ar y gwin pan fyddo coch, pan ymddanghoso ei liw yn y cwpan, pan ymgynhyrfo yn iawn, canys yn y diwedd efe a frath fel y sarff, ac a biga fel neidr;" a thra y mae profiad yr oesoedd yn dangos y fath gyflafan ofnadwy y mae yr ymwneud â'r ddiod wedi ei achosi, ac nad oes diogelwch yn bosibl, chwedl Archesgob Canterbury, ond mewn llwyrymwrthod â hi,—ni fyddai ond tua'r un peth meddwl am gael y cyfeillion y cyfeirir atynt i roddi eu hamser a'u hymadferth i geisio gan y bobl i yfed o fewn terfynau, ag a fyddai eu cael i geisio eu perswadio i gamblo o fewn terfynau, neu i odinebu o fewn terfynau. Ac nid ydyw o gwbl i'w anghofio, er yr holl siarad sydd yn ein cyrraedd weithiau oddiwrth foneddigion sydd "yn y cymylau," mai gan bobl o'r fath y gwnaed bron yr oll *a* wnaed, er diogelu eu cydwladwyr rhag peryglon y ddiod feddwol. A chyda y rhai a geid, ïe dan y drefn oreu, i ofalu am dai y ddiod, fe fyddai yn beth *na chaed* eto yn un man fod y fasnach yn eu dwylaw yn cael ei chario ymlaen yn ol y cynllun uchel a osodir o'n blaen yma. Hyd yn oed am Gothenburg, lle y canmolir fod pethau mor foddhaol, darllennwn, ac nid gan neb o'r bobl "eithafol," ond gan ohebydd neillduol i'r *Times*, yr hwn, yn 1894, a wnaeth ymchwiliad i weithiad ei threfn:—"Mae y Prif Gwnstabl wedi bod yn ei le fel y cyntaf neu yr ail mewn awdurdod am 26 o flynyddoedd, ac am hynny fe ŵyr yn fanwl y dull y gweithredai yr heddgeidwaid am bron yr oll o'r amser yna. Siorha fi ei fod bob amser wedi bod ar yr un egwyddorion. . . Mae y gyfraith am gymeryd i fyny wedi bod yr un o'r dechreuad, ac y mae wedi ei chario allan yn yr un ysbryd, gan yr un dynion. Nid oes dim 'tro ar y sgriw' wedi bod y naill ffordd na'r llall, ac mewn canlyniad rhydd y cyfrifon i ni olwg y gellir ymddiried ynddi ar swm y meddwdod o flwyddyn i flwyddyn." A chan gymharu Gothenburg a Chaerdydd, a chyfeirio at y dirfawr wahaniaeth yn y condemniadau am feddwdod yn y ddau le,—31 y fil yn Gothenburg, a 5 y fil yng Nghaerdydd!—ychwanegai gohebydd y *Times*: "Pe buasai y gwahaniaeth yn nifer y condemniadau yn llai, fe allesid ei esbonio ymaith trwy wahaniaeth posibl yn y dull o weithredu; ond y mae yn ormod i hynny, ac yn fy marn i nid oes ond ychydig iawn o wahaniaeth yn y dull o weithredu. . . Yr wyf yn gwybod yn dda am Gaerdydd, ac yr yr wyf wedi cadw fy llygaid yn llydain yn agored gyda golwg ar y pwynt yma yn Gothenburg, a'r casgliad y gorfodwyd fi i ddyfod iddo ydyw fod pobl Sweden yn gweithredu i fesur mawr ar yr un egwyddorion ag y gwna heddgeidwaid trefnus yn ein gwlad ni ein hunain, a danghosa y cyfrifon yn deg faint cymharol meddwdod yn y ddau le. . . Ar y cyfan yr wyf yn argyhoeddedig pe byddai heddgeidwaid y naill le a'r llall wedi newid eu mannau, na fyddai fawr o newidiad ym mhapurau eu cyfrifon." Ac eto, y condemniadau am feddwdod yn Gothenburg yn 31 y fil, ac yng Nghaerdydd—er cymaint a gon-

demnir ar Gaerdydd—yn ddim ond 5 y fil! Po barchusaf yn wir a fyddo y tai, mwyaf esgusodol y teimlai dynion eu bod wrth fyned iddynt; ac wedi ymarfer ynddynt â'r ddiod, a dyfod i'w hoffi, fe fyddai eu dinystr yr un mor sicr a than y drefn bresennol. Ac mor gref o blaid myned i'r cyfryw dai fyddai y ddadl fod y fath freintiau mawrion yn dyfod oddiwrthynt i'r holl boblogaeth! Y mae y cwestiwn hefyd yn codi, gyda pha foddlonrwydd y gellid edrych ar yr holl bethau dymunol hynny, a chofio eu bod yn werth cymaint o *waed?* Am bob manteision cysylltiedig â thai y cwmïau yn Sweden a Norway,—megis lleihad eu nifer, cwtogiad eu horiau, eu cau ar Suliau a gwyliau, eu cau cynharach ar brydnawn Sadwrn a phrydnawnau o flaen gwyliau,—fe ellid sicrhau y pethau hynny oll yma trwy ddeddfwriaeth, neu weithrediad yr awdurdod leol, pan fo llywodraethiad y tai yn llaw y cyfryw awdurdod. Dylai y tafarnau wrth reswm, yn enwedig wedi y lleihad mawr a olygir yn eu nifer, dalu tollau llawer uwch, a rhoi llawer uwch tâl am eu trwyddedau. Ond llawer gwell fyddai fod y cyfryw daliadau yn cael eu codi yn uniongyrchol gan y Llywodraeth, na bod Cyrff Lleol yn ceisio gofalu am danynt; ac wrth reswm byddent yn llaw y Llywodraeth at wasanaeth y bobl oll, ac estyn iddynt bob manteision a chyfleusterau a farner yn briodol, a hynny heb fod yr awdurdodau lleol yn peryglu eu hanibyniaeth a'u hurddas wrth orfod ymyrryd o gwbl â hwynt. Mae yn addas iawn, lle bo trwydded i'w rhoddi o gwbl, ei bod yn cael ei rhoddi gan Gorff Llywodraethol Lleol, sydd yn gwybod am angen ac yn deall teimlad y gymdogaeth, ac nid gan ynadon a deimlent y byddai yn ddarostyngiad arnynt i feddwl am y bobl o gwbl. Ond yn sicr nid gwaith Corff Lleol ydyw gwerthu diod feddwol i'r bobl, ac felly eu darostwng i ystad a'u dygai i dorri y cyfreithiau, ac i ymddangos ger bron y cyfryw Gorff drachefn i gael eu barnu. Y mae o bwys cofio hefyd na cheid y fasnach i fod dan lywodraethiad Corff Lleol, mwy nag y ceid Ataliad, ond yn nannedd gwrthwynebiad mwyaf penderfynol cyfoethogion tywysogaidd a galluog y fasnach ei hun,—y fasnach ag sydd, yn ol y General Wolseley, "y gelyn trymaf a fedd ein teyrnas."

Yn wyneb hyn oll, a chan deimlo yn neillduol y dirfawr angen sydd am fod rhywbeth mawr yn cael ei wneud, a'i wneud mor fuan ag y bo yn bosibl, er gwared ein gwlad oddiwrth ddirfawr felldith y fasnach feddwol, y mae yn anffodus fod yr alwad gref a godir yn y llyfr hwn am uniad yr holl nerthoedd, yn cael ei gwneud gan anwybyddu bron yn hollol y nerth mwyaf tu hwnt i bob cymhariaeth sydd yn awr, a bellach ers llawer o flynyddoedd, yn ymladd brwydr sobrwydd yn y wlad hon, sef yr un sydd yn galw am i'r bobl eu hunain, trwy Ddewisiad Lleol, gael llais mewn penderfynu i ba raddau, os o gwbl, y mae masnach mor ddinystriol i gael ei goddef yn eu hardaloedd. Y pwynt y crynhoir arno fwyaf o nerth yn yr holl lyfr, ac sydd yn llanw cant a hanner o'i dudalennau, ydyw dangos mor ofer ydyw yr amcan ag y mae cynifer o'r bobl ddiniwed hynny yn anturio ei goledd, sef y gellid, trwy Ddewisiad Lleol, o gael y teimlad o blaid y peth ymysg y bobl yn ddigon cryf, nid yn unig gyfyngu ar, ond hefyd atal y fasnach yn llwyr yn eu cymdogaethau. Ac eto, dros y byd, dyma gynifer o fannau lle y mae hynny wedi ei gyrraedd, a lle y ceir pob boddlonrwydd

ei fod yn gweithio yn rhagorol. Gwneir llawer, fel yn erbyn Dewisiad Lleol, o fod rhai o Dalaethau America, ar ol bod dros Waharddiad, wedi rhoddi hynny i fynny. Ond y mae hyn mor bell o fod yn erbyn Dewisiad Lleol, fel y mae y ddadl gryfaf sydd yn bosibl *o'i blaid*, gan fod y bobl, tra yn gwrthod y Gwaharddiad a osodid arnynt gan eu Seneddau, ond o gael y gallu i'w llaw eu hunain, trwy Ddewisiad Lleol, yn ddi-eithriad wedi rhoddi Ataliad ar y fasnach. Ac y mae hynny wedi ei wneud i'r fath raddau fel, allan o'r 46 o Dalaethau sydd yn y wlad fawr hono, nad oes yn awr ond *pedair* heb fod, y naill ffordd neu y llall, dan Ddewisiad Lleol. A ellid meddwl am unrhyw dystiolaeth gryfach o werth y drefn yma na bod y wlad fawr hon wedi ei chymeryd i fyny mor lwyr? Yr un modd y mae yr oll o Ganada dan Ddewisiad Lleol, ac nid oes yr un gwleidyddwr o'i mewn a feddyliai am gynnyg gwneud i ffwrdd a hynny. Pwynt yr etholiad fis Medi 1898 oedd, nid rhoi llais o gwbl ar Ddewisiad Lleol, ond penderfynu ai ni ellid gosod yr holl wlad dan Waharddiad. Oddieithr Quebec, yr oedd yr holl Dalaethau, saith mewn nifer, yn rhoddi mwyafrif mawr o blaid Gwaharddiad, ac yr oedd Cyfanswm y mwyafrif trwy Ganada oll yn 13,800. Ac am Sweden a Norway, er holl fethiant y *Controlling System*, neu gario y fasnach ymlaen dan Gyrff Llywodraethol yn y gwledydd hyny, y mae Dewisiad Lleol yn y ddwy wlad wedi bod yn llwyddiant mawr. Dan y drefn yma y mae 2,200 o'r 2,400 o blwyfi gwledig yn Sweden wedi diddymu eu trwyddedau i werthu gwirodydd. Yn Norway y mae trwyddedau yn yr ardaloedd gwledig wedi eu gosod dan lywodraeth Byrddau Plwyfol, ac y mae gwerthu gwirod ynddynt wedi ei wahardd bron yn gyffredinol. Ac er pasio trefn y cwmnïau, os dewisid, i'r trefi, eto nid yw honno i fod os bydd mwyafrif o rai dros 25 mlwydd oed yn fotio yn ei herbyn. Yn y pedair blynedd, o 1895 i 1898, bu fotio ar hynny mewn 53 o drefi, ac mewn mwy na hanner y nifer penderfynwyd diddymu y cwmnïau, ac nad oedd gwirod i gael ei werthu o gwbl. Yn y gwledydd hyn, fel yn America a Chanada, ar ol gwneud llawer o ymdrechion egnïol yn erbyn anghymedroldeb, fe geir mai y drefn oreu ydyw gadael y fasnach dan lywodraethiad y bobl eu hunain, gyda gallu, os byddant yn dewis felly, i'w hatal yn llwyr. Mae Lady Henry Somerset yn ei herthygl gref yn y *Contemporary Review* yn dangos trwy brofion diamheuol, hyd yn oed am y mannau lle y mynnir fod deddfau ataliol wedi bod yn fethiant hollol, eu bod wedi lleihau i'r hanner yr arian a dalwyd am ddiod; ac fod y ffaith yn aros yn ansigledig, tra y mae ymyfed ym Mhrydain a Ffrainc a Germani wedi cynhyddu, fod lleihad o 50 i 75 y cant wedi bod yn yr Unol Dalaethau, Canada, Norway, a Sweden,—yr oll o ba rai ydynt wledydd dan Ddewisiad Lleol. Yn debyg, i fesur helaeth, y cawn fod pethau yn Awstralia. Ac yn y deyrnas hon y mae trefi fel Bessbrook a Saltaire, a rhannau helaeth o Lundain a Liverpool, ynghyda lliaws o ardaloedd gwledig lle trwy ewyllys perchenogion tiroedd y mae tai i werthu diodydd meddwol wedi eu cau yn llwyr; ac y mae y mannau hynny y rhai mwyaf dedwydd yn yr holl wlad. Camgymeriad mawr hefyd yw dychmygu, fel y gwna yr awdwyr hyn, fod trigolion mannau o'r fath yn egr gyrchu i'r lleoedd ar eu cyffiniau lle y mae diod i'w chael. Nid ydynt yn gwneud felly; ond y maent yn gwerthfawrogi

y fraint o fod allan o gyrraedd y demtasiwn, ac felly yn rhyddion, hwy a'u teuluoedd, oddiwrth y drygau y mae y ddiod feddwol yn gynhyrchu yn y fath helaethrwydd. Ac y mae yn hyfryd gweled fod yr ymofyniad yn codi gyda'r fath nerth erbyn hyn dros y deyrnas i gyd, Pam na roddid i'r bobl eu hunain, fel i dirfeddianwyr eu hardaloedd ac i'r boneddigion ag y mae damwain mor fynych wedi eu gwneud yn ustusiaid heddwch, allu i benderfynu pa un a ydyw masnach y ddiod yn dragwyddol i gael y gallu i'w hanhreithio? Adeg yr Etholiad Cyffredinol diweddaf, yr oedd cyfuniad mawr y Buddiannau, a'r celwyddau dirif a daenid am hyn fel am bopeth, a hynny pan oedd pobl a ddylasent fod yn effro ac yn ymladd wedi ymollwng i freuddwydio, yn peri fod pethau yn cael myned yn dra gwahanol i'r hyn ddylasent. A chymerodd rhai pobl barchus yn ganiataol oddiwrth hynny fod y teimlad dros Ddewisiad Lleol yn diffodd yn y wlad Ond fe gafwyd digon o brofion, bellach, fod hynny yn ddirfawr gamgymeriad, ac mai y rhai sydd o'i blaid, yn awr fel cynt, ydyw "asgwrn cefn y blaid Ryddfrydol," heblaw fod llawer o Doriaid parchus wedi eu dwyn i deimlo fod eu rhwymedigaethau uchaf fel gwladgarwyr yn galw arnynt i fod yn ffyddlawn i amcan ag y mae a fynno i'r fath raddau helaeth â daioni pennaf eu cydwladwyr. A dyma yn sicr y tir ar ba un yr ydys i uno y nerthoedd o blaid sobrwydd. Nid ydyw y rhai a gymerant i fyny syniad "y Drefn Lywodraethol" ond ychydig yma a thraw; tra y mae y rhai sydd yn credu mewn Dewisiad Lleol yn filiynau. Ac o ran hynny dyma y ffordd, yr unig ffordd, y gallai cyfeillion Llywodraethiad gael cyfleustra i gynnyg eu cynllun. Gadewch i'r Bobl, trwy fwyafrif iachus o ddwy ran o dair, gael gallu i Ddewis, ac i wneud efo'r Fasnach andwyol fel y gwelont yn fwyaf doeth a diogel. Os gellid dangos iddynt trwy resymau y gallent deimlo eu grym, mai y peth goreu fyddai ei chario ymlaen dan y *Controlling System*, pob rhyddid iddynt wneud felly. O'r ochr arall, os gwelent, wrth edrych ar ddirfawr lwyddiant Ataliad trwy Ddewisiad Lleol dros y byd, ac ystyried drostynt eu hunain resymoldeb amlwg y fath drefn, a'r ymwared hyfryd a estynnai iddynt oddiwrth yr holl drueni y mae Masnach y Ddiod wedi bod yn ddwyn arnynt, beth fwy rhesymol nag iddynt gael dewis hynny, a'i osod ar unwaith mewn gweithrediad? Hyderaf na fydd darllenwyr meddylgar y TRAETHODYDD ddim yn ol o fynnu gweled fod eu cydwladwyr yn gyffredinol yn cael syniadau clir ar y mater pwysig hwn, a'u meddiannu gan argyhoeddiadau o'r fath oleuni a nerth fel nad allo fod dim petruster am a wnant pan elwir arnynt i ddangos eu hochr; a phrysured yr amser y byddo y deyrnas oll yn ysgwyd ymaith felldith masnach y ddiod, ac yn llawenychu yn ei hymwared.

DANIEL ROWLANDS.

## Y TRANSVAAL.

NID oes un man ar wyneb y ddaear ar hyn o bryd ag y mae mwy o son am dano, a mwy o sylw yn cael ei dynnu ato, nag yw y Transvaal, neu Weriniaeth Deheubarth Affrica. Er mai bechan iawn yw hi, y mae ei henw mor hynod ar derfyn y ganrif hon ag ydoedd enw Ffraingc ar derfyn y ganrif o'r blaen, ac y mae lle i ofni ei bod yn myned i adael cynysgaeth o waed ac anrhefn yn Neheubarth Affrica i'r ugeinfed ganrif, megys ag y gwnaeth Ffraingc yn Ewrop i'r ganrif sydd ar derfynu. Ond yna derfydd y gyfochraeth. Yr oedd Ffraingc yn myned i ryfel â'i chymdogion yn unig o uchelgais a thrachwant, tra y mae y Transvaal am ymladd er cadw yr hyn sydd ganddi, a'r hyn y cred, yn gywir neu anghywir, fod Lloegr am ei hamddifadu o hono. Yr oedd y Ffrangcod yn cael eu harwain gan filwr oedd yn sychedu am fuddugoliaeth a chlod, tra yr arweinir y Boeriaid, bron na ddywedwn, gan "flaenor Methodus" hwyrfrydig i symud modfedd ymlaen gyda'r oes. Yr oedd Ffraingc wedi dyfod trwy bair y chwildroad, ac yn pleidio rhyddid a chynnydd ym mhob cyfeiriad, tra y mae y Boeriaid, wrth natur, yn geidwadwyr o'r ceidwadwyr, ac yn cashau pob cynnydd a chyfnewidiad.

Y mae swn parotoadau rhyfel o'n deutu pan yn ysgrifennu y llinellau hyn. Y mae pawb yn darogan y gwaethaf, a phob arwydd mai'r gwaethaf sydd ar ddigwydd. "Rhy hwyr, rhy hwyr," yw yr ateb roddir i'r rhai sydd yn ceisio atal y rhyferthwy ac yn ymegnïo ym mhlaid heddwch. Heb fyned i mewn i'r cwestiwn ai yn gyfiawn ai yn anghyfiawn y dadweinier y cledd, rhaid dywedyd fod y cyfrifoldeb yn ofnadwy ar y rhai sydd wrth y llyw yn y ddwy wlad. Os gwneir camgymeriad yn awr, nid â gwaed y lladdedigion ar faes y rhyfel yn unig y telir am hynny. Na, bydd y taliad yn cael ei drosglwyddo mewn casineb didrangc o genhedlaeth i genhedlaeth o rai nasganwyd eto. Pa ochr bynnag dery gyntaf, bydd drwy hynny yn ymgymeryd â chanlyniadau nas gellir dychmygu pa mor bell a pha mor ddwfn y treiddiant. Crëir gelyniaeth farwol rhwng dwy genedl a bery am oesau; nid rhwng y Boeriaid a'r Prydeinwyr yn unig; ond rhwng yr holl genedl Is-Ellmynaidd â ni, a da iawn os terfyna yn y fan hon, heb ddwyn yr Ellmyn hefyd yn elynion calon i ni. A pha beth bynnag fyddo canlyniad rhyfel—ai buddugoliaeth i fyddinoedd Lloegr ai aflwyddiant (er fod yr olaf bron yn amhosibl), bydd yr haiarn wedi gwanu i'r byw, ac ni wna'r canrifoedd o'r braidd wella yr archoll.

Ond cyn edrych, fel hyn, i'r dyfodol, goddefer i ni gymeryd trem ar hanes y gorffennol ynglŷn â'r Transvaal. Gwn yn eithaf da y byddaf yn adrodd llawer, os nad yr oll, o ffeithiau sydd yn bollol wybyddus i'm darllennwyr; eto credaf nad anfuddiol fydd olrhain hanes y Weriniaeth o'i dechreuad i'r adeg bresennol, gan mai dyna fydd yr esboniad goreu ar y cwrs y mae pethau yn myned ar hyd-ddo yn y dyddiau hyn.

Cenedl gymysgryw yw y Boeriaid yn eu tarddiad, ond yr elfen amlycaf, a'r un wreiddiol, yw yr Is-Ellmynaidd. Y mae ynddynt hefyd waed Ffrengig, drwy yr Huguenotiaid, yn ogystal a gwaed Ellmynaidd; ac mae yn rhaid myned ymhell yn ol i weled pa fodd y daeth yr Is-Ellmynaidd yn elfen mor gref a threiddiol yn Neheudir Affrica. Fel y gwyddis, i'r Portugëaid y perthyn yr anrhydedd o ail-ddarganfod llwybr y moroedd i'r India. Tua diwedd y bymthegfed ganrif, troes Bartholomew Diaz a Vasco da Gama heibio i Benrhyn Gobaith Da, a chyrhaeddodd yr olaf i'r India. Nid hir y bu y Portugëaid yn cael defnyddio y dramwyfa hon heb i genedl fasnachol ac anturiaethus arall gydymgais â hwy ar hyd-ddi. Yr oedd yr Is-Ellmyn yn gwybod am gyfoeth yr India, ac yn gynnar wedi cychwyn masnach helaeth â'r wlad honno; ac megys ag y darganfyddwyd yr America drwy yr ymgais i gyrraedd yr India, felly y sefydlwyd trefedigaethau Affrica Ddeheuol gan yr Is-Ellmyniaid fel mannau cyfleus i hyrwyddo eu masnach â'r India. Ond ni chawn fod ganddynt unrhyw "ddinas barhaus" yno hyd 1652, pan sylfaenwyd Cape Town gan Van Riebeeck; ac yn 1686 cawn nifer mawr o Huguenotiaid yn diangc yno oherwydd cyhoeddiad yr *Edict of Nantes.* Y maent yn fuan yn dod yn ddigon cryfion i orchfygu y brodorion oeddynt o'u cwmpas. Y mae yr Hottentotiaid yn cael eu gwneud yn gaethweision, ac yn cael eu defnyddio ganddynt megys anifeiliaid y maes. Ac o'r adeg yma y rhaid i ni ddyddio yr ymdeimlad greddfol, erbyn hyn, sydd ym mynwes pob Is-Ellmyn sydd yn Neheudir Affrica, mai creadur hollol israddol yw y dyn du. Y mae cenhedlaeth ar ol cenhedlaeth wedi tyfu i fyny yno, a phob un a'i throed ar wddf yr Hottentot a'r Kaffir. Ac nid dyma yr unig gamwedd ag y mae y Boer heddyw yn gorfod dioddef oddiwrtho sydd i'w olrhain i ddylanwadau blynyddoedd boreuol y genedl; i'r llywodraeth gaeth o dan ba un yr oeddynt, llywodraeth ag oedd yn ymyrryd â rhyddid personol, ac yn gosod i lawr derfynau a ffiniau i weithrediad personol, os nad, yn wir, i ymarweddiad personol—i ddylanwad y math hwn o lywodraeth y rhaid i ni briodoli llawer o'r ysbryd ceidwadol, digychwyn a digynnydd sydd yn ei nodweddu. Yn y ganrif ddiweddaf, y mae swm a sylwedd hanes y Deheubarth yn gynwysedig mewn ymdrech am ehangiad graddol terfynau y drefedigaeth tua'r gogledd a'r dwyrain, trwy orthrechu y Kaffiriaid a llwythau ereill y Bantu. Yn 1795 cawn fod dylanwad y Chwildroad Ffrengig wedi cyrraedd hyd yn oed at ffermwyr a mwnwyr Deheudir Affrica. Yr oedd buddugoliaeth y werin yn Ffraingc yn eu symbylu hwythau i geisio taflu ymaith iau eu mam-wlad, a bu ymladd caled iawn am annibyniaeth; i bob pwrpas yr oedd y drefedigaeth wedi ei hennill gan y gwrthryfelwyr, pan yr ymyrrodd Lloegr ar ran Holland, ac yr anfonodd lynges yno, gan eu gorchfygu a dwyn y wlad yn ol i feddiant Holland,—ïe, dyna allaswn feddwl fuasai Lloegr yn ei wneud, ond ymhell o hynyna, cymerodd feddiant o'r Deheubarth iddi ei hun, a chadwodd y meddiant hwnnw hyd 1802, pryd, ar arwyddiad amodau heddwch yn Amiens, y daeth Holland i'w heiddo drachefn. Yn 1795, felly, y daeth y wlad hon i gysylltiad cyntaf â Deheudir Affrica; yn y flwyddyn honno yr hauwyd hadau y dygasedd hwnnw ag oedd hyd yn ddiweddar mor amlwg yn cael ei goleddu gan yr

Is-Ellmyn Affricanaidd, neu yr Affricander, fel eu gelwir, tuag at y Sais, a'r hwn oedd, yn ol pob argoelion, yn prysur ddiflannu hyd nes i'r cweryl presennol ei awchlymu a'i gynhyrfu. Nid rhyfedd, ychwaith, fod y dygasedd hwn yn bodoli pan yr ystyriom pa beth oedd effaith ymyriad Lloegr, sef dinystrio pob gobaith am weriniaeth fawr Is-Ellmynaidd yn Neheubarth Affrica, yr hwn oedd ar gael ei sylweddoli pan y daeth y llynges Brydeinig ac a'i chwalodd am byth. O hynny hyd yn awr y mae dylanwad y Sais yn myned ar gynnydd, ac yn graddol lefeinio yr holl drefedigaeth. Nis gall, nad yw yr Arlywydd Kruger yn hollol ymwybodol o hyn, ac yn cyfrif ei hunan, a'i bobl, fel gwrthglawdd yn cadw draw ddylanwadau sydd â'u tuedd ddiymwad at Seisnigeiddio yr oll o Ddeheudir Affrica.

Yn 1806 torrodd rhyfel allan rhwng Lloegr a Holland, ac adfeddianwyd trefedigaeth Penrhyn Gobaith Da gan y flaenaf, ac, yn unol âg amodau heddwch 1814, trosglwyddwyd hi yn ffurfiol i Loegr, ac o hynny hyd yn awr erys yn eiddo iddi.

Nid oedd yr holl drefedigaeth y pryd hynny yn cyrraedd ymhellach nag Afon y *Great Fish* a mynyddoedd Bushmanland, gan gynnwys 120,000 o filldiroedd ysgwâr, a chanddi boblogaeth o tua 60,000. Yn awr mesura gymaint ddwywaith, tra y mae y boblogaeth wedi cynnyddu agos i filiwn. O'r flwyddyn 1814 i 1834 y mae hanes y drefedigaeth yn cael ei wneud i fyny, gan mwyaf o hanes mân ryfeloedd parhaus â'r brodorion, yn enwedig â'r Kaffiriaid, y rhai a ymladdasant dros eu gwlad yn ddewr, gan ildio fodfedd wrth fodfedd, nes o'r diwedd ei llwyr golli. Yr adeg honno, ffawd y rhai a drechwyd oedd cael eu gwneud yn gaethweision i'w gorthrechwyr, ac yr oedd miloedd o'r Hottentotiaid a'r Kaffiriaid, yn ogystal ag o Negroaid o rannau ereill o'r cyfandir, yn gaethion i'r dyn gwŷn. Ond yn 1834 rhyddhawyd caethion Prydain, a rhoddwyd llawer o freintiau iddynt ar eu rhyddhâd, ac y mae yn rhyfedd meddwl mai dyma yr achos i'r Is-Ellmyn, neu y Boeriaid fel y dylem eu galw erbyn hyn, benderfynu torri eu cysylltiad â'r Llywodraeth Brydeinig, a myned tua'r Gogledd-Ddwyrain i ennill gwlad iddynt eu hunain. Ni fynnent hwy fod gan y dyn du un hawl i ryddid o fath yn y byd; nid oeddynt yn ei gyfrif yn fôd rhesymol, ac unig amcan ei fodolaeth ydoedd gwasanaethu i'w cyfreidiau hwy. Gwnaethant eu hegni yn erbyn caniatau iddo ei ryddid; ac ni chai cenhadon ddysgu iddo egwyddorion crefydd o unrhyw fath. Yn y wedd hon yr ydym yn cael fod y Boeriaid yn edrych ar y dyn du ar hyd y blynyddoedd, ac o'r braidd y gellir dweyd eu bod eto wedi newid dim yn eu syniadau am dano, er, wrth gwrs, nad yw y Kaffir yn gaethwas mwyach.

Rhyddhad y caethion, felly, ydoedd y maen tramgwydd a barodd i'r Boeriaid adael gwlad eu genedigaeth, a throi eu hwynebau tua chodiad haul i chwilio am wlad well. Gwerthasant eu tiroedd, ac ymadawsant yn finteioedd, gan groesi y Vaal, i wlad y Zulu. Yn 1835 y bu yr exodus hwnnw a elwir y *Great Fish*, ac nid hir y bu y *Trekers* cyn ennill rhandir helaeth oddiar y Zulu, a'u gyrru hwythau o'u gwlad tua'r Gogledd, lle yr ymsefydlasant ac y daethant yn genedl gref dan yr enw Matabele—pobl a roisant lawer o drafferth i Brydain yn y blynyddau diweddaf. Yr oedd eu buddugoliaeth ar y Zulu yn gadael yn nwylaw

y Boeriaid yr holl wlad o'r Vaal i'r Limpopo, sef cyffiniau presennol y Transvaal. Yn 1838 croesodd mintai o honynt dros fynyddau y Drakenberg i Natal, gan osod i fyny weriniaeth hollol anibynnol ar eu brodyr dros y Vaal; llwyddasant i sicrhau meddiant o ran fawr o'r wlad, ond nid heb ymladd parhaus â'r penaeth Zuluaidd, Dingaan, yr hwn, trwy frad a dichell, a roddodd i farwolaeth eu Harlywydd, Retief, a nifer lluosog o'u prif-ddynion. Yr oedd hon yn ergyd drom i'r weriniaeth fechan, ond yr oedd gwaeth yn eu haros. Torrodd y Zuluiaid dros eu terfynau, gan ladd yn ddiarbed wŷr, gwragedd a phlant; bron nad oeddynt wedi ysgubo pob Boer oddiar wyneb y wlad. Ond yn yr argyfwng hwn ceir hanes am y gwrthsafiad mwyaf dewr yn holl hanes rhyfeloedd Deheudir Affrica. Daeth byddin Dingaan, yn rhifo 12,000 o wŷr, ar warthaf 400 o'r Boeriaid; parhaodd yr ymladd ar hyd y dydd, ond yn y diwedd gorfu i'r fyddin fawr encilio o'r maes, yn cael eu hymlid gan y Boeriaid buddugoliaethus. Mewn canlyniad i hyn torwyd grym y penaeth Zuluaidd, a dechreuai gweriniaeth Natal ymsythu drachefn. Ond nid cynt yr oeddynt wedi adennill eu tiriogaeth, ac wedi llwyddo i ddod i delerau heddwch â'u cymydogion anwar, nag y daw John Bull i mewn ar y *scene*, gan haeru fod y weriniaeth ar fedr gwneud ymosodiad ar Diriogaeth y Penrhyn—rhyw *Pan-Afrikander conspiracy* boreuol. Y mae y Boer unwaith eto yn gorfod cymeryd ei arfau i fyny i wynebu ar y gelyn hwn; ond y mae cyfoeth a medr y Sais yn myned yn drech nag ef, ac yn 1842 y mae Prydain yn cymeryd awenau y Llywodraeth i'w llaw, a'r flwyddyn ganlynol y mae yn cymeryd y tir hefyd oddiar y Boer, gan gyhoeddi pob cŵys o hono yn eiddo coron Prydain Fawr, ac i'w ddal rhag llaw dan ardreth blynyddol. Wedi i'r Boer, trwy golli gwaed a bywyd, ennill gwlad gynyrchiol a thêg, y mae y Sais yn dod ac yn medi ffrwyth ei lafur. "Ereill a lafuriasant, a chwithau a aethoch i mewn i'w llafur hwynt." Y mae y Boeriaid unwaith yn rhagor yn ffoaduriaid, ac yn myned rhagddynt tua'r Vaal a mynyddau y Drakenberg. Croesodd minteioedd o honynt yr afon, ac ymsefydlasant yno, yng ngwlad y Basutos, gan gyhoeddi eu hunain drachefn yn weriniaeth anibynnol dan yr enw "Talaeth Rydd yr Afon Orange." Ond nid hir y bu yn anibynnol, gan y cawn i Brydain ymosod arni hithau, ac anfon byddin yno, yn 1848, a'i chyhoeddi yn diriogaeth Brydeinig. Ym mhen pum mlynedd, fodd bynnag, trosglwyddwyd hi yn ol i'r Boeriaid, ac y mae o hynny hyd yn awr wedi cadw ei hanibyniaeth.

Pan y gorchfygwyd hwynt gan y wlad hon, yn 1848, ymadawodd miloedd o'r Boeriaid o'r Dalaeth Rydd, a chyhoeddasant eto, y drydedd waith, weriniaeth anibynnol dan yr enw y "*Dutch African Republic,*" yr hon heddyw yw Gweriniaeth Deheudir Affrica, neu y Transvaal. Yr oedd ymfudo a chynlluuio gweriniaethau newyddion erbyn hyn yn waith cynefin i'r Boeriaid; ond pe digwyddai yr un anffawd ag a'u goddiweddodd yn 1835, 1842, ac 1848 eu goddiweddyd yn 1900, anhawdd gweled i ba fan y troant eu hwynebau, os nad i anialwch diffaeth Kalahari.

O hyn ymlaen cawn ddilyn hanes y Transvaal yn unig. Ei harlywydd cyntaf ydoedd Andrew Pretorius (ar enw yr hwn y gelwir ei phrif-ddinas yn Pretoria). Yr oedd ef yn filwr galluog, ac yn wlad-

weinydd o gryn fedr. Llwyddodd, yn 1852, drwy Gytundeb Sand River, i gael gan lywodraeth Prydain gydnabod anibynniaeth y Transvaal. Yn y flwyddyn hon hefyd ffurfiwyd cyfansoddiad gwleidyddol a chyfreithiol y weriniaeth, yr hwn sydd eto yn aros heb nemawr gyfnewidiad ynddo. Yn bresennol, gwneir i fyny ddau dŷ y *Volksraad* (Cynghorfa y Bobl) o 54 o aelodau wedi eu hethol am bedair blynedd, o ba nifer y mae yr hanner i fyned allan o swydd bob dwy flynedd. Y mae y gallu gweithredol yn cael ei ymddiried i'r Arlywydd, yr Is-lywydd, ysgrifennydd y wladwriaeth, ynghyd a dau aelod wedi eu dewis gan y Gynghorfa. Y mae yr Arlywydd yn cael ei ethol drwy bleidlais gyffredinol, ac i weithredu am bum' mlynedd. Y mae y fainc farnol yn etholedig gan y senedd, ac yn ddarostyngedig i'w phenderfyniadau.

Digon cythryblus a didrefn ydoedd amgylchiadau y Weriniaeth yn ystod blynyddoedd cyntaf ei gyrfa. Yr oedd gelynion o'r ddeu-liw o'i deutu, ac, yn 1857, y mae rhyfel yn torri allan rhyngddi, hyd yn oed a'i mam-weriniaeth, y Dalaeth Rydd. Yr oedd y brodorion oeddynt wedi eu gorchfygu, a'u gwneud yn gaethweision mewn pob peth ond enw, yn peri cryn lawer o flinder iddynt. Caffai y brodorion driniaeth weddol ddyngarol oddiar law y Saeson yn y trefedigaethau cylchynol, a chydnabyddid eu hawliau mewn modd cyfiawn a thêg. Ond yr oedd rhyw anallu greddfol yn y Boer, fel ag y crybwyllwyd eisoes, i weled fod gan y dyn du hawliau o gwbl. Nid oedd hyd yn oed ei fywyd yn ddiogel, pe dymunai y Boer ei amddifadu o hono. Yn 1856 pasiwyd Deddf Egwyddorweision (*The Apprentice Law*), yr hon nad oedd mewn gwirionedd ond deddf yn cyfreithloni caethwasiaeth, er nad mewn enw. Yn 1858 cawn y senedd yn cyhoeddi "na chydnebydd y Weriniaeth gydraddoldeb y dyn du â'r dyn gwŷn, nac yn yr eglwys nac yn y wladwriaeth." Y mae yn anhawdd dychmygu am genedl gyfan wedi ei thrwytho â'r fath syniadau anghristionogol ac anynol ag y dengys y datganiad uchod fod y genedl hon. Pa beth bynnag ellir ddyweyd am drahausder y Sais, credaf y cyfaddefa pawb ei fod, yn y pen draw, yn gyfiawn yn ei ymwneud â'r brodorion gorchfygedig lle bynnag yr ä, ac yn ceisio eu dyrchafu yn hytrach na'u cadw i lawr. Ac yn hynyna yn ddiddadl y mae cuddiad ei gryfder fel sylfaenydd trefedigaethau; y mae yn addoli cymaint arno ei hun fel ag yr hoffa weled pob dyn yn ymgeisio i gyrraedd yr unrhyw ddelw.

Yn ystod y blynyddau 1860—75 ni chlywyd rhyw lawer o son am y Transvaal, oddigerth ambell i waith pan y torrai mân ryfeloedd allan cydrhyngddi a'i chymydogion, y Matabele, neu'r Zuluiaid, pryd y troai buddugoliaeth weithiau o'i thu ac weithiau yn ei herbyn. Yn 1875, fodd bynnag, y mae yn cyfarfod âg anffawd fawr, pan ei gorchfygwyd gan Sikokuni, penaeth Zuluaidd, yr hwn oedd yn bygwth goresgyn yr holl wlad. Y mae y Boeriaid erbyn hyn bron yn ddiymadferth; y mae eu cyllid ar ddarfod, a'u hadnoddau yn brin, a thra yn y cyflwr hwn y mae Prydain Fawr yn dod i'w cynorthwyo—trwy gymeryd eu gwlad oddiarnynt am y bedwaredd waith. Nid oedd y cynllun rhyfedd hwn o gynorthwyo o eiddo Disraeli yn un newydd yn hanes Prydain. Cynorthwyodd aml i genedl yn yr India drwy ei hamddifadu o'i gwlad, a than yr un cochl y cafodd roddi ei throed i

lawr gyntaf erioed yn Neheubarth Affrica, megys ag yn y dyddiau diweddaf hyn y mae wedi gwneud yn Ngogleddbarth Affrica—yn yr Aifft. Yn 1877 y mae Sir Theophilus Stepstone yn meddiannu y Transvaal yn enw coron Prydain, gan addaw ar yr un pryd fesur helaeth o ymreolaeth i'w thrigolion. Yr oedd y Boeriaid yn gosod eu gobaith yn Mr. Gladstone; credent y byddai iddo ef roddi eiddo Cesar i Cesar, pan y deuai i awdurdod. Ond nid felly y bu, a gwelodd y Boer, os oedd am adennill ei anibynniaeth a'i wlad y byddai raid iddo ymladd, ac yn 1880 cododd mewn gwrthryfel. Gorchfygodd, ar ddau neu dri o achlysuron, y fyddin fechan a anfonwyd yn ei erbyn, a phan, ar Fryn Majuba, y llwyr drechwyd y gallu Prydeinig ac y lladdwyd y Cadfridog Colley, cydnabyddodd y Weinyddiaeth Ryddfrydig hawl y Boer i'w eiddo ei hun, ac arwyddwyd Cytundeb 1881, yr hwn a ddirymwyd gan Gytundeb Llundain yn 1884, ar effaith y rhai y cawn sylwi ymhellach. Yr Arlywydd yr adeg yma ydoedd Burgers, ond yn 1883 etholwyd gŵr ag y mae ei enw erbyn hyn yn dra adnabyddus, Paul Kruger. Y mae efe yn un o'r sefydlwyr cyntaf, ac wedi myned drwy helyntoedd blinion y naill Weriniaeth Foeraidd ar ol y llall; perthyna i sect gûl a cheidwadol y *Doppers*, y rhai sydd yn gwrthwynebu pob cyfnewidiad mewn byd ac eglwys. Feallai nad anyddorol fyddai desgrifiad a roddodd yr hanesydd Lecky ohono oddeutu tair blynedd yn ol: "Yr wyf yn ei adnabod yn bersonol," meddai, "ac wedi dod i gyffyrddiad âg amryw ereill oeddynt yn ei adnabod yn dda. Ar lawer ystyr y mae yn hynod o debyg i ryfelwyr difrif a phuritanaidd Cromwell, yn ŵr cadarn, anhyblyg, ac yn feddiannol ar wroldeb a phenderfyniad di-ildio; ac er nad oes llawer o arwyddion diwylliant o'i amgylch, y mae, trwy ei allu naturiol digymar i bwyso a chloriannu dynion ac amgylchiadau, yn argraffu ar feddwl pawb a'i hadnabyddant ei fod yn meddu grym cymeriad uwchlaw y cyffredin. Y mae yn grefyddol y tu hwnt i bopeth, ac yn credu mor ddiysgog a Wesley ei fod dan arweiniad uniongyrchol rhyw ddwyfol ysbrydoliaeth. Y mae yn byw mewn symledd gwledig, ac, er yn ddyn cyfiawn, doeth a chadarn, y mae, fel y gweddill o'i gydwladwyr, yn ofni dylifiad dieithriaid i'w wlad, ac yn cashau ac yn drwgdybio y sefydliadau gweithfaol a mwnol." Dyna y gŵr sydd heddyw yn ymgystadlu â Joseph Chamberlain am yr oruchafiaeth.

Goddefer i ni eto droi o'r llwybr hanesyddol, i edrych ansawdd y wlad yr hon y mae y Boer mewn perygl o'i cholli. Y mae yn mesur rhyw 500 milldir o ogledd i dde, a 400 milldir o led. I'r gogledd y mae afon y Limpopo, ac i'r dehau y mae y Vaal neu Orange. Y mae fel hyn yn cael ei dyfrhau o'r ddau gŵrr, ac mewn canlyniad y mae ynddi dir cnydiol a chyfoethog; tra y mae digonedd o wlaw yn disgyn yn misoedd yr haf,—o Hydref i Ebrill. Ond nid yw cyfoeth ei harwyneb i'w gydmaru am foment â'r trysorau dihysbydd sydd yn gorwedd dano. Y mae yr aur i'w gael yn bur gyffredinol drwyddi-draw; y mae digonedd o lo a haiarn bron ar y wyneb, a cheir fod cyflawnder o fwnau gwerthfawr, megys copr, plwm, a *sulphur* yn ei mynyddau, a'r adamant yn ei dyffrynoedd. Ond i goroni y cwbl, darganfyddwyd, yn 1886, fwngloddiau aur y Rand, gerllaw y rhai y cyfododd tref

*

Johannesburg, megys mewn un-dydd un-nos; ac o'r adeg honno ymlaen, helbulus a blin yw gyrfa y Weriniaeth wedi bod. Y mae ei phoblogaeth yn rhifo oddeutu miliwn, tair rhan o bedair o honynt yn frodorion croen-ddu. Gwneir y rhan arall i fyny o 80,000 o Foeriaid, a'r gweddill yn Alldirwyr neu *Outlanders.*

Yr ydym yn awr wedi olrhain hanes y Boeriaid o'r cychwyn hyd Gytundeb 1884, gan hyderu y bydd i adroddiad syml o ffeithiau hanesyddol brofi yn rhyw fath o eglurhad ar ymddygiad y naill ochr a'r llall yn yr argyfwng presennol.

Yr oedd y dylifiad disymwth o heidiau cymysg o bob cenedl dan y nef a achoswyd gan ddarganfyddiad aur y Rand yn creu dychryn yn mynwesau y Boeriaid. Nis gallent hwy weled dim ond perygl i fodolaeth eu llywodraeth yn nyfodiad yr Alldirwyr, a than ddylanwad eu natur gynhenid-geidwadol, a'u syniadau puritanaidd ymroisant i roddi pob atalfa ar ffordd y tramorwyr i ennill gradd o ryddid gwleidyddol. Yr oedd yr Arlywydd Kruger, yn 1881, wedi addaw y caffai deiliaid Prydain yr un rhagorfreintiau gwladol â'r *burghers*, a dyma un o'r prif gwynion, ac hyd ychydig ddyddiau yn ol, y prif gwŷn, yn erbyn y llywodraeth Foeraidd—nad yw yr Alldirwyr yn feddiannol ar yr etholfraint ar yr un tir â'r dineswyr. Dywed y blaenaf mai hwynt-hwy sydd wedi codi y wlad o fod yn fethdalwr i fod y wladwriaeth gyfoethocaf yn Neheubarth Affrica, mai hwy a ffurfient y mwyafrif, mai eu cyfalaf hwy sydd wedi agor y mwngloddiau; ac er hyn oll, nid oes ganddynt lais o gwbl yn llywodraethiad eu gwlad fabwysiedig—mewn gair, eu bod yn hollol ddibynnol ar drugaredd nifer fechan o ffermwyr anwybodus a rhagfarnllyd am eu bodolaeth mewn ystyr wleidyddol.

Nis gellir gosod ger bron y darllennydd y *case* o blaid yr Alldirwyr yn fwy cryno na thrwy ddifynnu rhai o brif erthyglau y ddeiseb a anfonasant at y Frenhines yn mis Mawrth y flwyddyn hon. Dechreua trwy wrthdystio yn erbyn aflywodraethiad y wlad gan y Senedd, ac yn erbyn y deddfau a wneid, amcan y rhai ydoedd rhoddi mwy o allu yn nwylaw yr Arlywydd a'r Cynghor gweithredol; nodir fel engraifft o hyn Ddeddf y Wasg, 1896, yn galluogi yr Arlywydd i atal unrhyw newyddiadur a ddymunai; un arall ydyw y ddeddf sydd yn rhoddi hawl iddo yrru o'r wlad unrhyw estron a fynn, heb unrhyw brawf arno. Erth. X. a gwyna oherwydd nad oes ganddynt gynrychiolaeth dêg ar gynghor trefol Johannesburg—tref ag sydd yn ddyledus am ei bodolaeth i'w hanturiaeth hwy. XI.—XIV. Y mae y dreth ar fwnau ac ardreth y mwngloddiau yn llethol, ac nid oes darpariaeth yn cael ei wneud i gael llafur rhad gan y brodorion. XV. Y mae cyfansoddiad yr Uchel-lys yn ddiffygiol, yn gymaint ag fod yn rhaid i'r barnwyr gydnabod penderfyniadau y Ddeddfwrfa fel yn meddu grym cyfraith. XVI. Y mae adeiladu caerau yn Pretoria a Johannesburg yn peryglu rhyddid deiliaid Prydain. XVII. Y mae yr heddgeidwaid yn anwybodus ac yn arfog. XVIIA. Dewisir rheithwyr o blith y dinasyddion yn unig. XXX. Y mae cyllid y wlad yn cael ei gamddefnyddio a'i ladratta; y mae addysg y plant yn cael ei gyfrannu ar delerau annhêg. Credaf fod yr uchod yn gosod i lawr y pethau y cwynir yn bennaf o'u herwydd, oddiwrth y rhai y gwelir fod yr Alldirwyr yn sicr yn dioddef cryn

fesur o gam yn wleidyddol oddiar law y Boeriaid, y rhai sydd, fel y dywed Mr. Stead, yn ceisio rheoli sefydliad mwnol enfawr ar egwyddorion yn dyddio o amser y Barnwyr. Y mae aelodau o gynghor trefol Johannesburg wedi eu profi yn euog o ymddygiad llwgr ac o ddefnyddio eu swyddau i'w budd personol eu hunain. Y mae yn ddiymwad fod y deddf-weinyddwyr mewn cyflwr rhy ddibynnol ar y deddf-wneuthurwyr, ac y mae llawer o sail i'r cwynion a wneir yn erbyn yr heddgeidwaid a'r rheithwyr. Hefyd caniatteir gorfaeliad nwyddau arbennig, megys *dynamite*, a hynny ar draul perchenogion y mwngloddiau.

Nid oes neb mor ffol a gwadu nad oes gan yr Alldirwyr le mawr i gwyno yn erbyn y sefyllfa y mae y Boeriaid am eu cadw ynddi. Ond y mae ochr arall i'r cwestiwn, a cheisiaf yn awr ddodi honno ger bron. Yn y lle cyntaf rhaid cofio mai ar ol ymgyrch Dr. Jameson y pasiwyd y deddfau a grybwyllir yn adrannau cyntaf y ddeiseb, ac mai eu hamcan ydoedd cyfarfod yn arbennig â chynllwynion o'r un natur a allent gael eu ffurfio—penderfynwyd arnynt pan ydoedd y wlad mewn cyflwr o *panic*, a'r tebygolrwydd yw nad adewid mo honynt yn hir ar y deddf-lyfrau. Nid yw gallu yr Arlywydd gyda golwg ar y wasg wedi ei roddi mewn grym ond unwaith, a hynny yn achos newyddiadur oedd yn ymosod ar y Llywodraeth mewn dull enllibus ac anonest, ac ni yrrwyd ond un estron dros y terfynau, a hwnnw ydoedd llofrudd Joel Woolf. Mewn perthynas â'r gŵyn yn erbyn gordrethiad y mwngloddiau aur, y mae y dreth yn llawer ysgafnach na'r *royalty* y mae Llywodraeth Prydain yn ei hawlio ar yr aur a godir yng Nghymru, a Chanada ar aur Klondike—yn wir, yr oedd mwnwyr y lle olaf yn apelio ar i'r Llywodraeth fabwysiadu cynllun y Transvaal yn lle yr un y maent yn gweithio o dano yn bresennol. Ymhellach, tra yr oedd derbyniadau perchenogion y mwngloddiau wedi cynnyddu y flwyddyn ddiweddaf agos i bum miliwn o bunau er 1897, yr oedd derbyniadau y Llywodraeth o'r unrhyw wedi lleihau £30,000. Gyda golwg ar lafur rhad, y mae y Transvaal yn gomedd caniatau yr hyn a elwir yn *compound-system*, trwy ba un y gorfodir i'r dyn du weithio am gyflog bychan a boddloni i'w gadw yn gaeth tu fewn i *compound* y mwnglawdd —cyfundrefn o lafur y mae Llywodraeth y wlad hon yn ei goddef yn mwngloddiau adamant Kimberley, a'r hon nad yw nemawr gwell na chaethwasiaeth. Pe goddefai y Transvaal hyn, talai ar ei ganfed i *shareholders* y Rand, ac ni ddioddefai neb ond y dyn du. Eto, gyda golwg ar y gorfaeliad—y mae tâl cludiad nwyddau ar reilffordd Rhodesia deirgwaith cymaint ag ydyw ar reilffordd y Transvaal; ac y mae pris *dynamite* yr un yn marchnad rydd Buluwayo ag yw dan *monopoly* Johannesburg. A pha beth yw y gŵyn yng nghylch rheithwyr y wlad a'r iaith a arferir yn y llysoedd? Yn union yr un gŵyn ag a allai Cymro uniaith, neu Ffrancwr ddod yn erbyn Prydain Fawr, pe dygid hwy ger bron llys yn Llundain; mewn iaith estronol iddynt hwy y cerrid y gweithrediadau ymlaen, a gwneid y rheithwyr i fyny o Saeson; caniateid iddynt gyfieithydd, mae'n wir, ond caniateir hynny hefyd yn Johannesburg. Y mae ein hachos ni yng Nghymru yn llawer gwaeth—daw estroniaid uniaith i'n plith ni i'n barnu, a dilornir ni os na phlygwn i lefaru eu hiaith hwy. Deuwn yn olaf at gwestiwn yr etholfraint. Y mae Kruger wedi cynnyg dro ar ol tro bleidlais i'r

Alldirwyr ar yr amod iddynt ymgymeryd â'r un cyfrifoldeb â'r dinaswyr; ond y maent yn gwrthod hyn; nid ydynt hwy yn foddlawn i ddwyn arfau yn erbyn gelynion eu gwlad fabwysiedig nac i gymeryd llw o ffyddlondeb iddi. Nid ydynt hwy wedi dod yno gyda'r bwriad o aros yno foment yn hwy nag y gwnant eu *pile*, ac nid oes arnynt eisieu yr etholfraint i'w galluogi i wella cyflwr y wlad, ond yn hytrach i rwyddhau y ffordd i lanw eu llogellau â'i haur, ac yna i ganu ffarwel i'r Transvaal. Credo y Arlywydd yw "Yr hwn na ymladdo, na phleidleisied ychwaith;" a chan nad yw yn gofyn mwy oddiar law yr estron nag oddiar law y dinaswr, haera ei fod yn cario allan yn drwyadl ysbryd Cytundeb 1884.

Y mae hyn yn ein harwain i ystyriaeth fanylach o'r cytundebau hyn, ac o'r ymdrafodaeth mewn perthynas iddynt. Yng ngwyneb cwynion yr Alldirwyr, yr oedd yn ddigon naturiol a chyfiawn i Brydain Fawr geisio sicrhau i'w deiliaid chwareu teg oddiar law y gallu llywodraethol yn y Transvaal, ac i'r diben hwn yr agorwyd ymdrafodaeth cydrhwng Syr Alfred Milner a'r Arlywydd ddechreu yr haf diweddaf. Pwyswyd ar Kruger i ganiatau yr etholfraint i estroniaid ar ol pum mlynedd o arhosiad yn y wlad, ac, ar ol cryn oediad, cytunodd i hyn, ac, yn ychwanegol, i roddi i'r Alldirwyr wyth sedd yn y *Volksraad*, a sicrwydd na byddai i'w cynrychiolaeth ddod yn llai na'r bedwaredd ran o'r tŷ. Ond ynglŷn â hyn yr oedd tri teler:—(1) Na fyddai i'r Llywodraeth Brydeinig, ar sail yr ymyriad presennol, ymyrryd rhag llaw yn amgylchiadau mewnol y Transvaal. (2) Na fyddai iddi mwyach honni ei goruchlywodraeth *(suzerainty)*. (3) Y caffai cyflafareddiad ei sefydlu fel moddion i benderfynu unrhyw ddadl rhwng y ddwy wlad, a hynny heb alw i mewn unrhyw allu tramor. Nid oedd y ddau deler cyntaf yn gosod i lawr unrhyw egwyddor newydd, o herwydd yn ol Cytundeb 1884 ni chedwir unrhyw oruwchreolaeth ar faterion mewnol y Weriniaeth; yr unig beth nas gallai hi ei wneud heb gydsyniad Prydain ydoedd cytundebau â galluoedd estronol, a gadawyd y gair *suzerainty* allan o'r cytundeb. Y mae yn eglur oddiwrth eiriau Iarll Derby fod Cytundeb 1884 i'w gymeryd yn lle un 1881, ac felly mai yn ol amodau y blaenaf y saif ein perthynas ni â'r Transvaal. Ac yn hyn gwnaeth Kruger gamgymeriad drwy ddal allan fod ei Weriniaeth yn *sovereign international state*, yr hyn nas gallai fod yn ol Cytundeb 1884, gan fod ei hymwneud â theyrnasoedd ereill yn agored i *veto* Prydain. Ymhellach, yr oedd crybwyll am benarglwyddiaeth Prydain o gwbl yn gamgymeriad, gan na sonir am hynny yn y Cytundeb hwnnw, yr hwn a wnaeth i ffordd â grym rhagdraith Cytundeb 1881, lle y digwydd y gair hwn, ac egwyddor sylfaenol yr hwn ydoedd, yng ngeiriau Mr. W. H. Smith, yn 1890, "nad oedd unrhyw ymyriad i fod gyda llywodraeth gartrefol na deddfau Gweriniaeth y Transvaal." Ni synnai neb i Mr. Chamberlain wrthod cydnabod cydraddoldeb rhyng-genedlaethol y Weriniaeth, ond gwnaeth yntau, ym marn llawer, gamgymeriad pan y gwrthododd addaw na ymyrrid yn y dyfodol â'i materion mewnol, a phan honnai fod cwestiynau mewn dadl nas gellid eu cyflwyno i gyflafareddiad. Mewn gair, galwai ar y Transvaal i gyflawni ei rhan heb dderbyn unrhyw fraint yn gyfnewid am hynny; ac, yn ychwanegol, rhoddai amod

newydd na soniwyd am dano o'r blaen yn ystod yr ymdrafodaeth, sef, fod yn rhaid i'r Weriniaeth adael i'r aelodau newyddion ddefnyddio yr iaith Seisnig yn y *Volksraad.* Nid rhyfedd, felly, i Kruger wrthod caniatau gofynion y Llywodraeth Brydeinig, yr hon oedd yn hawlio pob braint i'w deiliaid, tra yn amharod i roddi unrhyw gydnabyddiaeth i'r Transvaal am hynny, ac i'w chyfarfod mewn cydymgynghoriad, heb iddi yn gyntaf addaw yr etholfraint. Atebiad Mr. Chamberlain i wrthodiad yr Arlywydd i gydsynio â hyn ydoedd fod y weinyddiaeth yn myned i ail ystyried y sefyllfa *de novo*—yn hollol o'r newydd; ac yna, tra y mae yr ail ystyriaeth yn myned ym mlaen y mae Lloegr yn bwrw ei miloedd milwyr i'r Penrhyn a Natal, ac yn myned yn wallgof drwyddi draw, o waed ar yr ymennydd.

Dyma sefyllfa pethau yn awr. Y mae Prydain Fawr yn myned i ryfel âg un o'r cenhedloedd lleiaf. Am ba achos? I gadw ei huchafiaeth yn Neheubarth Affrica, medd un blaid; y mae y Transvaal a'i 30,000 o wŷr yn peryglu ei bodolaeth fel y *paramount power* yno, a rhaid wrth rym arfau i ddangos iddynt pwy yw y meistr. I amddiffyn iawnderau yr Alldirwyr, meddir; ond atolwg, onid yw hyn yn bosibl heb dywallt gwaed? Onid dehongliad un gair amwys, *suzerainty* sydd yn creu cweryl, ac a raid wrth aberthu bywydau i'w ddehongli? Y mae plaid arall yn haeru mai gwreiddyn y mawr ddrwg hwn yw ariangarwch, ac na chlywid nemawr son am y Transvaal pe nas darganfyddasid mwngloddiau aur y Rand; a nodant fel engraifft o raib y Sais, iddo ddwyn Kimberley oddiar y Dalaeth Rydd pan ddarganfyddwyd adamant yno.

Pa beth bynnag yw yr achos o'r rhyfel, fe gofnodir hyn yn ei hanes, fod Lloegr wedi myned ar ei hunion o'r Hague, lle y bu yn arwyddo Cytundeb Heddwch a Chyflafareddiad, i'r Transvaal, lle y meda y Boeriaid â'i *maxims,* ac a'u difa oddiar wyneb y ddaear â min y cledd. Y mae brwydr Majuba yn rhwym o gael ei dial ddengwaith drosodd; y mae Prydain yn sicr o fuddugoliaeth; ond pa beth fydd y draul? Nid yw yn werth son am y miliynau o bunnau a werir, pan yr ystyriom y bywydau gwerthfawr a gollir ar y naill ochr a'r llall. Anrheithir y wlad o ben bwy gilydd; lleddir miloedd o ddewrion tra yn ymladd am ryddid ac annibynniaeth eu gwlad; ni fydd tŷ, ond odid, yn yr holl wlad na fydd ynddo alar am dad, neu fab, neu frawd, a bydd yr Arlywydd, fel y tyddynwr distadlaf, yn galaru ar ol ei feibion am nad oeddynt. Oedir am ganrifoedd undeb cydrhwng yr elfen Is-Ellmynaidd a'r elfen Brydeinig yn Neheudir Affrica, ac er y cyhoeddir Prydain yn oruchaf yno, bydd ei goruchafiaeth wedi ei sicrhau trwy drais, a'i adeiladu ar gelaneddau ei phlant a'i brodyr, y Boeriaid. Yng ngeiriau hyawdl Olive Schreiner, "Wedi y rhyfel byddai y wlad yn eithaf tawel. Cyfodai i fyny mewn distawrwydd i gyfrif ei mheirwon, ac i'w dodi yn eu beddau. Byddai tawelwch yn teyrnasu, ond nid heddwch. Onid oes gan y meirwon lais? Mewn mil o dyddynod byddai merched yn eu galar-wisgoedd yn cofio'r cyfrif, tra'r tu allan, o dan y cerryg, y gorweddai y gwŷr a ymddygasant. Byddai, fe fyddai yno dawelwch, ond nid heddwch, fyth."

Yn ol popeth a welir yn awr, y mae pob ymdrech i heddychu'r pleidiau ar fyned yn ofer, ac i'r cri "Atal dy law, Brydain!" daw'r

ateb "Rhy hwyr, rhy hwyr." Pa beth fydd dedfryd yr ugeinfed ganrif arnom? A ddywed fod holl adnoddau "gwladweiniaeth onest ac ewyllys da" wedi eu harfer ac eto yn ofer? Ynte a farna fod uchelgais ddiegwyddor un dyn wedi rhuddo terfyn yr hen ganrif â gwaed gwirion, a'n gwlad wedi gwerthu ei hanrhydedd am aur?

R. GWYNEDDON DAVIES.

*Caernarfon.*

---

# Y TADAU APOSTOLIG.

YR wyf yn ddyledus i Olygwyr y TRAETHODYDD am fod garediced a chaniatäu i mi wneyd ychydig sylwadau ar yr adolygiad o'r Tadau Apostolig a wnaed gan Proff. Hugh Williams yn rhifyn olaf y TRAETHODYDD. Dymunaf ddiolch i'r adolygydd am ei driniaeth deg a phwyllog o'r llyfr. Mewn pwnc o'r fath hyn, pwnc y sydd yn frith o ddefnydd dadleuol, rhaid i wahanol ysgrifenwyr drin y ffeithiau a gwneyd cyfrif o'u gwerth yn ol gwahanol safbwynt yr ysgrifenwyr eu hunain. Dyna'r unig ffordd i gael trefn yn y pen draw ar ystyr tystiolaeth hanesyddol, a diau fod honno yn ffordd gywir a chyfreithlon cyhyd ag y gwneler tegwch â'r ffeithiau eu hunain trwy ymgadw yn ddyfal rhag ceisio eu llindagu fel y gwneir yn bur aml er mwyn ateb anghenion rhagdybiau anaddfed. Gan mai felly y gorfydd i ni ddwyn dadleuaeth ymlaen, ni all lai na bod yn hyfrydwch gan lawer heblaw ysgrifennydd y Tadau Apostolig weled adolygiad mor deg a chymedrol oddiwrth Proff. Williams ar lyfr a ysgrifenwyd gan un sydd yn dal gwahanol farn iddo ef ar y pynciau hyn. Nid wyf yn bwriadu ateb yr adolygiad o gwbl; nid yw ond teg i mi adael yr adolygiad i sefyll fel ag y mae. Fy unig amcan yw gwneud ychydig sylwadau fel mater o eglurhad ar rai mannau y sydd, fe a ddichon, yn amwysol eu hystyr, er mwyn amddiffyn fy hun rhag camddealltwriaeth.

(1). O.C. yw y dull cyffredin o ddynodi Cyfrif Cred; wrth ddefnyddio dull gwahanol, dichon y dylaswn roi esboniad o'r cyfnewidiad, ond ystyr C.C. yw *Cyfrif Cred.* Er mai O.C. (oedran Crist) yw y dull arferedig ar lafar gwlad, nid wyf yn meddwl ei fod yn gwbl briodol i'w arfer, canys eglur yw nad oedran Crist mo hono os ŷm yn bwriadu bod yn wyddonol gywir yn ein termau.

(2). Mae "apostolig" neu "apostolaidd" yn ansoddeiriau cyfartal gywir, y naill gystal a'r llall, ond gwell oedd gennyf ddefnyddio yr hen air "apostolig," yr hwn a arferir yn y Llyfr Gweddi Gyffredin. Gofynnir gan Proff. Williams oni ddylaswn hefyd ddweyd ysgrifeniadau "canonig," yn lle canonaidd? Nis gwn paham y mae athrylith yr iaith Gymraeg wedi creu y ffurfiau apostolig ac apostolaidd, heb gymhwyso yr un egwyddor at eiriau ereill, megys canonig, ond nid arferir y gair canonig yn llenyddiaeth Cymru; ceir y ffurfiau "canonedig" a "chanonawl," a dim ond hynny.

(3). Rhaid addef fy mod yn ddiarwybod wedi gadael allan y gair "anwylyd" (a "brodyr" hefyd) yn nechreuad epistol Clement. Yr wyf yn ofni fod yna amryw wallau o'r fath yn y llyfr, a gwelais hwynt pan yn rhy hwyr i'w diwygio. Ond yr wyf yn gobeithio nad oes yr un o honynt yn peri fod yr ystyr wedi dioddef oblegyd y diffyg. Gyd â golwg ar y frawddeg yn Clement § 1, lle y ceir y geiriau "i benderfynu y dadleuon sy wedi codi yn eich plith," achwynir gan yr adolygydd fod y geiriau hyn yn anghyson â'r gwreiddiol. Dyma'r geiriau gwreiddiol: ἐπιστροφὴν πεποιῆσθαι περὶ τῶν ἐπιζητουμένων, etc.; gellid cyfieithu

hyn yn syml trwy ddweyd :—' i gymeryd i'n hystyriaeth y dadleuon," etc., a dichon y buasai hynny ar ryw olwg yn well cyfieithiad, ond nid wyf yn meddwl fod y gair "penderfynnu" yn *anghyson* âg ystyr y gwreiddiol, canys y *mae* Clement—neu yn hytrach Eglwys Rhufain—yn penderfynu y dadleuon, er mai fel cyflafareddwr, ac nid fel rhyw swyddog Pabyddol, y gwneid hynny. Ped amgen, buasai yr apêl a wnaed gan Eglwys Corinth yn ddiystyr. Yr oedd yn rhydd, wrth reswm, i'r Corinthiaid dderbyn y penderfyniad neu beidio. Yr oeddwn yn ofalus, yn y nodiad byr ar Clement (tud. 189) i ddangos ystyr yr apêl rhag i neb feddwl fod penderfyniad Clement yn arwyddo dim rhagor nag anogaeth gyfeillgar.

(4). O gylch 70—79, ac nid—fel y dywed Proff. Williams—tua 90 c.c. y gosodir amseriad Epistol Barnabas.

(5). Mae yn ddrwg gennyf fod yr adolygydd wedi gwneud un camsyniad o barthed i'm triniaeth o'r ddadl rhwng yr Eglwys ac Ymneillduaeth. Yr wyf yn barod i gael fy marnu am yr hyn a wnaethum beth bynnag ydyw, ond nid wyf foddlon i gael fy marnu am yr hyn *ni* wnaethum. Dywed fy mod yn y traethawd ar "yr Eglwys a'r Canon" yn mynych ofalu galw eglwysi Ymneillduwyr yn *gymdeithasau crefyddol*, gan awgrymu fod hynny yn sarhad ar Ymneillduaeth, ac fy mod i wedi gwneyd hynny mewn ysbryd cynhengar ac anheilwng. Ond y gwir yw, nid wyf wedi gwneyd hynny gymaint ag *unwaith*. Nid oes yr un gair o'r fath o'r dechreu i'r diwedd yn y traethawd hwnnw nac yn unrhyw draethawd arall. Yr wyf wedi ceisio, ym mhob rhan o'r pwnc, drin y mater trwy ymresymiadau ac nid trwy haeriadau. Os na chytunir â'r casgliad a dynnid oddiwrth hynny, mi a fynnwn gredu o leiaf na ellir cyhuddo y driniaeth o anhegwch ac o haeriadau direswm.

(6.) Achwynir yn olaf gan Proff. Williams fy mod yn aniben yn y driniaeth a geir o bwnc yr esgobawd, ac nad wyf wedi myned i mewn yn ddigon manwl i'r pwnc. Fy ateb yw, nid oedd gofod yn caniatau triniaeth helaethach na hyn, ac i'r amcan ag oedd gennyf mewn golwg nid oedd eisieu chwaith. Yn y frawddeg, "ail olynydd y sylfaenydd apostolig," ceir gwall anffodus. Fel hyn y dylai fod, "ail (neu drydydd) olynydd y sylfaenydd apostolig." Nid oes eisieu nemawr ysgolheigdod i wybod safle Clement yn rhestr Esgobion Rhufain yn ol tystiolaeth yr ysgrifenwyr boreuol a ddyfynais. Gan nad yw y doctoriaid Pabyddol eu hunain yn sicr o'i safle yn y rhestr esgobol, ni raid i ni ymdrafferthu nemawr ynghylch hynny. Yn ol Irenæus (Adv. Haer. iii. 3, 3) y trydydd olynydd oedd Clement; (1.) Linus; (2.) Anacletus; (3.) Clement. Yn ol Ierom ni cheir tystiolaeth gytûn i'w safle. Mewn un man (De Viris Illustribus, § 15) dywed Ierom mai efe yw y trydydd olynydd, neu y pedwerydd esgob; hynny yw, meddai, *os* Linus ydoedd yr ail, ac Anacletus y trydydd. Ond chwanegir ganddo : tametsi plerique Latinorum secundum post Petrum apostolum putent fuisse Clementem. Mewn mannau ereill (Esponiad ar Esaias, 52; Adv. Jovinianum i. 12) dywed fod Clement wedi dyfod ar unwaith ar ol Pedr. Dyna hefyd y dystiolaeth a gofnodir gan Tertullian (De Præscript. Haer. 32). Mae Eusebius yn dilyn Irenæus, ac ereill, megys Epiphanius, yn dweyd yr un peth, ond nid ydynt yn sicr. Wrth ddweyd "y sylfaenydd apostolig," nid oeddwn yn golygu ymwneud o gwbl â'r ddadl ynghylch hawliau S.S. Pedr a Phaul. Defnyddir yr enw unigol mewn ystyr dansoddol, nid i awgrymu nifer y sylfaenwyr apostolig. Yn y geiriau, "ail (neu drydydd) olynydd," etc., mae'r pwyslais ar "olynydd," nid ar "ail." Diau fy mod yn cymeryd yn ganiataol beunydd fod Clement yn "esgob" yn ystyr arbennig y gair, a gwnaf hynny o achos grym tystiolaeth yr ysgrifenwyr boreuol. Nid wyf yn ddisylw o'r anhawsterau sydd ynglŷn â'r pwnc yma, ac nid wyf anhyspys o'r lenyddiaeth feirniadol ar y pwnc a gynrychiolir gan Harnack. Ond nid oes eisieu gwneyd yr anhawsderau yn fwy trwy geisio esbonio y dystiolaeth hanesyddol mewn modd na thrinir llenyddiaeth yn gyffredin, a thrwy fod yn rhy awyddus i ddileu grym pob golygiad traddodiadol. Mae Harnack cyn hyn wedi newid ei farn am werth llenyddiaeth foreuaf yr Eglwys, a dichon y daw eto i weled fod rhagor i ddweyd dros yr esgobawd nag a ganiatëir yn awr gan yr ysgol y mae efe yn perthyn iddi. Nid wyf wedi gwneyd defnydd fel yr awgrymir gan Proff. Williams, o restrau tybiedig yr esgobion i sylfaenu athrawiaethau pwysig arnynt. Nid yw o bwys beth yw rhestr yr esgobion, ac nid wyf wedi dweyd gair am hynny. Ni waeth pa un ai yr ail neu y trydydd neu y pedwerydd esgob oedd Clement, ond y *mae* o bwys i ni wybod beth oedd ei swydd yn yr eglwys. Os deil

Proff. Williams nad oedd na Linus na Chlement nac hyd yn oed Pedr ei hun yn esgob yn Rhufain, dyna'r ddadl ar ben, canys nid oes gennym dir cyffredin rhyngom i ddadleu arno; ond credaf er hynny fod llenyddiaeth yr eglwys foreuol yn bendant yn erbyn ei olygiad. Os gwir yw mai dim ond gwŷr hynod eu buchedd a'u gwaith oedd yr esgobion uchod y rhai a enwid gyda pharch gan draddodiad yr eglwysi, paham y *cyfyngid* yr enw o esgob iddynt hwy yn arbennig yn lle ei roi hefyd i ereill, gwŷr llawn mor hynod am eu gwaith a hwythau? Credaf mai egwyddor beryglus iawn mewn beirniadaeth hanesyddol yw ceisio dal fod y gwŷr hyn wedi cael eu galw gan oes ddiweddarach yn esgobion, a hynny yn y modd mwyaf eglur a diamwys, ond mai trwy gamsyniad y gwneid hynny. Os myn beirniadaeth gadw ei thir yn weddol lwyddiannus, yn lle cael ei bwrw yma ac acw, a rhoi i fyny y tir sydd wedi ei enill ganddi am dipyn o amser, rhaid cadw ar gof yr egwyddor hyn, fod llais traddodiad, mor bell ag y mae prif bethau ei dystiolaeth yn myned, yn sicr ac yn gredadwy, er bod llawer o'r manion yn amheus ac yn ansicr.

Yr wyf wedi bod mor hyf a dweyd gymaint a hyn, nid er mwyn dadleu, ond er mwyn hyspysu i'r adolygydd fy mod yn ddieuog o fod yn ddisylw o'r pethau tywyll sydd ynglŷn â'r pynciau hyn.

Dymunaf eto ddiolch yn llwyr i Proff. Williams am ei sylwadau ar y "Tadau Apostolig."

J. EDWIN DAVIES.

*Arthog.*

---

[Anfonwyd y nodiadau uchod i mi gan Olygwyr y TRAETHODYDD, gydag awgrym eu bod yn disgwyl ychydig eiriau mewn ffordd o sylw arnynt. Felly fe geisir gwneud hynny yn yr un ysbryd rhagorol ag sydd yn nodweddu yr hyn a ysgrifenwyd uchod gan Mr. Davies. Prin y mae angen gair gyda golwg ar rhif 1 a 2, gan na fwriedid i'r ychydig eiriau a ddywedasid yn yr Adolygiad fod ond ymofyniad byr wrth fyn'd heibio. Cymerwn y gweddill yn eu trefn. Rhif 3.—Dyma eiriau Mr. Davies yn Y TADAU APOSTOLIG (myfi sydd gyfrifol am italeiddio y llythrenau) "Ychydig iawn a wyddus am hanes Clement, awdwr yr Epistol at y Corinthiaid, *ac Esgob Rhufain.* Sonir am dano yn yr Ysgrythyr *fel disgybl a chyfaill Sant Paul* (Phil. iv. 3). Nid yw yr awdwr yn ysgrifennu yn ei enw ei hun, ond yn enw eglwys Rhufain. Ysgrifenwyd yr Epistol ganddo er anog y brodyr yn Corinth i beidio ag ymbleidio yn erbyn eu henuriaid. *Ymddengys eu bod wedi apelio at Clement am ei gymhorth i benderfynu eu dadleuon.* Yr oedd yr arfer o apelio fel hyn *at un o urddasolion yr eglwys* yn gydnaws a'r arfer eglwysig yn amser yr apostolion" (tudal. 189). Gellir gadael y gair "Esgob Rhufain" hyd nes y deuwn at Rhif 6. Y mae yn dra anhebyg, hefyd, fod y gŵr a ysgrifennai Epistol Clement, tua 90—96, wedi bod yn gyfaill i'r apostol Paul mor fuan a'i ymweliad a Philippi, tua 50—53.

Wrth sylwi ar duedd gyffredinol y gyfrol hon yn ei dadl gref dros awdurdod arbennig yr "esgobawd," a sylwi hefyd ar y geiriau a ddyfynnir uchod, ymddangosai y cyfieithiad y cyfeiriwyd ato—"i *benderfynu* y dadleuon sy wedi codi yn eich plith"—fel pe bai ei amcan yn yr un cyfeiriad. Gwir yw fod Mr. Davies yn dweyd mai yn enw yr eglwys yr ysgrifenwyd y llythyr, a hynny "er *anog* y brodyr yn Corinth i beidio ag ymbleidio yn erbyn yr henuriaid," ond buasai y cyfieithiad cyntaf yn sicr yn cyfleu y syniad a geir yn fynych, fod Clement, neu eglwys Rhufain, âg *awdurdod* ganddynt i "benderfynu" dadleuon eglwysi ereill. Yr wyf, hefyd, yn methu canfod fod o fewn y llythyr a anfonwyd o Rufain i Corinth gymaint a sill sydd yn awgrymu fod eglwys Corinth wedi apelio o gwbl at eglwys Rhufain, llawer llai at "un o urddasolion yr eglwys"; mae tôn lem-geryddol, er mor frawdol, y llythyr yn peri i ni gredu fod eglwys Corinth ar y pryd mewn ysbryd anhebyg iawn o anfon apêl at neb. Ni fynnwn o gwbl fod yn euog o sylwi ar fanion, gan fod yn y llyfrau goreu lawer a wallau bychain; eto nis gallai y cyfieithiad fel y mae yn y llyfr lai nag awgrymu apêl o Corinth, a dyfarniad o Rufain, a fyddai yn penderfynu achosion dyrus, a thrwy hynny wneud cam dirfawr a gwir hanes y ddwy eglwys yn yr adeg foreu yma.

Rhif 4.—Yn amryfus dodwyd tua 90 fel amseriad Mr. Davies i Epistol Barnabas. Nid yw o gymaint pwys; tua 90 yw amseriad Hilgenfeld.

Rhif 5.—Pan yn darllen llyfr Mr. Davies mor ofalus ag y gallwn, yr oeddwn yn dodi i lawr ar ddarn o bapur, y gwahanol bethau y gellid neu y dylid sylwi arnynt, ynghyd a rhif y tudalen. Wedi gorphen, yr oedd yr holl bethau a nodasid yn llawer rhy liosog i sylwi arnynt bob yn un ag un. Felly rhaid oedd dethol. Yn mysg yr ymadroddion yn fy rhestr yr oedd yr un a enwir uchod, sef galw eglwysi yr Ymneillduwyr yn "gymdeithasau crefyddol." Gwnaed cyfeiriad byr at hyn yn yr Adolygiad, gan ei fod bob amser yn ymddangos i mi yn beth bychan a gwael, pa un bynnag a i am Eglwys Loegr, gan awduron Pabaidd, ai am Ymneillduwyr, gan wŷr o Eglwys Loegr, y defnyddir ef. Ond dywed Mr. Davies nad yw wedi ei ddefnyddio o gwbl. Mae y papur y cyfeiriais ato wedi ei ddifa yn y tân er ys amser bellach, ond wedi myned trwy y gyfrol eilwaith ac eilwaith, yr wyf yn cael, er fy llawenydd fod yn bosibl i mi wneud camgymeriad. Nid yw Mr Davies, medd ef yn arfer yr ymadrodd gymaint ag unwaith, ac yr oedd cysylltu y peth hwn âg ef, felly, yn anheg. Peccavi.

Rhif 6.—Yr wyf yn ofni na lwyddais i wneud fy meddwl yn eglur yn y rhan y cyfeirir ato yma. Ni fynaswn ar un cyfrif ddweyd fod Mr. Davies yn "aniben" yn ei "driniaeth o bwnc yr esgobawd": mae y pwnc yn eang ac anhawdd, ac nis gallai adolygydd ar lyfr ond cyfeirio at *rannau* o'r ymdriniaeth arno. Y peth y dymunaswn ei osod allan oedd hyn. Mewn darnau helaeth o ymresymiad llyfr Mr. Davies cymerir yn ganiataol fod Clement yn esgob Rhufain, a gwneir hynny yn sail casgliadau pwysig. Ymddengys i mi nad ydyw hyn yn deg, heb o leiaf awgrymu i'r darllennydd fod amheuaeth gref yn bod a oedd esgob, yn ystyr gyffredin y gair, o gwbl yn Rhufain cyn, dyweder, amser Xystus, yr hwn a fu farw rywle tua 124, neu 126, neu 128. Nid oeddwn yn gofyn i'r awdwr ag y teimlwn alwad i edmygu ei lafurwaith a'i gydnabyddiaeth fanwl â'r ôlion sydd yn bod yng nghylch yr ysgrifenwyr boreuol—nid oeddwn yn gofyn iddo *brofi* fod Clement a'r lleill (Linus, Anencletus, Evaretus, Alexander, &c.,) yn esgobion; yr hyn a ddywedais oedd ei fod wedi gadael yr amheuaeth yma yn ddisylw, a'i fod yn gosod o'n blaen fel *tystiolaeth eglur* yr ysgrifenwyr eglwysig, "Irenæus, Tertullian, Jerom, Eusebius, ac amryw ereill," rywbeth ag sydd mewn gwirionedd yn anelwig iawn. Yr oedd distawrwydd o'r fath yma, o anghenrheidrwydd, yn dyfod yn rhan o'r ymresymiad. Nid wyf yn ameu dim am Mr. Davies ei hun, nad yw yn rhoddi ystyriaeth deilwng yn ei feddwl ei hun, i'r drafodaeth ynghylch y cyfan a ellir ei osod allan yma; *ond nid yw ei lyfr yn gwneud crybwylliad o hynny;* dyna y gŵyn yn yr adolygiad. Y gwir enw ar y peth y dywed y llyfr fod y gwŷr a enwyd yn ei "hyspysu" yw *traddodiad*; felly yr addefa Mr. Davies yn y nodiadau uchod. Ond pan y dywed ym mhellach fod "y ddadl ar ben," os wyf fi yn "dal nad oedd Linus na Chlement, nac hyd yn oed Pedr ei hun yn esgob Rhufain," hudir fi ofyn iddo gerdded yn araf. Na, na! nid yw y ddadl ar ben. Er fy mod yn methu credu am Linus na Chlement na Phedr, ychwaith, iddynt fod erioed yn "esgobion" Rhufain, yr wyf yn cydnabod y traddodiad, ac yn gorfod cyfaddef fod defnyddiau gwirionedd sicr ynddo. O herwydd hyn, ni awn yn gyntaf oll i edrych y traddodiad yn ei wyneb; ond, yn anffodus, cawn fod iddo amryw wynebau. Mae mwy yn y traddodiad na'r rhestr syml o esgobion Dywed i gychwyn fod eglwys Rhufain wedi ei sefydlu gan yr apos olion Pedr a Paul; dywed hefyd i Pedr fod yn esgob Rhufain am 25 o flynyddoedd. Diau y cytuna Mr. Davies â mi i wrthod y rhanhau hyn. Cyn y flwyddyn 180 yr oedd *dwy* ffurf, a dweyd y lleiaf, o draddodiad yn ffynnu yn Rhufain gyda golwg ar berthynas Clement â Phedr; yn ol y naill ordeiniwyd Clement yn esgob gan Pedr, yn ol y llall dilynwyd Pedr gan Linus, Linus gan Anencletus ac Anencletus gan Clement. Mae enw arall - Cletus—yn ymrithio yma ac acw, weithiau o flaen ac weithiau ar ol Clement. Nid wyf yn yr ychydig eiriau hyn yn enwi ond rhan o'r amrywiaeth a geir yn ffurf y rhestrau traddodiadol sydd, fel y tybir, yn ein dwyn i lawr hyd y flwyddyn 124 neu 128. Ond gogyfer a thraddodiad yr ydym yn gorfod torri darnau allan o hono ar unwaith, ac yn cael y gweddill mewn ffurfiau amrywiol, gosodwn yr ystyriaethau a ganlyn. Wedi cymeryd yn ein llaw un o'r gweithiau a gyfieithwyd i ni gan Mr. Davies, sef Epistol cyntaf Clement, a chydag ef un arall, sydd yn dwyn yr enw "Y Bugail" gan Hermas, ni a gofiwn fod gennym felly ddau lyfr wedi eu hysgrifennu yn Rhufain yn amser yr un genhedlaeth o Gristionogion. Yr oedd y genhedlaeth honno yn byw ychydig cyn a gwedi y flwyddyn 100. Trown i adran 47 yn y cyntaf i ddarllen "Y mae

yn warthus dros ben, anwylyd, ac yn anheilwng o'ch buchedd yng Nghrist Iesu, fod son am hen eglwys ddianwadal Corinth. . . . . . . wedi ymrannu *yn erbyn yr henuriaid;*" ac yn 54: "Yn unig bydded praidd Crist yn heddychol â'i *henuriaid penodedig.*" Mae yn yr Epistol, yr hwn cofier sydd yn ymwneud yn bennaf a mater o ddisgyblaeth, amryw o ymadroddion cyffelyb yn cyfeirio at "henuriaid," ond dim un yn son am "esgob." Onid yw yn gasgliad naturiol nad oedd y pryd hwnnw "esgob" yn na Rhufain na Chorinth?

Wedi troi ychydig ar ddalennau llyfr Hermas, cawn fel y canlyn: "Darllen y geiriau i'r ddinas hon *gyda'r henuriaid sydd yn llywodraethu yr eglwys*" (Vis. ii. 4). Eto, "Eistedd yma," meddai wrthyf; dywedais innau, "gad *i'r henuriaid* eistedd yn gyntaf." Nid oes, hefyd, yn y llyfr hwn gyfeiriad at "esgob." Heb ddyfynnu ychwaneg, ymddengys yn dêg iawn i gasglu, na wyddai Hermas ychwaith ond am "henuriaid" yn eglwys Rhufain. Gellid ychwanegu, yngwyneb geiriau Mr. Davies: "cymher Ignatius yn ganiattaol *fod yr esgobawd yn sefydledig eisoes yn yr holl eglwysi a gyferchir ganddo*"—fod y llythyr at eglwys Rhufain yn eithriad arbennig i hynny; wrth ysgrifennu yno mae, er ein syndod, yn *peidio* cyfeirio at esgob ac esgobawd. Y casgliad sydd wedi ei wneud gan rai yw, *nad* yw Ignatius wrth gyfarch eglwys Rhufain yn "cymeryd yn ganiatäol fod yr esgobawd yn sefydledig" yno, o herwydd nad oedd yr esgobawd eto wedi cyrraedd mor bell a Rhufain.

Yn wyneb y pethau hyn beth am y traddodiad Rhufeinig? Rhaid yn sicr ei dderbyn fel rhywbeth ag y mae iddo sail dda mewn ffaith neu ffeithiau: ymhlith y llwch mae gronynau o aur. Nis gallwn dderbyn y rhan honno sydd yn gwneud Pedr yn un o sylfaenwyr eglwys Rhufain, neu yn esgob iddi, ond gallwn gredu fod y wedd yma ar y traddodiad yn cyfleu y ffaith iddo *fod* am amser yn y ddinas ymerodrol, a diau yn weithgar ymysg y frawdoliaeth, nes ei ferthyrru. Felly hefyd oherwydd maint ac amledd y dystiolaeth sydd, o amryw gyfeiriadau, nad oedd "esgob" yn Rhufain yn ol ystyr y gair ar adeg ddiweddarach, sef yr adeg y cyfarfyddwn gyntaf a'r traddodiad, yr ydym yn credu ar y naill law fod y traddodiad yn camgymeryd wrth alw Linus, Anencletus, a Chlement yn esgobion, ond ar y llaw arall ei fod yn cludo i ni dan y ffurf yma, y ffaith sicr eu bod yn wŷr hynod eu buchedd a'u gwaith ymlith henuriaid eglwys Rhufain. Yr ydym felly, yn ol geiriau da Mr. Davies, "yn cadw ar gof yr egwyddor, fod llais traddodiad, mor bell ag y mae prif bethau ei dystiolaeth yn myned, yn sicr ac yn gredadwy, er bod llawer o'r manion yn amheus ac ansicr." Un o'r manion ansicr ac amheus hyn yw galw Clement yn "esgob." Nid gweddaidd i mi yn awr gyfeirio at y berthynas sydd rhwng hyn a'r gred, y myn Mr. Davies ei chael, ie, yn Clement, "fod yr olyniaeth apostolig, trwy arddodiad dwylaw, yn elfen anhebgor o'r weinidogaeth." Fy unig amcan yw ceisio dangos fod traddodiad, y mynnir adeiladu arno gasgliadau pwysig, yn rhywbeth y dylid ei chwilio yn ofalus i ddosbarthu y gwir a'r gau ynddo. Teg iawn yw i minnau gydnabod calon dda Mr. Davies yn derbyn mewn ysbryd mor garedig y pethau a ddywedwyd yn yr adolygiad gan ei ddarllennydd cywir,

HUGH WILLIAMS.]

*Y Bala.*

TREFFYNNON: ARGRAFFWYD GAN P. M. EVANS AND SON.

